S Bangor 516 ICH DIEN S David's 519

# HOLL DDLED-SWYDD DYN;

Angenrheidiol i bób Teuluoedd.

Ynghyd a

DEFOSIONAU NEILLDUOL

ar amryw

ACHOSION.

Hèb Dduw, hèb ddim,
Duw a digon.

Landaffe 522 S Asaph 560



Cor contritum MARY MAGDALENE B *Page 1.*

William Jones. Clerk & Book. 18[illegible]

# Holl Ddled-swydd Dyn,

Gwedi ei osod ar lawr

Mewn ffordd hynod ac Eglur, Defnyddiol i bawb, ond yn Enwedig i'r Darllenydd mwyaf Annyscedig.

*Gwedi ei Ddosparthu i* XVII. *o Bennodau*;

Y rhai, trwy ddarllen un o honynt bòb Dydd yr Arglwydd, a ddarllenir i gyd trostynt deirgwaith yn y Flwyddyn.

*Angenrheidiol i bòb Teuluoedd.*

Ynghyd a

DWYWOLDER NEILLDUOL ar amryw ACHOSION.

A Gyfiaithwyd yn Gymro-aeg gan *Jo. Langford* A. M.

*London*, Printed for *R. Royston* Bookseller to the King's Most Excellent Majesty, 1672.

David Jones 1763.



Mr. Garthwait,

NI buasei raid i chwi wrth Gyfryngiad yn y byd i osod y gwaith hwn arna'i yr hwn a ddygodd ei Wahoddiad a'i wobr gydag ef. Mi a ddarlleniais yn ewyllysgar iawn yr holl Papirau drostynt, yn gystal y Traethawd, a'r Defosionau a gyssylltwyd wrtho ef, ac a welaf achos mawr i fendithio Duw am bób un o'r ddau, gan nad wyf yn canfod dim yn *ddiffygiol mewn un rhan o honynt i'w gwneuthur hwynt trwy fendith a nawdd Duw yn gwbl-ddigonol a chymwys i'r diben mawr yr amcanwyd hwynt, sef i fod yn gymmorth ysprydol, ac yn fanteisiol i bawb a'i harfero hwynt. Y Peth a grynhóir ynddynt yw yn wir (fal y mae'r Titl yn hyspysu) Holl Ddled-swydd Dyn, gwedi ei osod ar lawr yn ei holl Rannau, a'r cyfryw gyfaddasrwydd o grynodeb a Dosparthiadau, i wahodd, i hyfforddi, ac i annog y Darllenydd, ac a'r cyfryw ddisgynniad at y rhai mwyaf annyscedig, ac hefyd ar cyfryw Resymau pwys-fawr Ysprydol, lle y bydd yn dda gan y rhai mwyaf dy-

 scedig

Cymmrodorion LIBRARY
61, Chancery Lane W C2

*ſcedig gael ei cynnorthwyo, a'i fod ef i'm tyb i gwedi ei gyfaddaſu yn gymmhedrol at bób máth o Ddarllenydd, a chwennycho yn ddifrifol leſháad iddo i hun preſennol neu i ddyfod. Nid yw'r rhan* Defoſion-awl *yn y cynghlo ddim yn fyrr i'r llall, yr hwn ſydd yn gymmorth cymwys i wendid pob rhyw ddyn, ac yn cyrrhaedd yn neillduol at ein holl achoſion arbennig ni; y mae'r* Dygiad i mewn *yn gwaſanaethu yn lle* Rhag-ymadrodd, *yr hwn yr ydych chwi yn chwennych ei gael o'm llaw i; ac heb adael mo'r lle i mi i adroddi ddim ychwaneg na'm Gweddiau at Dduw,* Na bo i'r Awdur, yr hwn a gymmerodd boen i ddwyn Eluſen mor hael i'r *Corban mor ddirgel*, fethu cael ei obrwyo yn *amlwg*, yngallu a bûdd gweledig y Gwaith hwn ár galonnau yr holl Genhedlaeth hon, yr hon ni bu arni erioed fwy o eiſieu'r cyfryw gynnorthwyau ac a oſodir ymma ar lawr, nac yr awrhon. *Ar fod i'w gwbl-ddigonol Râs ef fendithio'r hâd a hauwyd, a rhoddi cynnydd helaeth, yw ufudd erfynniad*

Eich Car-wr diffuant,

H. HAMMOND.

Cymmrodorion LIBRARY
61, Chancery Lane W C2



# Y Rhag-ymadrodd

## *I'r Traethawd ſy'n cālyn, yn dangos mor angenrheidiol yw goſalu am yr Enaid.*

1. UNic ſwriad y *Traethawd* ſy'n cālyn, yw i ſod yn *Gyſarwyddiad* byrr ac *Eglur* i'r *Darllenydd gwaelaf*, pa ſodd i'w ymddwyn ei hun ſelly yn y bŷd hwn, ſal y byddo ef dedwydd yn dragywydd yn y byd a ddaw. Ond oblegid mai oſer yw dywedyd i ddynion ei Dyled-ſwydd, nes ei dwyn hwynt ar ddeall mor angenrheidiol yw ei chwplhau hi, cyn i mi ſyned ymlaen at y Pethau *Neilldùol* a oſynnir gan bób rhyw Griſtion, mi a wnaf ſy ngoreu i'w hannog nhw i ymarſer un *Ddled-ſwydd* gyffredinol *rhagbarattóus* i'r lleill oll, ſef i ddyſal-yſtyried ac i *oſalu* am ei *Heneidiau*, heb ba un ni thybiau nhw ſod y llall yn perthyn ſawr iddynt.

2. *Dyn*, ni a wyddon, a wnaethpwyd i ſynu o ddwy Ran, *CORPH* ac *ENAID*: y Corph nid yw ond cibyn neu fliſgyn yr Enaid, dernyn o gnawd, gogwyddedig i amryw ddoluriau

luriau a phoenau yn y bŷd hwn, ac o'r diwedd i *Angeu*, ac yna y mae ef cymmhelled o fod yn gyfrisol, nad ellir mo'i oddef ef uwch daiar, eithr fe'i gosodir ef i bydru yn y Pridd. Etto am y rhan waelaf ymma o honom yr ydyn ni yn gofalu fwyaf; ein holl lafur ni a'n lludded yw i gynnal hwnnw i fynu. Ond y rhan oreu, sef yr *Enaid*, ni feddylir ac ni ofelir fawr am dano yn y cyfamser, eithr fal pette fo yn beth ni pherthynei i ni, a esgeulusir yn hollawl gennini.

3. Y *Diofalwch* ymma am yr *Enaid* yw gwreiddyn pob pechod yr ym ni yn ei gwneuthur, ac am hynny pwy bynnag sy'n bwriadu ymosod ar fuchedd Gristianogawl, rhaid iddo yn gyntaf wellhau hynny, i wneuthur pa un nid rhaid wrth ddysgeidiaeth ddofn, y mae gan y gwirionaf o ddŷn (oddigaeth ei fod ef yn *ffôl anianol*) wybodaeth ddigon i hynny, os gwna fo ond yn ôl yr unrhyw *Reolau* o *Reswm* cyffredinol, ac y bo fo yn ei arferu yn ei negesseuau bydol. Mi a osodaf gan hynny yr awrhon ar fyrr i lawr rai o'r *Annogaethau* hynny, y rhai sydd arferol o gyffroi ein gofal ni mewn pethau oddiallan, ac yna ei cyfaddasu nhw at yr Enaid.

4. PEDWAR peth yn enwedig sydd arferol o gyffrhoi ein gofal ni; yn *gyntaf gwerthfawrogrwydd* y Peth y bon ni yn gofalu am dano; yn *ail* y *Ddeunyddiaeth* o hono i ni, pan na allon ni ymadel ac ef heb niwed neu golled ddirfawr; yn *drydydd* y *Perigl* mawr am dano; ac yn *Bedwerydd*, y *Cyffelybrwydd* na fydd

ein

ein gofal ni yn ofer, ond y ceidw ef y peth y bon ni yn gofalu am dano.

5. Am y Cyntaf, ni a wyddon fod ein gofal ni am ryw beth bydol yn gyfattebol i'w *Bris* ef; y peth sydd fwyaf gwerthfawr, yr ydyn ni yn fwyaf gwiliadwrus i'w gadw, ac yn fwyaf arswydus o'i golli; nid oes neb yn cloi i fynu domm yn ei gîst, ond ei arian, new ryw beth y bo fo yn ei gyfrif yn werthfawr. Yr awrhon yn yr ystyriaeth ymma, fo haedda'r Enaid fwy o ofal am dano, na'r holl bethau yn y bŷd heb law hynny, oblegid ei fod ef yn fwy gwerthfawr o anfeidrol. Yn gyntaf o herwydd ei fod ef wedi ei wneuthur ar ôl Delw Dduw, *Duw a anadlodd i ddyn yr anadl bywyd* hwn, *Gen.* 2. 7. Yr awrhon gan fod Duw o fwyaf godidowgrwydd, po tebyccaf y bo rhyw beth iddo ef, gwerthfawroccach ydyw ef. Ond yn ddiammeu nid oes un Creadur ar y ddaiar yn debyg i *Dduw*, ond *Enaid* dŷn, ac am hynny nid oes dim a haedda gymmaint o'n gofal ni. Yn *ail*, ni bydd yr *Enaid marw* byth. Yr ym ni yn arfer o brisio pethau yn ól ei *parhâad*: y peth mwyaf parhâus sydd fwyaf gwerthfawr: Yn awr y mae'r Enaid yn beth a bery byth, pan fo Golud, Tegwch, cryfder, iè a'n cyrph ei hunain yn pallu, y mae'r Enaid etto yn parhau. Gan hynny oblegid hyn hefyd y mae'r Enaid yn fwyaf gwerthfawr; ac yna pa ryw gynddaredd ryfeddol yw i ni ei hesgeuluso hwynt fal yr ydyn ni? Ni a fedrwn dreulio Dyddiau, ac Wythnosau, a Misoedd, a Blynyddoedd, iè ein holl fywyd yn hela ar ól ychydig olud bydol,

yr

yr hwn ni phery ddim, ac yn y cyfamser gadael i'r *Cytbrael* ddwyn ymmaith y tryssor mawr parhaus hwn, sef ein *Heneidiau*, oddiarnon ni.

6. Yr *ail* peth a *annog* ein gofal ni am ryw beth yw ei Ddefnyddiaeth ef i ni, neu'r niwed mawr a ddychwel i ni trwy ei golli ef; y mae Rheswm naturiol yn dyscu i ni hyn mewn pethau o'r bywyd hwn: os syrth ein *Gwallt* ni, nid ydyn ni yn prisio cymmaint, oblegid y gallwn ni yn hawdd fod hebddynt hwy: : Ond os byddwn ni mewn perigl o golli ein *llygaid* neu ein *haelodau*, bychan gennin ni ein holl ofal i ragachub hynny, oblegid y gwyddon ni mae trueni mawr a fydd y cyfryw golled. Ond yn ddiammeu nid oes unrhyw drueni yn gyfattebol i'r trueni hwnnw o golli'r Enaid. Gwir yw, ni allwn ni golli mo'n Heneidiau, mewn un ystyriaeth, hynny yw, fal na bônt; ond ni allwn ei colli hwynt mewn modd arall, fal y chwennychon ni ei colli hwynt hefyd yn hollawl: Hynny yw, ni allwn golli'r cyflwr dedwydd hwnnw i ba un y creuwyd hwynt, a'i suddo hwynt mwyn trueni tra-echryslon. Ar fyrr, ni a allwn ei colli hwynt yn *Uffern*, o ba le nid oes dim dychweliad yn ôl, ac felly y maent yn golledig yn dragywydd. Iè y mae ein hanwyl *Gyrph* hefyd, tros ba rai yr ym ni fwyaf yn gofalu, yn gyfrannogion o'r golled ymma: canys fe'i had-gyfodir hwynt yn ddiammeu gwedi angeu, ac a'i cyssylltir hwynt drachefn a'r Enaid, i gymmeryd cyfran gydag ef ym mha gyflwr bynnag; os bydd gan hynny i'n gofal ni am

ein *Cyrph* gymmeryd i fynu ein holl amser a'n meddyliau ni; heb adael i ni ddim i'w dreulio ar yr Enaid truan, fe fydd yr Enaid yn ddiau o eisieu'r gofal hwnnw yn druenus yn dragywydd; ond y mae mor ddiogel y bydd raid i'r *Corph* fod felly hefyd. Ac am hynny os oes gennichwi ddim gwir garedigrwydd i'ch *Cyrph*, dangoswch ef trwy ofalu am eich *Heneidiau*. Meddyliwch wrthych eich hunain pa fodd y gellwch chwi ddioddef *llosgfeydd tragywyddol*; os yw gwreichionyn bychan o dân, pan syrthio ar y rhan leiaf o'r Corph mor annodd ei oddef, beth a fydd gael taflu'r cyfan i'r fflammau poethaf? a hynny nid am ychydig oriau neu ddyddiau, ond yn dragywydd? Yn gymmaint a chwedi i chwi fod lawer *Miloedd* o flynyddoedd yn y penyd annrhaethadwy hwnnw, na byddwch chwi ddim nês i ddyfod allan o honaw, nag yr oeddech chwi'r dydd cyntaf yr aethoch chwi i mewn: cofiwch hyn medda'i, a meddyliwch hyn ymma hefyd, mai hyn yn ddiammeu a fydd y diben o esgeuluso'r *Enaid*, ac am hynny gofelwch beth am dano ef, pette ond o dosturi i'r *Corph*, yr hwn sydd raid iddo ddwyn rhan o'i drueni ef.

7. Y *Trydydd* Peth a annog ein gofal ni am ryw beth yw ei fod ef mewn *PERIGL*; yr awrhon fe ddichon peth fod mewn perigl ddwy ffordd: yn gyntaf, trwy *Elynion* oddiallan: Dena gyflwr y *Defaid*, y rhai sydd yn wastad mewn enbydrwydd o gael ei difa gan *fleiddiaid*, ac ni a wyddon mai hynny sy'n gwneuthur i'r bugail fod yn fyw gwiliadwrus drostynt. Felly y mae gyda'r *Enaid*, yr hwn

sydd

ſydd mewn perigl dirſawr oblegid ei *Elynion*: y rhai hynny ni a wyddon yw'r *Byd*, y *Cnawd*, a'r *Cythraul*; y rhai oll ydynt yn elynion mor hynod iddo ef, ac mae'r weithred gyntaf yr ydyn ni yn ei wneuthur ym mhlaid ein *Heneidiau* yw addunedu Rhyſel ddibaid i'w herbyn hwynt. Hyn yr ydyn ni oll yn ei wneuthur yn ein *Bedydd*; ac y mae pwy bynnag ſy'n gwneuthnr cyngrair a'r un o honynt, yn ffals nid yn unig i'w Enaid, ond i'w *Adduned* hefyd; trwy fod yn greadur anudonaidd: Yſtyriaeth a haeddai yn dda ei goſod at ein calonnau. Ond er mwyn i ni Ddeall yn well, pa berigl y mae'r Enaid yntho, yſtyriwn ychydig *gynneddfau*'r gelynion hyn.

unig

8. Chwi a wyddoch fod amryw bethau mewn rhyſel a wna i elyn fod i'w arſwydo: y cyntaf yw *cyfrwyſder* a dichell, trwy ba un yn unig yr ennillwyd amryw fuddugoliaethau; ac o herwydd hyn y mae'r *Cythraul* yn elyn peryglus; fe roes brawf hynod o'i gyfrwyſder er yſtalm, trwy dwyllo ein Rhieni cyntaf, y rhai oeddynt yn ddoethach o lawer na nyni, ac am hynny nid rhyfedd os ſiomma fo nyni. Yn *ail*, y mae *gwiliadwraeth* a *diwydrwydd gelyn* yn ei wneuthur ef yn fwy ofnadwy; ac yn hyn y mae'r *Cythraul* yn myned tu hwynt i bawb; ei neges a'i farſiandiaeth ef yw ein diſtrywio ni, ac nid yw ef yn ſegura, y mae fo yn *myned i fynu ac i wared gan geiſio y neb a allo ei draflyngcu*, 1 *Pet*. 5. 8. y mae fo yn gwilio am bób odfa o fantes i'n herbyn ni, a'r cyfryw ddiwydrwydd, na eſgeuluſa fo'r un un amſer. Yn *Drydydd*, y mae *Gelyn* ger *llaw* yn

fwy

ſwy i'w arſwydo nag un o *birbell*, oblegid os bydd efe pell oddiwrthon ni, ni allwn gael amſer i'n harſogi, a'n paratoi ein hunain i'w erbyn ef, ond os bydd efe yn agos, fe all ddyfod ar ein gwartha ni yn ddiſymwth. A'r cyfryw un yw'r *Cnawd*, yr hwn ſydd elyn, wrth ein dryſſau ni, a ddyweda'i? iè yn ein monweſau ni, y mae fo yn waſtad yn agos attom ni, i gymmeryd odſa i wneuthur i ni niwed. Yn *Bedwerydd*, po baweiddiaf a *ffalſaf* y bo *Gelyn*, mwyaf peryglus yw ef; fe ddichon yr hwn a guddia ei ſalis tan gochl caredigrwydd wneuthur mwy niwed o lawer. A'r cyfryw un drachefn yw'r *Cnawd*, yr hwn fel *Joab* wrth *Abner*, 2 *Sam.* 3. 27. a gymmer arno ſiarad yn *dangnheddyfus* a ni, ond a'n *harcholla ni i farwolaeth*; y mae fo yn barod iawn i baratoi Pleſerau a dyſyrrwch i ni, ac felly yn ymddangos yn ſwyn iawn, ond y mae gantho *fâch* tan yr *abwyd* hwnnw, ac os nyni ai cippiwn ef fe ddarfu am danon ni. Yn *Bummed*, y mae *rhifedi Gelynion* yn ei gwneuthur hwynt i'w harſwydo yn ſwy; ac y mae'r *Byd* yn llu ddirfawr i'n herbyn ni: Nid oes unrhyw gyflwr yntho ef, iè na phrin un creadur nad yw ryw amſer neu'i gilydd yn ymladd yn erbyn yr *Enaid*: y mae *Anrhydedd* bydol yn ceiſio ein harcholli ni trwy *falchder*; *Golud*, trwy *Gybydd-dod*; *hawddfyd* yn ein llithio ni i *anghofio Duw*, *Adfyd* i *wrwgnach* yn ei erbyn ef. Y mae hyd yn oed ein *Bwrdd* yn fagl i ni, y mae'n *bwyd* yn ein denu ni i *lwthineb*; ein *Diod*, i *feddwdod*, ein cymdeithion, iè ein caredigion neſſaf yn fynych yn pleidio yn y Rhyfel ymma i'n herbyn ni, tra'i bo nhw naill

a'i trwy ei ſiampl neu'i hannogaethau yn ein llithio ni i bechu.

9. Yſtyriwch hyn i gyd, ac yna dywedwch i mi, a oes i Enaid ſydd fal hyn gwedi ei amgylchu ennyd i *gyſcu*: fe fedrei *Dalila* ddywedyd wrth *Samſon*, ei bod hi yn amſer i *ddeffro* pan oedd y *Philiſtiaid* arno ef. Ac y mae *Criſt* yn dywedyd i ni, pe *gwybuaſei gwr y ty ym mha awr y daethe'r lleidr, fe a wiliaſei, ac ni adawſei i'w dy gael ei dorri i fynu*, Mat. 24. 43. Ond yr ydyn ni yn byw yn ghanol lladron, ac am hynny rhaid i ni ddiſgwyl am danynt bób awr, ac etto pwy yn ein myſg ni ſydd gantho y goſal cyffredin hwnnw am y rhan werthfawr ymma o honaw, ei Enaid, a'r ſydd gantho am ei dŷ, neu yn wir am y peth gwaelaf ar ei helw? Y mae arna'i ofn y geill ein Heneidiau ni ddywedyd wrthon ni, megis y dywedodd Criſt wrth ei Ddiſcyblion, Mat. 26. 40. *Pa beth? oni allech chwi wilied gydá mi un awr?* Oblegid yr wyf fi yn meddwl na ŵyr llawer o hono ni pa bryd y treuliaſom ni un awr arnynt hwy, er i ni wybod ei bod nhw yn waſtad gwedi ei hamgylchu a gelynion tra-enbydus. Ac yna och! beth debygwch chwi a fydd cyflwr yr Eneidiau truain hyn, pan yw ei caſeion mor ddiwyd a goſalus iw deſtrywio hwynt, a ninnau heb ofalu dim am ei cadw hwynt? Yn ddiau yr un modd ac y digwydd i dréf warchaedig, lle ni chedwir yr un wiliadwraeth nag amddiffynfa, yr hon yn ddiammeu a ſyrth yn yſglyfaeth i'r gelyn. *Yſtyriwch hyn y rhai ſy'n anghofio Duw* (neu yn hytrach y rhai ydych

yn

yn eich angofio eich hunain ) *rhag iddo eich difetha chwi*, *ac na bo gwaredudd*, Psal. 50. 22.

10. Modd arall i beth fod mewn enbydrwydd yw oddiwrth ryw afreol neu *annhymmer* oddimewn. Hyn yn fynych yw Cyflwr ein *Cyrph* ni; nid ydyn nhw yn unic mewn perigl o drais oddiallan, ond y maent hwy ynddynt ei hunain yn gláf ac yn ddolurus. Ac yna ni a fedrwn fod yn ddigon teimladwy ei bod nhw mewn enbydrwydd, ac nid rhaid ein rhybuddio ni i geisio moddion i'w hiachau hwynt. Ond hyn yw Cyflwr yr *Enaid* hefyd; yr ydyn ni yn cyfrif y rhannau hynny o'r Corph yn *glwyfus*, y rhai nid ydynt yn iawn-gwplhau ei *Swyddau*; yr ym ni yn cyfrif hwnnw yn *enau clwyfus* yr hwn ni *archwaetha* yn iawn, *cylla glwyfus*, yr hon ni *threulia*'r bwyd. Ac felly y mae gyda'r *Enaid*, pan fo ei hamryw rannau hi heb gwplhau ei *Swyddau* yn iawn.

11. Rhannau yr Enaid yw'r tri hyn yn enwedig: y *Deall*, yr *Ewyllys*, a'r *Anwydau*. Ac y mae yn rhy hawdd profi fod y rhain allan o drefn; edryched dŷn ond yn ddifrifol at ei galon ei hun, ac ystyried leied y mae fo yn ei wybod o bethau ysprydol, ac yna dyweded i mi onid yw ei Ddeall ef yn dywyll? Pa faint parottach yw efe i *ewyllysio drwg* na *da*, ac yna dyweded i mi onid yw ei *Ewyllys* ef yn *wyrgam?* A pha ryw *Ddeisyfiadau* haerllug sydd gantho ar ol pleserau pechadurus, a pha rai diwres egwan tu ac at Dduw a daioni, ac

yna

yna dyweded i mi onid yw ei *Anwydau* ef yn *afreolus*, ac yn wrthryfelgar, ié yn erbyn llef ei Reswm naturiol ei hun. Yr awrhon megis mewn clefydau Corphorol, y râdd gyntaf tu ac at y feddiginiaeth yw gwybod achos y clefyd; felly ymma y mae yn dra-angenrheidiol i ni wybod pa fódd y syrthiodd yr *Enaid* gyntaf i'r *Cyflwr clwyfus hwn*, a hynny a ddywedaf i chwi yr awrhon ar fyrr.

12. Fe Greawdd *Duw* y Dŷn cyntaf *Adda* yn *ddibechod*, ac a gynnysgaeddodd ei *Enaid* ef a *gwybodaeth* gyflawn o'i Ddled-swydd, ac a chyfryw rym ac y gallei ef, os mynné fo, gwplhau'r hyn óll a ofynnid gantho ef. Gwedi ei greui ef fal hyn, fe a wnaeth *Gyfammod* neu gyttundeb ac ef i'r pwrpas hwn, os efe a *barhâe* mewn *Ufudd-dod* i *Dduw* heb pechu; yna yn gyntaf fe gae' *grym* hwnnw'r *Enaid* barhau gydag ef yn wastad, yr hwn oedd gantho ef y pryd hynny; ac yn *ail*, na bydde fo byth marw, ond cael ei gymmeryd i fynu i'r *Nefoedd*, yno i fod yn ddedwydd yn dragywydd. Ond o'r tu arall, os peche fo ac anufuddhau Duw, yna y cae fo a'i holl heppil ar ei ôl golli'r *gwybodaeth* a'r *grym perffaith* hwnnw, yr hwn oedd yn ei wneuthur ef yn abl i gwplhau yr hyn oll yr oedd Duw yn ei ofyn gantho ef: ac yn *ail*, y bydde fo yn euog o farwolaeth, ac nid hynny yn unic, ond o ddamnedigaeth dragywyddol yn uffern.

13. Dymma'r *Cyttundeb* a wnaethpwyd ac *Addaf*, ac a holl ddynol ryw yntho ef (yr hyn a alwn ni yn gyffredinol y *CYFAMMOD CYNTAF*)

CYNTAF) ar hyn fe roddes Duw i *Addaf Orchymyn* neillduol, yr hwn nid oedd ond hyn, na fwytáe fo o un *pren* yn unic o'r *Ardd* lle y gosodwyd ef ynthi. Ond trwy hudoliaeth Diafol fe fwytáodd ef o'r pren hwnnw, ac felly fe anufuddháodd Dduw, ac a ddygodd y felldith honno arno'i hun, a'i holl heppil. A trwy'r un *pechod* hwnnw fe gollodd yn gystal y cyflawn *wybodaeth* o'i Ddled-swydd, a'r *Gallu* i'w *gwplhau* ef. A ninnau gan ein bod ni wedi ein geni ar ól ei Ddelw ef, a wnaethon felly hefyd, a thrwy hynny a ddaethon i fod yn *anneallus* i ddirnad y peth a ddylen ni ei wneuthur ef, trwy fod gennin ni annhuedd i bób *daioni*, a thueddiad a pharodrwydd i bób drŵg; fal *cylla* glwyfus, yr hon sy'n ffieiddio pób ymborth iachus, ac yn hiraethu am y cyfryw bethau gwael ac a faetha'r dolur.

14. Ac yr awrhon chwi a welwch pa le y cawsom ni'r *clefyd Enaid* ymma, a'i fód ef hefyd yn debyg i fod yn angheuol; ac am hynny yr wyf fi'n meddwl nad rhaid i mi draethu dim ychwaneg er mwyn eich Siccrhau chwi fod ein heneidiau ni mewn enbydrwydd. Cyffelypach yw wrth y peth a draethwyd y tybiwch chwi ei bod hwy tu hwnt i bob gobaith. Ond rhag i chwi gymmeryd escus oddiwrth y cyfryw feddyliau i'w hesgeuluso hwynt, mi a bryssuraf i ddangos i chwi y gwrthwyneb, trwy adrodd y *Pedwerydd* Annogaeth o'n gofal ni.

15. Y *Pedwerydd* peth i'n hannog ni i ofalu am yr Enaid yw y *Cyffelybrwydd* na fydd ein

*GOFAL* ni ddim yn *OFER*, ond yn hyttrach yn foddion i gadw'r Enaid; lle y mae hyn yn ddiffygiol, fe lwfrhá ein gofal ni. Y mae'r *Pysygwr* yn ymadel a'r dŷn cláf pan welo fo ef yn *ddiobaith*, gan wybod nad yw ond ofer roi iddo ef ddim y prŷd hynny; ond o'r tu arall pan ganfyddo fo fod gobaith gwellháad, y mae fo yn rhoi iddo feddiginiaethau. Yr awrhon y mae i ni achos mawr o herwydd hyn ymma i ofalu am ein Heneidiau, sef o herwydd nad ydynt hwy gwedi myned cymmhelled, nad ellir ei hailoresgyn hwynt, iè yn ddiammeu fe gynnhalia ein gofal ni hwynt, os gwnawn ni ein rhan tu ac at hynny.

16. Oblegid er bod holl ddynol ryw trwy bechod cyntaf *Adda* tan farn damnedigaeth dragywyddol, etto fe welodd Duw yn dda dosturio cymmhelled wrth ein trueni ni, a rhoddi i ni ei Fâb, a gwneuthur Cyfammod newydd a nyni yntho ef gwedi i ni dorri'r cyntaf.

17. Yr *AIL CYFAMMOD* hwn a wnaethpwyd ac *Adda*, ac yntho ef a ninnau, yn ebrwydd ar ól ei gwymp, ac a gynnhwyfir ar fyrr yn y geiriau hynny, *Gen.* 3. 15. lle y mae Duw yn datgan mae *HAD Y WRAIG A YSSIGEI BEN Y SARPH*; a hwn a wnaethpwyd i fynu, megis y cyntaf, o rai *trugareddau* i'w rhoddi gan *Dduw* ac o rai *Dledswyddau* i'w cwplhau gennim ninneu.

18. Duw yno a addawodd anfon ei unic *fáb* i'r bŷd (yr hwn fydd Dduw gogyfuwch

ac

ac ef ei hun) i'w wneuthur yn ddyn cyffelyb i ni ymmhób peth, ond pechod yn unic, ac i wneuthur troston ni'r amryw bethau hyn.

19. Yn *gyntaf* i *hyspysu* i ni holl *Ewyllys* ei *Dâd*, trwy gwplhau pa un ni a fyddwn siccr o fod yn gymmeradwy ac o gael ein gwobrwyo gantho ef. A dymma un rhan fawr o'r peth a gwplháodd efe yn yr amryw Bregethau ac athrawiaethau hynny a osodir ar lawr yn yr *Efengyl*. Ac yn hyn y mae ef yn *BROPHWYD* i ni, gan mai gwaith Prophwyd gynt oedd nid yn unic *rhagddywedyd*, ond *Dyscu* hefyd. Ein dyledswydd ni o ran hynny yw gwrando yn ddiwyd arno ef, bod yn barod ac yn ewyllysgar iawn i ddyscu Ewyllys Duw, yr hwn y daeth ef o'r Nefoedd i'w ddadcuddio i ni.

20. Yr *ail* peth yr oedd ef i'w wneuthur troston ni oedd *bodloni Duw* am ein *Pechodau* ni, nid Pechod *Adda* yn unic, ond Pechodau holl ddynol ryw a wir edifarháo, ac a wellháo ei buchedd, a thrwy'r moddion hyn caffael i ni faddeuant Pechodau, a ffafor Duw, ac felly ein gwaredu ni oddiwrth *Uffern*, a'r damnedigaeth tragywyddol yr hyn oedd y cospedigaeth dyledus am ein Pechodau ni. Hyn oll a wnaeth efe trosto ni trwy ei farwolaeth. Efe a'i *hoffrymmodd* ei hun yn *aberth* tros *bechodau* pawb a ymofidia yn ddifrifol o'i plegid, ac a ymadawo a hwynt. Ac yn hyn y mae efe yn *OFFEIRIAD* i ni, gan mae swydd *Offeiriad* yw *offrym aberth am bechodau y bobl.* Ein dyled ni o ran hyn yw yn gyntaf *edifarhau* yn

 ddifrifol,

ddifrifol ac ymadel a'n Pechodau, heb ba un ni faddeuir byth mo honynt i ni, er darfod i Grist farw. Yn *ail*, *Credu* yn ddiogel, os gwnawn ni hynny, y cawn ni y bûdd o'i *Aberth* ef, y maddeuir i ni ein holl bechodau, er maint ac amled fyddont, ac y cedwir ni oddiwrth y Penydiau tragywyddol hynny y rhai oedd ddyledus i ni am danynt.' Rhan arall o *Swydd* yr *OFFEIRIAD* oedd *Bendithio*, a *Gweddio* tros y bobl; a hyn hefyd a wnaeth Crist i ni: y Gennadwri enwedigol a dderbyniodd ef gan ei Dâd oedd ein *Bendithio* ni, fal y dywed S. *Petr*, *Act.* 3. 26. *Duw a anfonodd ei Fâb Jesu i'ch bendithio chwi*; ac y mae'r geiriau sy'n calyn yno yn dangos ymmha beth y mae'r fendith honno yn sefyll, sef yn *troi pób un o honochwi oddiwrth ei anwiredd*; o'r holl fendithion eraill rhaid yw cyfrif y moddion hynny a arferodd ef i'n troi ni oddiwrth ein Pechodau yn fwyaf: ac am y rhan arall, sef o *Weddio*, fe a gwplháodd hynny nid yn unic ar y ddaiar, ond y mae fo yn parhau i wneuthur hynny etto yn y Nef; *Y mae ef yn eistedd ar ddeheulaw Duw, ac yn eiriol troston ni*, Rhuf. 8. 34. Ein dyléd ni yn hyn yw gwiliad gwrthwynebu'r cyfryw fendith anrhaethadwy, ond bód yn fodlon i gael fal hyn ein bendithio, trwy ein *troi* oddiwrth ein *Pechodau*, ac nid gwneuthur ei holl *Weddiau* a'i *Gyfryngiad* ef troston ni yn ofer ac yn ddiddim, y rhai ni thyccian ddim er ein llés ni, tra'i boni yn parhau yn ein pechodau.

21. Y Trydydd peth yr oedd Crist i'w wneuthur troston ni oedd rhoddi i ni *Allu* i

wneuthur

wneuthur yr hyn y mae Duw yn ei ofyn gennim ni. Hyn y mae fo yn ei wneuthur, yn *gyntaf*, trwy yſgafnhau trymder y gyfraith a roddwyd i *Adda*, yr hon oedd yn gorchymyn na pechen ni byth y pechod lleiaf tan boen damnedigaeth, ac yn gofyn yn unic gennin ni *ymegniad oneſt diwyd* i wneuthur hyn a allon ni, a lle y bon ni yn ddiffygiol, yn derbyn *Edifeirwch ddiffuant.* Yn *ail*, trwy *ddanfon ei Yſpryd glân i'n calonnau ni*, i'n rheoli ac i'n llywodraethu ni, i roddi i ni allu i wrthladd pob rhyw brofedigaethau i bechod, ac i wneuthur yr hyn oll y mae ef yr awrhon tan yr Efengyl yn ei ofyn gennin ni. Ac yn hyn y mae fo yn *FRENIN* i ni, gan mae ſwydd *Brenin* yw rheoli, a llywodraethu, a gorchfygu gelynion. Ein dyléd ni yn hyn yw ein rhoddi ein hunain i fynu yn ddeiliaid ufudd iddo ef, i'n rheoli a'n llywodraethu gantho ef, i ufuddhau ei holl Gyfreithiau ef, nid cymmeryd plaid un gwrthryfelŵr, hynny yw, nid llochi unrhyw bechod, ond gweddío yn ddiwyd am ei *Râs* ef i'n cynnorthwyo ni i orchfygu pób pechod, ac yna gwneuthur defnydd o hono ef yn ofalus i'r pwrpas hwnnw.

22. Yn *Ddiweddaf*, fe a bwrcaſodd i'r rhai a *ufuddhaánt* yn *ffyddlon* iddo ef etifeddiaeth *dragywyddol ogoneddus*, ſef *Teyrnas Nêf*, lle y mae efe gwedi myned o'r blaen i gymmeryd meddiant troſton ni. Ein dyléd ni yn hyn yw bod yn ofalus iawn na fforffedion ni mo'n cyfran ynthi hi, yr hyn yn ddiammeu a wnawn ni, os parháwn ni mewn unrhyw bechod yn ddiedifeiriol. Yn *ail*, bod heb ſefydlu ein

Meddylfryd ar y byd hwn, ond derchafu ein meddyliau yn ól gorchymyn yr Apostol, Col. 3. 2. *Rhoddwch eich bryd ar bethau sydd uchod, ac nid ar bethau sydd ar y ddaiar*; gan hiraethu yn oestadol am ddyfod i feddiant yr Etifeddiaeth fendigedig honno, mewn cystadliad i ba un ni a ddylen dybied yn wael ac yn ddiystyr o bób pethau isod ymma.

23. Hyn yw sylwedd yr *AIL CYFAMMOD* hwnnw yr ydyn ni yr awrhon tano, lle y gwelwch chwi beth a wnaeth *Crist*, pa fodd y mae fo yn cwplhau y *Tair Swydd* ddirfawr hynny o *FRENIN*, *OFFEIRIAD* a *PHROPHWYD*, ac hefyd pa beth a ofynnir gennim ni: heb ein Cwplhaad ffyddlon ni, ni wná yr hyn oll a wnaeth efe ddim lesháad i ni; oblegid ni bydd ef fyth yn *Offeiriad* i *achub* neb ond y rhai ai cymmero ef yn gystal yn *Brophwyd* i'w dyscu hwynt, ac yn *Frenin* i'w llywodraethu hwynt; iè, os nyni a esgeuluswn ein rhan ni o'r *Cyfammod hwn*, fe fydd ein Cyflwr ni yn waeth na phe buase fo erioed heb ei wneuthur; oblegid yna fe fydd rhaid i ni atteb nid am drosseddiad Cyfraith yn unic, megis yn y Cyntaf, ond am wneuthur cam a thrugaredd, yr hyn sydd bechod a annog Duw yn ddirfawr i ddigofaint. O'r tu arall, os nyni a gwplháwn hynny yn ffyddlon, hynny yw, a ymosodwn ein hunain yn ddifrifol i ufuddhau pób gorchymyn Crist, heb fyned ymlaen yn fyrbwyll mewn rhyw bechod, ond edifarhau ac ymadel a pha beth bynnag y buon ni yn euog o honaw o'r blaen, yna yn ddiammeu

ammeu y mae'r holl rag-ddywededig roddion Crist yn perthyn i ni.

24. Ac yr awrhon chwi a welwch leied achos sydd i chwi i Esgeuluso *Gofalu* am yr *Enaid* gan dybied ei bod nhw mewn cyflwr diobaith, gan fod yn eglur nad ydynt hwy; ie yn ddiammeu y mae nhw yn yr unic gyflwr hwnnw, yr hwn yn anad dim arall a'i cymmhwysa nhw fwyaf i'n gofal ni. Oni bae ddarfod i Grist ei *Gwaredu* nhw, yna nhw a fuasen mor ddiobaith, ac y buasei ein holl ofal ni yn ofer; o'r tu arall, os buasei ei brynedigaeth ef yn gyfryw ac y cawsei pawb ei gwaredu wrtho ef, er iddin nhw fyw fal y mynnon, ni a fuasen yn tybied yn afraid gofalu am danynt, oblegid ei bod nhw yn ddiogel heb hynny. Ond fe welodd *Duw* yn dda drefnu'r peth felly, ac mae ein gofal ni sydd raid bod y moddion trwy ba un y bydd raid iddynt hwy dderbyn y budd o'r holl bethau a wnaeth Crist drostynt hwy.

25. Ac yr awrhon, os nyni gwedi'r cwbl a wnaeth Duw er mwyn achub ein Heneidiau hyn, ni wnawn cymmeint a *Gofalu* ychydig drostynt ein hunain, ni haeddwn yn dda iawn fod yn golledig. Os cymmere *Pysygwr* arno jachau un a fo mewn clefyd gresynol, a'i ddwyn ef trwy ei gelfyddid cymmhelled allan o hono ef, ac y bydde fo yn siccr o atgryfhâu, os gwnâe fo ond gofalu trosto'i hun, ac ystyried y *rheolau* hynny a osodei 'r Pysygwr iddo ef, oni thybiech chwi fod hwnnw yn flin o'i fywyd a *wrthodei wneuthur hynny?* felly yn ddiammeu y

 mae'r

mae'r dyn hwnnw yn flin o'i *Enaid*, ac yn ei daflu ef ymmaith o'i wirfodd, yr hwn ni chyd-synia a'r ammodau hawdd hynny er mwyn ei gadw ef.

26. Chwi a welwch faint o *garedigrwydd* sydd gan Dduw tu ac at ein Heneidiau hyn; fe wnaeth yr holl *Drindod*, y *Tâd*, y *Mâb*, a'r *Yspryd glân* ei rhan drostynt. Fe roddodd y Tâd ei unic Fâb; fe roddes y Mâb efe 'i hun, fe ymadawodd a'i ogoniant, ac a ddioddefodd angeu chwerw-dóst y *groes*, er mwyn cadw ein Heneidiau ni rhag colli. Y mae'r *Yspryd glân* megis yn wasanaeth-wr i ni, i weini i ni trwy gynnyg yn wastad ei râs, i'n gwneuthur ni yn abl i gwplhau'r cyfryw bethau ac a'i ceidw hwynt; iè y mae fo yn ewyllysio cymmeint i ni gymmeryd yn ddilysiant ei gynnygion ef, ac y dywedir ei fod ef yn *tristhau* pan wrthodon ni hwynt, *Eph.* 4. 30. Yr awrhon pa ryw Sarháad neu ammharch fwy a allwn ni ei roddi ar Dduw na dirmygu'r peth y mae fo fal hyn yn ei brisio, pan fo ni yn tybied na thâl ein Heneidiau ni i ni ofalu ychydig am danynt, y rhai a dybiodd Crist yn deilwng o bób Defnyn o'i waed? Yr ydyn ni yn arfer mewn pethau bydol o'i prisio hwynt yn ól tŷb y rhai cyfarwyddaf ynddynt; yn awr Duw yn ddiammeu yr hwn a wnaeth ein Heneidiau ni a ŵyr oreu ei *prîs* hwynt, a chan ei fod ef yn gwneuthur cymmeint cyfrif o honynt, bid cywilydd gennim ni (pette ond o barch iddo ef) ei hesgeulusso hwynt: yn enwedig gan ei bód nhw yr awrhon mewn cyflwr mor obeithiol, na ddichon dim ond ein diofalwch ni ei dinistrio hwynt.

27. Mi a draethais bellach ar fyrr am y *Pedwar annogaeth* o ofal, y rhai ynt bób un o honynt yn gyfryw ac a gyffrŷ yn ddiammeu ein gofal ni tu ac at bethau'r Bŷd hwn; ac mi a ddangosais i chwi hefyd faint mwy rhesymol, iè angenrheidiol yw iddynt wneuthur yr unrhyw tros yr Enaid. Ac yn awr beth sydd i mi i'w ddywedyd ychwaneg, ond dibennu a geiriau, *Esay* 46. 8. *Cofiwch hyn, ac ymddangoswch yn wyr*. Hynny yw, gwnewch a'ch heneidiau fal y mae eich *Rheswm* yn dyscu i chwi wneuthur a phób peth arall ar sydd yn perthyn i chwi; ac yn ddiammeu, y mae Cyfiawnder cyffredin yn eich rhwymo chwi i hyn ymma; oblegid oddiwrth yr Enaid y mae'r *Rheswm* hwnnw yn tarddu, yr hwn yr ydych yn ei arferu yn eich holl negeseuau bydol; ac oni chaiff yr Enaid ei hun dderbyn dim Bûdd oddiwrth y *Rheswm* hwnnw y mae hi yn ei roddi i chwi? Y mae hyn fal pette *pennaeth ty*, yr hwn sydd yn rhagddarparu ymborth i'w weision, yn cael ganddynt hwy ei gadw rhag bwyta dim ei hun, ac felly bód yr unic un newynllyd yn ei dŷ.

28. Ac fal y mae *Cyfiawnder*, felly hefyd y mae *Trugaredd* yn eich rhwymo chwi i hyn ymma; chwi a wyddoch y syrth yr Enaid truan i drueni tragywyddol ac annhraethadwy, os parhewch chwi i'w esgeuluso ef, ac yna rhy hwyr i chwi feddwl am dano ef. Y noddfa diwaethaf a ellwch chwi ei ddisgwyl yw *Trugaredd Dduw*, ond fe ddarfu i chwi ddirmygu a cham-arferu honno yn barod. A pha-fodd y gellwch chwi fod mor ddigywilydd ac erfyn yn eich angen

mwyaf

mwyaf ei drugaredd *ef* i'ch *Heneidiau*, pan na ddangosech chwi ddim trugaredd iddynt hwy eich *hunain?* iè na'r Cariad cyffredin hwnnw ychwaith o feddwl am danynt, na threulio ychydig o'r *Orian* fegur hynny arnynt hwy, na wyddech chwi ond prin pa fodd i'w bwrw heibio.

29. Gofodwch hyn at eich calonnau, ac fal yr ydych chwi yn gobeithio cael *trugaredd Dduw* pan fo arnoch fwyaf ei eifieu ef, byddwch ficcr o *dofturio* wrthych eich hunain mewn pryd, trwy gymmeryd y *Gofal* dledus hwnnw am eich *Heneidiau Gwerthfawr* ar fydd yn perthyn iddynt.

30. Os darfu i hyn a adroddwyd eich hannog chwi i'r *Ddyled-fwydd* hon fy mor *angenrheidiol*, fy ngorchwyl neffaf i a fydd dangos i chwi pa fodd i iawn-drefnu'r gofal hwn, a hynny, mewn gair, a grynhóir yn gwneuthur yr holl bethau hynny a wná'r Enaid yn ddedwydd, yr hyn yw diben ein *Gofal* ni; a pheth yw'r pethau hynny yr wyf fi yr awrhon yn dyfod i ddangos i chwi.

TABL

Cymmrodor on LIBRARY
61, Chancery Lane W C2

Cymmrodorion LIBRARY
61, Chancery Lane W C2



# Tabl o'r pethau a grynhoir yn yr Amryw *Bennodau* neu *Ddosparthiadau* yn y llyfr hwn: y rhai, yn ôl y Cyfranniad hwn, trwy ddarllen un o'r *Pennodau* hyn bôb *Dydd yr Arglwydd*, a ddarllennir i gyd trostynt *deirgwaith* yn y *Flwyddyn.*

DOSPARTHIAD. XV.

Sul. 15.



DOSPARTHIAD. XVI.

Sul. 16.



DOSPARTHIAD. XVII.

Sul. 17.



---

TABL

# TABL
## O'R
# DEFOSIONAU NEILLDUOL.



Y DOS-

# Y DOSPARTHIAD, I.

## *Am* ddled-ſwydd *DYN trwy oleuni* Natur, *trwy oleuni y Scrychur: y tair caingc fawr o ddled-ſwydd Dyn, i Dduw, iddo ei hunan, iw gymydog: ein Dled-ſwydd i Dduw; am* Ffydd, *yr Addewidion, Gobaith, Cariad, Ofn, ac Hyder.*



Mae 'r *Rhagor-freintiau* a bwrcaſodd *Criſt* i ni yn gyfryw ac a wna yr Enaid ynddiammau yn *wynfydedig*; oblegid Gwynfyd tragwyddol yw ûn o honynt: ond o herwydd nad yw'r *Rhagor-freintiau* hyn yn perthyn i ni nes i ni gyflawni yr *ammod* dledus arnom ni; rhaid i bwy bynnag a chwennycho happusrwydd ei enaid, ymoſod i hun i gyflawni yr *Ammod* hwnnw. Mi adroddais yn barod yn *Gyffredinol* beth iw'r *Ammod* hwn, ſef, *ymegniad diwyd, diragrith i ufyddhau i holl ewyllus Duw.* Ond gan fod amryw neillduol bethau yn gynhwyſedig tan *ewyllus Daw*, y mae'n anghenrheidiol i ni wybod beth ydiw rheini: ſef, beth yw'r *amryw bethau*

Sul. I. y mae Duw yr awrhon yn i ofŷn ar ein dwylo ni, Cyflawniad pa rai an dŵg ni i ddedwyddch tragwyddol, ai hesculusdra i drieni annherfynol.

Am oleuni Natur.

2. Or rhain y mae Duw gwedi argraffu rhai ar ein heneidiau ni, yn gymaint ac y gwyddom ni hwynt trwy *Natur*; hynny yw, ni a wyddasen ei bôd nhw yn ddledus arnom ni, pe buasei'r scrythur eiriod heb ein harddyscu ni. Ni a allwn weled fôd hyn felly, trwy'r *Cynhedloedd*, y rhai ni chlwysent eriod son am yr *hên Destament* na'r *Newydd* ag etto sydd yn Cydnabod ei bod nhw yn rhwymm i gyflawni rhai *Dled-swyddau Cyffredinol*, megis i *addoli Duw*, i fod yn *gyfiawn*, i *anrhydeddau* ei *Rhieni*, a'r cyffelib; ac y mae, St. *Paul* yn dywedyd, *Rhuf.* 2. 15. *Fod ei Cydwybodau nhw yn y pethau hynny, yn ei Cyhuddo, neu yn ei bescusodi nhw*; sef, yn dywedyd iddynt hwy, a wnaethont, y peth a ddylesynt hwy, yn y pethau hynny, ai nat to.

3. Yr awrhon er darfod i *Grist* ddwyn goleuni mwy i'r bŷd, etto ni feddyliodd ef erioed trwy hwnnw ddiffodd dim or Goleuni *Naturiol* yr hwn a osododd Duw yn ein Heneidiau ni: Gadewch inni gan hynny yn awr eich rhybudddio chwi na rodioch yngwrthwyneb i'r Goleuni lleiaf hwn, hynny yw, na anturioch ar y rûn or gweithedroedd hynn, rhai y mae *Cydwybod Naturiol* yn dwedyd ei bod yn bechodau.

4. Y mae yn achos Cyfiawn o driftwch i galon

Ion Christion weled rhai yn y dyddiau hyn yn proffessu llawer o *Grefydd*, ac etto yn buw yn y fath bechodau, ac y Ffieiddiau anghredadun syw ynddynt; dynion yn gwneuthur lliw o uwch graddau o *oleuni*, a Sancteiddrwydd na'i Brodyr, etto yn ymarferu ynghwrthwyneb i bôb rheol Gonestrwydd cyffredinol, ac yn gwneuthyd yn rhan o'i rhydddid Gristianogawl i wenuthur felly; oddiwrth hudoliaeth pa rai y perthyn i bôb rhai a garo ei *heneidiau*, ymogelyd: ac ir perwyl hynny, gosoder hyn yn sylfaen, sef, *Na all y Grefydd, neu'r Opiniwn honno, yr hon sydd yn Cynnwys dynion mewn nebriw anwiredd, fod o Dduw*.

5. Ond er na ddylem ni ddiffodd y Goleuni hwn a osododd Duw yn ein Heneidiau ni, etto nid hwn yw 'r unig ffordd trwy ba ûn y datcuddiodd Duw ei ewyllus; ag am hynny ni ddylem ni Orphywys ymma; ond myned ymlaen, i wybodaeth o'r pethau eraill hŷnny, y rhai y darfu i Dduw trwy foddion eraill ei datcuddio.

6. Y modd i ni i ddyfod iw gwybod hwynt yw trwy 'r *Scrythyrau*, y'mha rai y gosodir ar lawr yr amrhyw orchmynion hynny y rhai a roddes Duw i fod yn rheol o'n *dled-swydd* ni. Goleuni y Scrythyrau.

7. Rhai o'r rheini a roddwyd cyn dyfod Crist i'r bŷd, sef, y Deddfau hynny, y rhai sydd wascaredig drwy'r *hên Destament*, ond yn enwedig y rhai a gynnhwysir yn y *Dêg-gorchymmun*, a'r Llyfr rhagorol hwnnw *Deuteronomium*; eraill a roddwyd gan *Grist* yr hwn a

Dosp. I. anghwanegodd lawer at y Gyfraith yr hon a wreiddied ynom ni trwy *Natûr*, ag *Gyfraith* y'r *hên Destament*, a'r rhai hyn a ellwch chwi ei gweled yn y *Testament newydd* mewn amryw orchmynion a roddwyd gantho ef, a'i Apostolion, ond yn enwedig yn y bregeth ragorol honno ar y Mynûdd, yr hon a osodwyd i lawr, yn y bummed, chweched, a'r seithfed bennodau ô Efengyl St *Mathew*.

8. Mi a ddylwn draethu yn neillduol ar bôb ûn o'r rhai hyn, ond ô herwydd y gwnai hynny yr gwaith yn rhy-hîr, ac fellu yn llai cymmwys i'r râdd waelaf o ddynion, i swyniant pa rai yn unig y bwriaded ef, mi a ddewisais yn hytrach fyned ymlaen mewn modd arall; trwy gydsylltu hyn ôll, ag fellu gosod i lawr cyn eglûred ac y medra'i pa beth ydiw Dledswydd pôb Christion.

Y tair caingc fawr ô ddlêd Dyn.

9. Hyn sydd yn fyrr yn gynhwysedig yngeiriau'r Apostl, *Tit.* 2. 12. *Bod i' ni fuw yn sobr, yngyfiawn ac yn ddiwiol yn y byd sydd yr awrhon*; ymha fan y mae'r gair [ yn sobr ] yn Cynnwys ynddo ein dlêd-swydd tu ag *attom ein hunain*; [ yn gyfiawn ] ein Dled-swydd tu ag at *ein Cymydogion*; ag [ yn Ddiwiol ] ein dlêd-swydd tu ag *at Dduw*. Hyn gan hynny a sydd prif byngciau sy ymadrodd ei, ein *dlêd* i **Dduw**, ein **Hunain**, ac i'n **Cymydogion**. Mi dechreuaf an Ddled i Dduw gan fod hynny yn sylfaen goreu i' ni i adeiladu y ddaû eraill arno.

Dlêd-swydd, Dduw.

10. Y Mae amryw rannau on dlêd-swydd i *Dduw*; y ddau bennaf yw y rhai hyn, yn gyntaf ei

ei Gydnabod ef i fod yn *Dduw*; yn ail na fytho gennym ni y rûn arall. Tán y rhain y Cynhwysir yr holl bethau neilduol hynny, y rhai a wna i fynuu ein *Holl Ddled-swedd* i Dduw, yr hyn a ddangosir yn ei Tresn. Sul I.

Rom. 4. 3.

11. Cydnabod ei fod ef yn Dduw, ydiw credu i fôd ef yn *ysbryd gogoneddûs anherfynedig*, yr hwn oedd o Dragwyddoldeb heb ddechreuad, ag a fydd hyd Dragwyddoldeb heb ddiwedd. Ei fod ef yn *Greawdr*, *Waredwr*, *a Sancteiddiwr*, *y Tâd*, *y mab*, *a'r Ysbryd-glân*, *ûn Duw bendigedig yn oes oesoedd*. Nad yw bossibl iddo ef mewn ûn modd Newidio, ond i fod ef yn *anghefnewidiol*; nad ydiw ef fylwedd Corphorol y cyfriw ag a eill ein Llygaid ni ei amgyffred, eithen Ysbrydol ac anweledig, yr hwn ni welodd ûn *Dyn erioed, ac nis dichon neb ei weled*, 1 Tim. 3. 16. Ei fod ef yn anherfynol mewn Mawredd a Godidowgrwydd, uwch law y cwbl oll a all ein Synwyr ni a'n meddwl i fwriadu; na dderbyniodd ef ei fylwedd gan neb, ac ei fôd ef yn rhoddi fylwedd a dechreuad i bob pethau.

Cydnabod i fod ef yn Dduw.

12. Hyn oll a ddylem ni i gredu am dano efo herwydd ei fylwedd, a'i hanfod: ond heb law hyn y mae'r *Scrythur* yn i osod ef allan i ni trwy ei amriw *arddercbowgrwydd*, sef gan i fôd ef ô *annherfynol ddaioni*, a *thrugaredd*, a *gwirionedd*, a *chyfiawnder*, a *doethineb*, a *gallu*, ac *oll-alluowgrwydd*, a *mawrhydi*; ei fod ef yn dosparthu ac yn Llywiaw pôb pethau trwy ei *Ragluniaeth*; ei fod ef yn gwybod pôb peth, ac yn bresennol ymmhob mann; yr hun y mae Difinyddion yn ei galw *Prodioliaethau Duw*, a'r holl

Dosp.I. bethau hyn sydd raid i ni yn ddisigl ei Cydnabod, sef, Credu yn ddiogel fod yr holl ddwywawl ardderchowgrwydd hyn yn Nuw, ac hynny yn y radd berffeithiaf, fal nad allan nhw, na bython ynddo ef, nid eill ef na bo'yn *annhersynol ddaionus*, trugarog, grasslawn, *&c.*

13. Ond ei gydnabod êf ei fod yn Dduw i ni sydd yn arwyddoccau etto chwaneg na hyn; sef, y dylem ni gyflawni iddo ef yr holl ddlêdswyddau hynny a berthyn oddiwrth *Greadur* i'w *Dduw*: mi a ddangosaf i chwi yr awrhon pa beth yw y rhai hynny.

Rom. 4. 3. Ffydd.

14. Y Cyntaf ydyw *Ffydd* neu *grediniaeth*, nid yn vnig iw rhagddywededig *Hanfod* ai *briodoliaethau* ond iw Air, sef Credu yn ddiogel fôd pôb peth a ddywed ef yngwbl wîr. Mae hyn yn anghenrheidiol yn traddu allan o'i Briodoliaeth honno, sef ei *Wirionedd*, gan fod yn naturiol i' ni gredu beth bynnag a ddywdir gan ûn, ô wirionedd r' hwn, yr ydym yn hyderus. Yn awr gan fôd y *Scrythyrau Sanctaidd* yn Air Duw, rhaid i' ni gredu yn ddisigl fôd pôb peth a gynnhwysir ynthynt hwy yn gwbl wîr.

Traethiadau.

15. Y Pethau a gynnhwysir ynthynt hwy, sydd o'r pedwar rhywogaeth hyn: yn gyntaf, *Traethiadau*, y cyfriw ydyw holl Historiau 'r Bibl, pan ddywedir y peth a'r peth a ddigwyddodd fal hyn ac fal hyn; *Crist* a anwyd ô Forwyn, a ddodwyd mewn Preseb, *&c.* A'r cyffelyb hefyd yw amryw byngciau ô *Athrawaeth*, megys fôd tri Pherson yn y *Duwdod*, fod *Crist* yn *fab Duw* &c. Mae'n rhaid i' ni gredu fôd pôb peth

o'r fath hyn a osodir i lawr yn y Scrythur yn gwbl wir. Ag nid fellu yn ûnig ond ô herwydd ei bod nhw oll gwedi ei scrifennu er ein haddysc ni, rhaid i' ni ei ystyried nhw i'r perwyl hwn, sef, trwy y rhai hyn i osod ár lawr sylfaen gwybodaeth Gristionogawl, ar ba un y gallwn adeiladu Buchedd Gristionogawl.

16. Yr ail mâth ar bethau a gynnhwysir yn y Scrythur yw *Gorchymynion*, sef, amryw bethau a orchymynnodd Duw i' ni ei Cyflawni: rhaid i' ni gredu ddyfod o'r rhain oddiwrtho ef, ai bôd nhw yn drachyfiawn, ag yn gymmwys iddo ef i gorchymyn: Ond y mae'n anghenrhaid yn y cyfamser i'r Ffydd hon ddwyn allan *Ufydd-dod*, megis fal y gwnelom yn ddiwyd y peth yr ydym ni yn ei gredu sydd gymmwys i' ni i wneuthur; onid-ê, ni thâl ein Ffŷdd ni ddim ond i'n gwneuthur ni yn fwy anescusodol. *Gorchymynion.*

17. Yn *drydydd*, y mae'r Scrythur yn cynnwys ynddi Fygythion; y mae amryw leoedd yn bygwth i'r rhai a ân ymlaen yn ei pechodau *ddigofaint* Duw, trwy ba ûn yr arwyddocceir holl *Gospedigaethau* a *thrueni* y bŷd hwn yn gystal *ysbrydol* ac *Amserol*, a destryw Tragwyddol yn y bŷd a ddaw. Mae'n rhaid i' ni yn awr yn draddiogel gredu mae Bygythion Duw iw'r rhai hyn ac y cânt hwy yn siccr ei cyflawni ar bôb anedifeiriol bechadur. Ond yn y cyfamser y Defnydd sydd raid i n'i ei wneuthur o'r Ffŷdd hon ydyw ymgadw oddiwrth y pechodau hynny i ba rai y bygythir y Destryw hyn, onid-ê ni wna'n Ffydd ni ond anghwanegu ein heyogrwydd ni, y rhai ydym yn syrbwyll yn *Bygythion.*

Dosp.I. myned ymlaen, er y'r holl fygythion hynny.

Addewidion. 18. Yn bedwerydd, y mae'r *Scrythur* yn cynnwys *Addewidion* yn gystal i'n Cyrph ac i'n Heneidiau; i'n Cyrph y mae amryw Addewidion y rhagddarpara Duw i' ni y peth a welo êf yn anghenrhaid; ni henwai ond ûn, *Mat.* 6. 33. *Yn gyntaf ceisiwch Deyrnas Dduw ai gyfiawnder ar holl bethau hyn*, hynny yw pôb anghenrheidiau oddiallan, *a roddir i chwi yn chwaneg.* Ond yma ystyriwn mai rhaid i' ni *yn gyntaf geisio Teyrnas Dduw ai Gyfiawnder*, sef, dodi yn gofal cyntaf a mwyaf i wasanaethu, ac iw Ufyddhau êf cyn i'r addewid hwn, ie ô bethau da Amserol berthyn i' ni. I'r *Enaid* y mae llawer o Addewidion mawrion, megis yn gyntaf ô Esmwythaâd, ac Edfryd presennol, fal y gwelwn ni *Mat.* 11. 29. *Cymmerwch fy iau arnoch a dyschwch gennif, a chwi a gewch Esmwythdra i'ch Eneidiau:* Ond yma y mae 'n hysbus, fôd yn rhaid i' ni, cyn i'r Esmwythdra hwn berthyn i' ni *gymmerud Jau Crist arnom*, ag yn gwneuthur ein hunain yn Weision ac yn Ddiscyblion iddo êf. Yn ddiweddaf y mae i'r *Enaid* Addewidion ô holl Ragor-freintiau *Crist*, ond etto i'r rhai hynny yn ûnig a gyflawno y Cyfammod ersynnedig; sef, maddeuant Pechodau i'r rhai a edifarhao, Cynnhyddiad grâs ir sawl a wna Ddefnydd yn ddiwyd o'r Grasau sydd ganthynt, ag a weddiant yn ostyngedig am ychwaneg; ag Jechydwriaeth Tragwyddol i'r rhai barhânt hyd ddiwedd ei Bywyd mewn Ufydd-dod diragrith iw Orchymynion êf.

19. Rhaid gan hynny i'r Ffydd hon o'r

Addewidion

Addewidion yn Cynnhyrsu ni i gyflawni'r Cyfammod cyn gallon'i mewn rheswm ddisgwyl dim daioni trwyddynt hwy: ac i'ni ddisgwyl bûdd oddiwrthynt ar dermau eraill ydyw 'r unrhyw rysyg Ffôl a phe gofynnei gwâs wobr gan ei feistr am esclusó gwneuthur ei waith êf, i'r hwn yn vnig yr adawesyd y gwobr; chwi ellwch yn hawdd fwriadu pa atteb a roddyd i'r cyfriw Wâs; ar unrhyw a ddisgwyliwn ninnau gan Dduw yn y Cyflwr hwn. Jê ymmhellach, siccr yw na roddodd Duw mo'i Addewidion i ddiben arall namyn i'n gwahodd ni i Sancteiddrwydd buchedd; ie, fo roddodd ei Fâb, ymha ûn y cyflawnir ei holl Addewidion êf, ir perwyl hwn. Yr ydym ni arferol ô edrych yn gymmaint ar ddyfodiad *Crist* i dalu iawn troson 'i, ag yr anghofiwn ni y rhan arall yma oi neges êf. Ond nid oes dim siccrach nad i blannu buchedd dda ymysg dynion ydoedd diben mwyaf ô ddyfodiad *Christ* i'r bŷd. Sul. I.

20. Y mae hyn gwedi i addroddi yn y *Scrythur* cyn fynyched, fal nad all neb, a ystyria ac â gredo y peth mae yn i ddarllen, ammeu ô hono êf. Mae *Crist* ei hûn yn dywedyd i' ni Mat. 9. 13. *Y daeth ef i alw pechaduriaid i edifeirwch*. Ac y mae St. *Petr*, Act. 3. 26. yn dywedyd, *Dddanfon o Dduw ei Fâb JESU i'n bendithio ni, gan droi pôb ûn o honon i oddiwrth ein drygioni*, wrth hynny *ein Troead ni oddiwrth ein drygioni*, oedd y fendith fwyaf hynodol, ar a oedd Duw yn i amcanu i ni ynghrist.

Dosp. I, 21. Ie ni a'n dyscir gan St *Paul* mae hyn hefyd oedd diben ei farwolaeth ef *Tit.* 2. 14. *Yr hwn ai rhoddes ei hûn trosom fel in pryne ni yn rhydd oddiwrth bôb anwiredd, ac y glanhae ni yn bôbl briod iddo ei hûn, yn awyddus i weithredoedd da.* A thrachefn *Gal.* 1. 4. *Yr hwn ai rhoddes ei hûn dros ein pechodau, er ein gwared oddiwrth y byd drwg presennol,* hynny iw, oddiwrth bechodau ac arferau drwg y bŷd. Y Mae amryw leoedd eraill i'r pwrpas hwn, ond yr wyf yn meddwl fod hyn yn ddigon i siccrhau ûndyn am y gwirionedd mawr hwn, fod Cymmaint ac a wnath *Crist* yn tueddu i'r diben hwn; sef, i'n dwyn ni i fyw yn Gristionogawl, neu yngeiriau St. *Paul*, *i'n dyscu ni i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a bod i' ni fyw yn sobr, ac yn gyfiawn ac yn ddywiol yn y bŷd sydd yr awrhon.* Tit. 2. 12.

22. Ni wyddon mae *Crist* yw sylfaen yr holl addewidion; *holl Addewidion Duw ynddo ef ydynt ie ac Amen.* 2 Cor. 1. 20. Ac am hynny os rhoddes Duw *Grist* i'r pwrpas hwn, eglur yw fod yr Addewidion i'r ûnrhiw hefyd. Ac yna pa gamarfer yr Addewidion ydyw gwneuthur yddynt hwy wasanaethu i berwyl gwrthwyneb i'r peth yr amcanwyd hwynt? sef i'n Cyssuro ni mewn Pechodau yr hyn beth a wnant hwy yn siccr, os nyni a fyddwn hygoel i gredu i bod nhw yn perthyn i' ni, er annuwioldeb y byddwn fyw. Y mae 'r Apostl yn dyscu i' ni Ddefnydd arall ô hononyn 'hw 2. *Cor.* 7. 1. *Am hynnu gan fod i' ni'r Addewidion hyn, ymlanhawn oddiwrth bob halogrwydd, cnawd ag Yspryd gan berffeithio Sancteiddrwydd yn ofn Duw.*

*Duw*. Pan wnelon fal hyn; ni allwn yn gyfiawn gymmhwyso 'r Addewidion i' ni ein hunain a disgwyl yn gyssurus ein rhan ynddynt hwy. Ond hyd hynny er bôd yr Addewidion hyn ô wirionedd disigl, etto ni allwn ni ddisgwyl dim budd oddiwrthynt, o herwydd nad ydym y cyfriw, i'r rhai y gwnaethpwyd hwynt, hynny yw nid ydym yn Cyflawni y cyfammod sydd i roddi i' ni iawn ynddynt hwy. Sul. I.

23. Hyn yw'r Ffydd neu'r Gredinaeth a ddisgwylir gennim ni tu-ag at y pethau, a ddadcuddiodd Duw i' ni yn y Scrythur, sef, y cyfryw ac a eill atteb y Diben, am ba ûn y dadcuddwyd hwynt felly, hynny yw, ein dygiad ni i fucheddau da ; heb hyn, nid ydyw credu yn vnig iw Gwirionedd hwynt ddim mwy nag y mae'r Cythreliaid yn ei wneuthur fal y dywed St. *Jaco Pen*. 2. 19. Yn Vnig nid ydynt hwy mor anresymmol ac ydyw a rhai o honon 'i, canys nhw a *grynnan* gan wybod yn dda, na wna'r Ffydd hon iddi' nhw fyth ddaioni. Ond mae llawer ô honon'i yn myned ymlaen yn syrbwyll, heb ammau nad yw'n Ffydd ni yn abl, er nadoes gennyni y ffrwyth lleiaf ô Ufydd-dod i brofi'r Ffydd hon wrtho; gwrandawed y cyfryw rai farn St. *Jaco* yn y Cyflwr hwn, *Pen*. 2. 26. *Megys y mae'r Corph heb yr ysbryd yn farw, felly Ffydd heb weithredoedd marw yw*. psal. 31. 26, 27. Llanarth Xbr. 6. 702. Llanina Feb. 6: 703.

24. Yr ail Dlêd-swydd i Dduw yw Gobaith, hynny yw, disgwyliad Cyssurûs y pethau da hynny, a addawodd ef. Ond rhaid i hwn (fal y ragddywedais am Ffydd) fôd gwedi Gobaith.

Dosp.I. ei gymmhwyso i natur yr Addewidion, y rhai gan ei bôd nhw yn gyfryw ac sydd yn disgwyl Cyfammod O'n tu-ni, ni allwn ni Obeithio ddim pellach nag y gwnawn i'r Ammod yn dda; neu os gwnawn ni amgen yr ydym ni cymmhelled oddiwrth gyflawni'r Ddlêd-swydd hon ô *Obaith*, ac yn bod ni yn gwneuthur y pechod mowr hwnnw ô Rhyfyg, yr hwn nid ydyw ddim amgen namyn gobeithio lle ni roes Duw ddim achles i Obeithio: hyn y mae pob Dyn yn ei wneuthur ar sydd yn Gobeithio cael maddeuant Pechodau a bywyd Tragwyddol heb'r Edifeirwich a'r Ufydd-dod hynny, i ba rai yn vnig yr addawyde hwynt; y gwir Obaith yw 'r hwn an pura ni, 1 *Jo.* 3. 3. *Pob ûn sydd ganddo y Gobaith hynynddo, ai pûra ei hûn, megys y mae yntef yn Bûr*; hynny yw, fe a wnâ iddo ymadel ai Bechodau, ag ymegnio yn ddiwyd i fôd yn Sanctaidd, megis y mae *Crist*; a'r hwn nid ydyw felly, er tra-hyderus y bo fo, a ellir yn hawdd wybod nad yw ê ond *Gobaith* y *Rhagrythiwr*, yr hwn y mae *Job* yn ei siccrhau i' ni a ddiflanna.

Rhyfyg.

Anobaith.

25. Ond y me ffordd arall i droseddu y *Ddlêd-swydd* hon heb law honno, ô *Ryfyg*, ac honno yw trwy *Anobaith*, wrth ba ûn nid wyfi yn meddwl yr hon â elwir felly yn gyffredinol, sef, Anobeithio am Drûgaredd tra' i boni 'n parhau yn ein Pechodau, canys nid y wond cyfiawn i' ni wneuthur fellu: Ond yr wyfi'n meddwl y sâth *Anobaith* ac a bair i ni adael heibio ymegnio, hunny yw, pan fo dyn yn bwriadu na ddigwydd iddo, fyth fôd y cyfryw ûn ac y perthyn yr Addewidion iddo, oblegid ei fôd êf yn gweled nad ydyw êf yn y

Sul. I.

Cyfamser, y Cyfryw ûn, ac am hynny yn Esceuluso pôb Ddlêd-swydd, ac yn myned ymlaen yn ei Bechodau. Hwn yn wir yw'r *Anobaith Pechadurus*, yr hwn os parheir ynddo, a ddibenna mewn Destryw.

26. Gwaith *Gobaith* gan hanny ydyw Rhagflaenu hwn, trwy osod o'n blaen ni *Gyffredinoldeb yr Addewidion*, sef, i bôd nhw yn perthyn i bawb a gyflawna 'r cysammod. Ag am hynny er na ddarsu i ddŷn hyd yn hyn ei gyflawni ef, etto fo *Gobaith* iddo, a geill efo etto i ennill ef os efe'r awrhon a ymrû'n ddiwyd i chwilio am dano. Ffolineb rhyfeddol ydyw hi gan hynny i ddŷn, er Annuwiol a fytho fo, i roddi ei hûn i fynnu yn golledig, pan all êf (os ef a adnewydda ei Fûchedd) fôd cyn ficcred ô gyfrannu o'r *Addewidion* trugaredd, a phe buasei fo erioed heb fyned ymlaen yn ei Bechodau.

27. Hyn y mae *Crist* yn i ddangos i' ni trwy ddammeg y *Mâb afradlon*, Luc. 15. lle y gwelwn'i y Mâb hwnnw, yr hwn â redasei ymmaith oddiwrth ei Dâd, ac ac a ddifrodasei ei gyfran a roddwyd iddo, mewn buchedd-afradlon, etto ar ei droead a'i Edifeirwch yn cael i groesawu gan ei Dâd, a'r y fâth Laryeidd dra, a phe na throseddasai ef erioed. Vnig fwriad y Ddammeg hon ydyw i ddal allan i' ni mor raslawn y derbyn ein *Tâd nefol* nyni, er maint oedd ein Pechodau ni or blaen, os y ni a ddychwelwn atto êf a gŵir ofid am a bassiodd, ac Ufydd-dod diragrith am'r amser sydd i ddyfod; ie, mae dychweliad pechadur oddiwrth ei ffordd gyfeiliornus, mor gymmeradwy gan

Dduw,

Dosp. I. Dduw, *â bôd math ô orfoledd yn y Nef am hynny, y mae llawenydd yng-wydd Angelion Duw, am ũn pechadur a edifarhao*, Luc. 15. 10. Pwy gan hynny na ddewisai yn hyttrach ddwyn Llawenydd i'r nêf, sef i Dduw, ac iw Angelion Sanctaidd trwy Edifeirwch mewn prŷd, na boddhau Satan ai Ysbrydion melldigedig trwy annobaith sarrug; yn enwedig gan ein bôd ni yn ennill trwy 'r naill happusrwydd tragwyddol i' ni ein hunain, a thrwy'r llall Boenau annhersynol?

Cariad. 28. Y drydydd Ddled-swydd i Dduw, ydyw *Cariad*; y mae dau Annogaeth gyffredinol i *gariad* ymysg Dinion. Un yw daioni, a godidowgrwydd y Person; ar llall yw ei fwyneiddra neillduol ai gariad êf tû ag attom ni; y mae pôb ũn or rhain yn Ñuw mewn Grâdd bersfeithlawñ.

Godidowgrwydd Duw. 29. Yn gyntaf, mae êf yn ddaioni a godidowgrwydd annhersynol yntho ei hûn; hyn a ddysgwyd i chwi gredu am dano êf o'r blaen, ac nid all neb ammau hyn ar a ystyria r' ũn peth hwn, sef, nad oes dim da yn y bŷd, ond a dderbyniodd ei holl Ddaioni gan Dduw; y mae ei Ddaioni êf fal y môr; a daioni holl Greaduriad ond megis Afonydd bychain yn tarddu allan or Môr; yr awrhon chwi a ddybygech i fôd êf yn ddŷn gwallgofus, yr hwn na ddywedai nad yw'r Môr yn fwy na rhyw Afon fechan; a diammau nid yw è ddim llai ffolineb i dybied nad ydyw Daioni *Duw* yn rhagori cymmaint (ië anfeidrolŷchwanegi) ar holl ddaioni y Creaduriaid. Heb law hyn y

mae

mae *Daioni* y *Creadwriaid* yn amherffaith ac yn gymmyscedig a llawer ô ddrŵg; ond y mae ei Ddaioni ef yn *bûr* ag yn *anllygredig* heb ddim o'r fath Gymmyscedd. Y mae êf yn gyflawn *Sanctaidd*, ag nid ellir mo'i argyoeddi ef o'r ammhuredd lleiaf, ni ddichon êf ychwaith fod yn Awdwr o hynny i' ni; canys er ei fôd êf yn achos o bôb daioni i' ni, nid yw êf yn achos o' rûn o'n pechodau ni. Hyn y mae St, *Jaco* yn i draethu yn eglur, *Pen.* 1. 13. *Na ddyweded nêb pan demptier êf, ei demptio gan Dduw, canys ni ellir temptio Duw â drŵg, ac nid yw ef yn Temptio nêb.* Sul. I.

30. Ond yn ail, nid ydyw Duw yn ûnig fal hyn yn dda ynddo ei hûn, ond y mae ef hefyd yn dda rhyfeddol, sef *Tirion* a *Thurgarog* i' ni; yr ydym ni wedi ein gwneuthyd i fynu ô ddwy ran, *Enaid* a *Chorph*, ac i bôb ûn o'r rhai hyn yr eglurodd Duw, ei Anfeidrol Drugaredd a'i Diriondeb. Yn ûnig ystyriwch beth a ddewedwyd i chwi o'r blaen am yr Ail Cyfammod, ar Trugareddau a gynnygwyd yna, sêf *Crist* ei hûn a'i holl Ragorfreintiau, ac i fôd êf hefyd yn ei cynnyg hwynt mor *Galonnog* a *diragrith*, fal nad eill neb fethu ei mwynhau hwynt, ond trwy ei fai ei hûn, Canys y mae ef yn chwennychu i'ni yn dra-ddirfawr ei Cofleidio nhw a buw; fol y mae 'n amlwg trwy'r Llŵ cyhoedd hwnnw, *Ezek.* 33. 11. *Nid byw fi medd'r Arglwydd Dduw os ymhoffaf mewn Marwolaeth yr Annuwiol, onid ar drol o'r Annuwiol oddiwrth ei Ffordd ei hûn a byw*: ag yn ebrwydd y mae yn dra-dosturus, yn adrodd, *Dychwelwch, Dychwelwch, oddiwrth eich Ffyrdd drygionus, canys pa bam*

Ei Diriondeb ef i ni.

Dosp.I. *ham y byddwch feirw*? chwi ellwch ddarllen i'r unrhyw ddiben, *Ezek.* 18. Ystyriwch hyn meddaf'i, ac yna diammau yw, nad ellwch lai na dywedyd fôd gantho êf diriondeb mawr i'n heneidiau ni, Ie cofied pob dŷn yn ddifrifol ond yr amryw wahoddiadau a gafodd ef i edifeirwch a gwellhaád; weithiau oddiallan trwy 'r Gair, weithiau oddifewn trwy ymsisial cyfrinachol Ysbryd Duw yn ei galon*, y rhai ydoedd yn ûnig iw daer-ymbil, ai eiriol ef, i ochelyd Trueni tragwyddol, ac i ddilysu dedwyddwch annherfynol; * cofied medda'i hyn, ynghŷd a llaweroedd eraill o foddion â arferodd Duw tu ag atto êf, i'r ûnrhyw ddiben, ac è fydd iddo êf achos i gyfaddef Tiriondeb Duw, nid yn ûnig i *Eneidiau dynion* yn gyffredinol ond i'w *Enaid* ei hûn yn neillduol.

31. Ni bu Duw ychwaith yn ddiffygiol i'n Cyrph ni, ô blegid ei ddoniau ef yn unig ydyw 'r holl bethau da y maent hwy yn ei mwynhau; megys Iechyd, nerth, Lluniaeth, dillad, ar Cyffelyb bethau fydd yn perthyn iddynt hwy; yn gymmaint yn wir nad yw bossibl i ni fôd yn anghydnabyddus a'i Drugareddau ef tu ag attynt hwy, gan fod yr holl ddiddanwch *oddiallan* a'r esmwythdra 'r ydym ni beunydd yn ei mwynhau, yn Effeithiau parhaus, ac yn dystion o hynny; ac er bôd rhai yn mwynhau ychwaneg o'r pethau hyn nag eraill, etto nid oes nêb, nad yw yn mwynhau mewn rhyw fôdd neu i gilydd cymmaint ac a ddengys yn amlwg drugaredd a Thiriondeb Duw tu ag at ei *Gorph* ef.

32. Nid

Sul. I.

32. Nid yw gan hynny ond rhesymmol 'i ni Garu ef, 'r hwn sydd fal hyn ymhôb ystyriaeth yn hawddgar: ie, mae hon yn ddledswydd mor gyffredinol, fall pe gofynnech chwi i undŷn a ydyw ef yn Carû Duw, ai nad ydyw, fe dybygai eich bôd chwi yn gwnenthyd iddo gam mawr *Ammau* hynny; etto er hyn ei gŷd y mae yn rhŷ eglur, nad eos ond ychydig yn i wîr garu ef, a hyn a brofir yn eglur trwy ymholi ychydig,, beth yw *Effeithiau Cyffredinol Cariad*, yr hwn sydd genim ni tu-ag at ddynion fal ni ein huain, ac yno Profi a allwn i ddangos y Cyfryw *Ffrwythau* o'n *Cariad* i *Dduw*.

33. Y mae amrhyw o'r fâth hyn, ond i fòd yn fyrr ni henwai ond Dau. Y cyntaf iw, *Chwant bodloni*, yr ail iw *Chwant mwynhau*. Y rhai hyn yn wastadol iw *Ffrwythau Cariad*. Am y cyntaf, fe wyr pawb fôd y nêb a garo rhyw ŵr yn chwennych i wneuthyd ei hûn yn gymmeradwy iddo ef, gan wneuthur beth bynnag a dybygo fo ai bodlona êf; ac y mae 'r *Chwant* hwn yn fwy neu lai yn ôl mesur y *Cariad*; lle 'r ydym ni yn Carû yn ddifrifol, yr ydym yn dra-ddiwyd a gofalus i *fodloni*. Os oes gennym ni gan hynny y gwîr *Gariad* hwnnw i *Dduw* ac yr ydym ni yn Cymmeryd ararnon fôd, fe a ddwg allan y ffrwyth hwn, sef, ni fyddwn ofalus iw fodloni ef ymhob peth. O herwydd pa ham fal y barnwch chwi am y *Pren* wrth ei Ffrwythau, fellu y gallwch farnu am eich Cariad i Dduw trwy'r *Ffrwyth* hwn o honaw ef; yn wîr hon ydyw'r ffordd o bro-

Chwant Bodloni.

C fiad

Dosp.I. fiad a draddododd *Crist* ei hûn i' ni, *Joan* 14. 15. *O cherwch fi, cedwch fyngorchymynion*; ac y mae St. *Joan* yn dywedyd i' ni 1 Ep. 5. 3. *Mae hyn yw Cariad Duw, bôd i ni rodio yn ôl ei Orchymynion ef*; a lle bo'r Profiad hwn yn ûnig yn ddiffygiol amhossibl yw Tystiolaethu am ein Cariad i Dduw.

34. Ond rhaid ydyw ystyriad ymhellach na wasaenaetha i'r *Cariad* hwn ô *Dduw* fôd mewn grâdd isel wann; Oblegid heb law fôd y Cynhyrfiadau i hyn, sef, ei *Odidowgrwydd* ai *Diriondeb* ef yn y râdd uchaf, y mae'r unrhyw Orchymyn yr hwn sydd yn erchi i' ni garu Duw, yn erchu i' ni hefyd *ei garu ef an holl Galon*, *ac a'n holl nerth*, hynny yw, cymhelled ac ydyw bossibl i' ni, ac uwch-law pôb peth arall. Ac am hynny er mwyn i' ni gyflawni 'r *Gorchymyn* hwn, anghenrhaid yw i' ni ei *Garu* êf yn y râdd honno. Ac os gwnawn i felly, ni bydd gennym ni yn vnig ryw swriad gwael a Llêsg i'w fodloni êf, ond y cyfryw ac a sydd mwyaf diwyd a difrifol, sêf, y fâth ac a'n gesyd ni ar Ddled-swyddau tra-helbulus a gwerthfawr, gan ein gwneuthur ni yn ewyllysgar i ymadel a'n Llonyddwch, a'n Dâ, ac a'n Ceraint ein hunain, iê an Bywyd hefyd pan nad allwn ni ei cadw hwynt heb anufyddhau Duw.

35. Yn awr prawf di dy hûn wrth hyn; a oes gennyt i y Ffrwyth ymma ô *Gariad* i ddangos? wyt i'n gwneuthyd hynny yn wastadol dy ofail mwyaf, i gadw *Gorchymynion Duw*? i ufyddhau iddo ef ymhob peth? gan chwennychu yn ddifrisol i fodloni êf, i'th allu cymhelled

ac

ac i ymadel a'r peth sydd annwylaf genniti yn y byd hwn? Os felly di a elli yn wîr ddywedyd dy fod yn] *Caru Duw*. Ond or tu arall os wyti'n parhau yn syrbwyll mewn troseddiad llawer, ie, rhyw ûn o'i Orchymynion êf, na thwyll mo honot dy hûn, nid yw *Cariad Duw* yn presswylio ynot. Hyn a ymlygir itti os ystyri pa beth y mae 'r *Scrythur* yn ei ddywedyd am y Cyfryw; sef, *ei bôd nhw yn Elynion i Dduw trwy ei gweithredoedd drwg*. Col 1. 21. fod *y meddwl cnawdol* (a'r cyfryw yw pôb ûn ac a barhao yn syrbwyll mewn pechod) yn elyniaeth i Dduw. *Rhuf*. 8. 7. Fôb y nêb a becha yn fyrbwyll, yn sathru mâb Duw tan draed, ac yn difenwi ysbrŷd y Grâs. *Heb*, 10. 29. a llawer o'r, cyffelyb. Ag am hynny na chredwch eich bôd yn Carû Duw, tra'i bythoth yn myned ymlaen mewn rhyw An-ufydd-dod byrbwyll iddo êf, oddigaeth i chwi dybied fôd Gelyniaeth a sathriad, a difenwod yn ffrwythau ô *Gariad*.

Sul. I.

36. Yr ail *Ffrwyth* ô *Gariad* fal y dywedais i chwi yw *Chwant mwynhau*. Hyn a welwn'i yn wastadol yn ein cariad y naill i'r llall. Os bydd genny chwi gyfaill yr hun yr ydych yn ei garu yn ddirfawr, chwi chwennychwch ei gefeillach ef a bôd yn wastad yn ei gymdeithas ef; ac felly y bydd hefyd yn ein Cariad i Dduw, os bydd ef Cymmaint ag mor ddiragrith a hwn.

Chwant mwynhau.

37. Y mae dau fath o *Fwyniant* ô *Dduw*, ûn yn *Amherffaith* y yn bŷd hwn, y llall yn *Berffeithach*, ac yn gyflawnach, yn y bŷd y ddaw: yr hwn sydd yn y bŷd hwn yw ymgyfeillach (fal y dywedwn i) sydd genin'i a Duw yn ei Ordnihadau,

Dosp.I. hadau, trwy *Weddio*, *Myfyrio*, *Gwrando ei Air*, *Derbyn* y S. *Commun*, yr hyn oll a fwriedir i'r pwrpas hwn, sef i'n dwyn ni i Gymdeithas, a chynnefindra a Duw trwy *siarad* ag êf, a' i wrando yntef yn Siarad a ninnau.

38. Yn awr os ydym yn gwir garu Duw ni a brisiwn ac a chwennychwn yn ddirfawr y moddion hyn ô ymgyfeillachu ac ef gan fôd hyn yn gwbl oll a allwn i gaffael yn y bŷd hwn, fe a'n gwna ni gyda *Dafydd*, i brisio ûn Diwrnod ynghynteddau *Duw* yn fwy na Mîl. *Psal*, 84.10. fe fydd hyfryd gennyn'i gael 'r Odfau hyn i neshau atto êf cyn fynyched ac bo possibl, ac a fyddwn ofalus i'w harferu nhw yn ddiwyd i'r perwyl hwn, sef, i'n uno ni yn fwy ac êf; ie, ni a ddeuwn mor hoyw i'r cymmanfan ysbrydol hyn, ac a deuen'i at ein cydymmaith annwylaf. Ac os gwnawn'i yn wîr fal hyn, y mae 'n Arwydd da o'n *Cariad* ni.

39. Ond yr wyf yn ofni nad oes fawr a eill ddangos hyn, fal y mae yn amlwg trwy Annhuedd gyffredinol ac anewyllyscarwch dynion i ddyfod i'r rhai hyn; a'i hesg eulusdra, a' difraw-wch pan ddellon 'hw; ac a allwn ni dybied y cydnebydd Duw ni yn garwŷr iddo êf tra bo gennyn'i y fath anfoddgarwch iw gymdeithas êf, ac na ddeuwni ûn amser iddo ef ond pan i'n llufcir ni trwy *Gywilydd* neu Ofn dynion, neu ryw gyffelyb annogaeth Bydol? Yn ddiammau ni thybiech'wi fôd y Dyn hwnnw yn eich *Caru* chwi yr hwn a welwch 'wi 'n rhusio eich cymdeithas chwi. Ag am hynny na fyddwch mor anrhesymmol a dywedyd *ych bôd yn caru*

*caru Duw* a chwi etto yn ymgadw oddiwrtho êf Sul. I.
cymmhelled ac y galloch.

40. Ond heb law hyn y mae *Mwyniant* arall ô Dduw, yr hwn sydd yn fwy *Perffaith* a chyflawn, sef ein *Mwyniant Tragwyddol* ô honaw êf yn y nêf, lle y cawn ein cyssylltu yn ûn ag êf yn dragywydd, a i fwynhau êf nid weithian yn vnig tros amser byrr, fal yma, ond yn wastadol heb ddim Rhwystr na Gwahaniaeth. A os oes gennyn 'i y mesur hynny ô *Gariad* i Dduw, ac a ddyle fôd, nid allwn 'i lai na chwennych hyn yn ddirfawr, yn gymmint na thybiwn'i Lafur yn y bŷd yn ormod i'w fwynhau êf. Y saith mlynedd hynny y gwasanaethodd *Jacob* am *Racbel*, (Gen. 29. 2.) *oeddynt yn ei olwg ef ond ychydig ddyddiau, am fôd yn hôff ganddo efe y hi*: ac yn wîr os oes gennyn'i *Gariad* i Dduw ni thybiwn' i fôd gwasanaeth ein holl fywyd ni yn ormod prîs am y *mwyniant perffaith* hwn ô honaw êf, iê ni thybiwn 'i holl fwyniant y bŷd yn talu edrych arnynt trwy ei cystadlu a hwn.

41. Os gallwn'i ein siccrhau 'n hunain yn bod ni fal hyn yn hiraethu am fwyniant ô Dduw, ni allwn gredu ni ein bôd ni yn ei garu ef. Ond yr wyf yn ofni drachefn nad oes fawr a all fal hyn brofi ei *Cariad* trwy resymmau. Canys os edrychwn ar fucheddau Dynion, ni a gawn weled nad ydyw yn gyffrednol mor hôff ganthynt y *Mwyniant* hwn, ac y Cymeran' hw ddim poen iw bwrcasu ef. Ac nid hynny yn vnig, ond y mae yn gyffelybus fod Llawer y rhai pe caent ei dewys naill ai byw yma yn wastad i fwynhau Bydd a Phleser y Bŷd, neu fyned i'r nef i *fwynhau Duw*,

Dosp. I. a osodent yn hyttrach ei gorphwysfa, fal meibion *Gad* a *Ruben* y tu yma i'r *Jorddonen*, *Numb.* 32. heb fyth chwennych y nêfol *Ganaan*; mor gaeth y mae ei hanwydau nhw gwedi i gosod ar bethau oddi-isod, yr hyn sydd yn arwyddocau yn eglur na wnethon' hw Dduw yn *dryssor* iddynt, canys yna ar ôl rheol *Crist* ( *Mat.* 6. 21.) fe sydde ei calon gyda ag ef. Ie ymmhellach etto; y mae yn rhu eglur fôd Llawer o honon'i yn prisio cyn lleied o *fwynhau* Duw, a'n bôd ni yn Prisio mwy o'n Pechodau *gwaelaf* a *diystyraf*, nag o hono ef, ag yn dewys ei mwynhau hwynt, er ein bôd nini trwy hynny yn llwyr golli yn cyfran ynddo êf, yr hwn yw cyflwr pob dŷn ar sydd yn parhau yn fyrbwyll yn y pechodau hynny.

42. Ag yma'r wyf yn ofni y gellir gweled fôd llawer, yn ôl y Rheolau hyn ô *Brofiad*, y rhai sydd yn proffessu caru Duw, heb wneuthyd felly, mi a ddibennaf y cwbl a geiriau St. *Joan* 1 Epist. 3. 18. yr hyn a berthyn yn gymmwys i'r *Cariad* hwn o Dduw, er y dywedir yno am *Gariad* i'n *Brodyr*, *na charwn ar Air*, *nac ar Dafod yn ûnig*, *eithr mewn gweithred a Gwirionedd*.

Ofn: 43. Y Pedwerydd Dled-swydd i Dduw ydyw Ofn; yr hwn a ddychwel o ystyriaeth ei *Gyfiawnder* a'i *Allu* ef; oblegid fôd ei *Gyfiawnder* ef yn gyfryw, ac na ryddha ef y *Drygionus*, a'i *Allu* yn gyfryw ai fod ef yn abl i ddodi y Poenedigaethau trymmaf arnynt hwy; ac y mae *Crîst* i hûn yn dywedyd i' ni, fôd hyn yn achos cymmwys ô *Ofn* Mat. 10. 28. *Ofnwch yr hwn a ddichon ddestruwio yr Enaid gydà 'r Corph yn Uffern.*

Lanark xbr. 13 1702.
Lamina 7: May. 1704

*Uffern*. Y mae amryw fannau eraill o'r Scry- Sul. I.
thur yn gorchymyn y Ddled-swydd hon i' ni, megys *Psal*. 2. 11. *Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn Ofn*. *Psal*. 34. 9. *Ofnwch yr Arglwydd ei Sainct ef* Dihareb. 9. 10. *Dechreuad Doethineb yw Ofn yr Arglwydd*, ar cyffelyb; ac yn wîr nid ydyw 'r holl Fygythion ô lîd yn erbyn pechaduriaid, a gyfarfyddwn ni yn y Scrythur ddim ond i'r diben hwn, sef, i weithredu yr *Ofn* hwn yn ein calonnau ni.

44. Nid ydyw 'r *Ofn* hwn ddim amgen ond y fath Brisiad parchedig ô Dduw, ac an ceidw ni rhag ei anfoddhau ef: hyn a ddywed y gŵr doeth, *Ofn yr Arglwydd yw dychwelyd oddiwrth ddrwg*: yn gymmaint nad oes neb yn gŵir ofni Duw, nad yw tryw hynny yn ymgadw odiwrth Bechod; ac nid yn ydyw hyn ond cyffattebol i'r *Ofn* Gyffredinol sydd gennyn ni tu ag at Ddynion; ni a ochelwn gyffroi y nêb a dybion ni a eill wneuthyd niwed i' ni; ac am hynny oni byddwn ni mor Ofalus rhag *Anfoddhau* Duw, hyspus yw ein bod ni yn ofni Dynion yn fwy nag êf.

Folineb ofni dynion uwch-law Duw.

45. Fe ymddengys pa ynfydrwdd yw i' ni fal hyn ofni Dynion uwch-law Duw os cyffellybwn 'i beth a all dŷn i wneuthur i 'ni, a pha beth a all Duw. Yn gyntaf, sicc'r yw, nad ydyw yn gallu Dŷn (iê, na Chythreuliaid ychwaith) wneuthyd i ni ddim niwed, oddieithr i Dduw ganniattau iddin' hw gennad i hynny; fal os cadwn'i ef yn anwyl i' ni, ni allwn ddywedid gyda *Dafydd*, *yr Arglwydd sydd gyd â mi nid ofnaf beth a wnêl dŷn i' mi*. Canys er maint a fo ei censi-

Dosp.I. gen, fe ddichon êf i hattal nhw, a'i cadw nhw rhag gwneuthur niwed i' ni; iê, fe ddichon newid ei meddyliau nhw tu ag attom ni, megis y dywed y Gŵr-doeth *Dihar.* 16. 7. *Pan fydd ffyrdd gŵr yn rhyngu bôdd i'r Arglwydd, efe a bâr i'w Elynion fôd yn heddychol ag êf.* Y mae i' ni esampl nodidog o hyn yn *Jacob*, Gen. 32. yr hwn pan oedd ei frawd *Esau* yn dysod yn ei erbyn megis Gelyn, fe drodd Duw ei galon ef yn rhyfeddol, fal y cyfarfu ac ef a Charedigrwydd brawdol, fal y gellwch ddarllen yn y bennod nessaf.

46. Ond yn *ail*, bwriwch fod Dynion wedi i gadael i'w rhyddyd ei hunain, i wneuthyd itti yr holl Ddrwg â allant; och, nid yw ei gallu nhwy yn cyrredd ond ychydig ffordd; ond odid nhw allant ddwyn oddiarnat dy *Dda*, fe allai y gallant ddwyn ymmaith dy Rydddyd, neu dy Barch, neu ysgatfydd dy hoedl hefyd, ond di a wyddost mae dena'r eithaf. Ond fe all Duw wneuthyd hyn oll pan fynno, ac aneirif ychwaneg, y mae Dial Duw yn cyrredd tu hwnt i farwolaeth, sef, i drueni tragywyddol *Corph* ac *Enaid*, yn *Uffern*; twry gyffelybiaeth i ba ûn y mae marwolaeth yn beth mor anystyriol, na ddylen 'i edrych arno êf ac Arswyd yn y bŷd. *Nag ofnwch y rhai sydd yn Lladd y Corph, ac wedi hynny nid oes ganddynt ddim a wnelant mwy*, medd *Crist*, Luc. 12. 4. ac yn ebrwydd y mae yn canlyn, *Rhagddangosaf i chwi pwy a ofnwch, ofnwch ef, yr hwn, pan ddarffo iddo lâdd, sydd ac awdurdod gantho i fwrw i Uffern: yn ddiau meddaf i chwi ofnwch hwnnw.* Ymhâ eiriau y mae cyffelybiaeth wedi i gosod ar lawr rwng y drŵg mwyaf a allwn 'i ddioddef, gan Ddnyion, sef, colled

colled hoedl, a'r drygau tostaf hynny a eill Duw i roddi arnon 'i; ac fe welir mae rhain yw'r unic bethau ofnadwy, am hynny Duw yn unic sydd raid ei ofni.

47. Ond y mae etto ûn peth ymhellach iw ystyried yn hyn, sêf fôd yn bossibl i' ni drawseddu yn erbyn Dynion, ac hwythau heb wybod hynny: mi allaf ysgatfydd *ledratta da fynghymydog*, neu *odinebu ai Wraig* êf, a chadw hyn mor ddirgel fal na ammeu fe mono 'i, ac felly heb fyth y nwyn i gospedigaeth am hynny; ond nid allwn wneuthyd felly a Duw, êf a wyr bôb peth, iê meddyliau dirgelaf ein Calonnau ni; ac am hynny er i ni bechu yn dra-gyfrinachol, fe fydd siccr os nyni ni edifarhawn mewn amser, i'n cospi ni yn dragywyddol am hynny.

48. Ac yn awr nid ellwn lai na chyffessu fôd yn fwy diangol anfodloni dynion na Duw; etto y sowaeth y mae ein bucheddau ni yn gyfryw a phe bydden 'i yn credu yn union yn y gwrthwyneb, gan nad oes dim yn fwy cyffredin gyda ni, na rhuthro ar Lidiawgrwydd Duw er mwyn gochelyd rhyw enbydrwydd presennol yr ydyn yn i ofni oddiwrth ddynion. Ac fal hyn y mae, pan wnelon 'i ryw bechod, naill ai i gadw ein Da, neu ein henwau da, neu ein bywyd, canys eglur yw trwy hyn, ein bôd ni yn dewis yn hyttrach ddigio Duw, na Dŷn.

49. Ond fe wyr Duw mae nid trwy *Ofn dynion* yn unic yr ydym ni yn beiddio i anfodloni êf; oblegid yr ydyn 'i yn gwneuthur Llawer ô Bechodau, i ba rai nid oes gennin 'i mo'r hudoliaeth hon,

Dosp.I. hon, nag y rûn arall; megys *Llwon Cyffredinol*, i ba rai nid oes na phleser na budd i'n hannog ni. Iê llawer gwaith, nyni, y rhai ydym yn gymmaint yn ofni drygau a eill rhai eraill i gwneuthur i n'i, a'n Bôd ni yn barod iw' prynnu nhw' ymmaith ar Pechodau mwyaf, ydym o'n gwirfodd yn dwyn yr holl ddrygau hynny arnom ein hunain. Fal hyn y mae 'r Afradlon diofal yn i yspeilio ei hûn o'i *Ddda*; y Dŷn twyllodrus anonest, neu yr hwn sydd yn byw mewn pechod ffiaidd hynod, yn ei ddinoethu ei hûn o'i Enw da; y meddwyn a'r Glwth yn dwyn clefydau arnynt ei hunain i fyrrhau ei hoes. Ac a allwn ni dybied ein bôd ni yn gwir ofni Duw, pan yw'r Ofn hwn yn llywodraethu cyn lleied arnon'i, ac er bôd amryw *ddrygau* presennol y' rhai sydd yn dilyn pechod, i'n hattal ni, etto ni attelir y monon'i oddiwrthynt? Diammau ydyw fôd y cyfryw ddynion, cymmhelled oddiwrth ofni Duw, ac y gellid tybied yn hyttrach i bôd nhwy yn i ddibrisio ef, ac yn ymroi yw ddigio ef, beth bynnag a gostia iddin 'hwy yn y bŷd hwn, neu yn y bŷd a ddaw. Etto y mae mor hoff gennin i ein siommi ein hunain, a bôd y cyfryw rai, a rhain yn cymmeryd arnynt fôd ganthyn 'hwy yr ofn hwn: chwi a ellwch holi lluoedd o bechaduriaid hynod sarhâus, cyn cyfarfod ac ûn a gydnebyddo ei fod ef heb ofni Duw. Rhyfeddol yw fod bossibl i Ddynion fal hyn i siommi ei hunain; ond pa ûn bynag, diammau yw nad allwn ni dwyllo Duw, ni fyn ef moi *Watwor*, ac am hynny, oni ofnwn'i êf yr awrhon yn gymmaint ac i ochelyd pechod, ni a gawn ûn Dŷdd i ofni êf, pan fytho rhy hwyr i ochelyd cospedigaeth.

50. Y

50. Y Pummed Dlêd-ſwydd i Dduw ydyw **Ymddiried** ynddo ef, hynny yw, rhoddi ein goglud a'n hyder arno ef : ac hynny, yn *gyntaf*, ymmhob *peryglon* ; yn *ail* ymmhob *Diffygion*. Ni a ddylen hyderu arno êf yn ein holl beryglon, yn gyſtal *Yſprydol* a *Phreſennol*. O'r ſath gyntaf, yw, yr holl *Brofedigaethau* hynny, trwy ba rai yr ydym mewn perigl i gael ein llithio i bechod. Ac ó herwydd hyn yr addawodd ef i'ni *os nyni a wrthwynebwn Ddiafol*, *efe a gilia oddiwrthym ni*, *Jaco.* 4. 7. Am hynny ein Dlêd-ſwydd ni ydyw yn gyntaf *weddio* yn ddefoſionol am *Râs* Duw i'n nerthu ni i orchfygu y *brofedigaeth*, ac yn *ail* ymroi yn wrol i ymladd ac ef, heb gilio yn ôl neu gydſynnio ac êf yn y râdd iſſaf ; a thra' i gwnelom fal hyn, ni allwn yn *drahyderus* ymddiried yn Nuw, y bydd ei *Râs* ef yn ddigonol i'ni, ac naill ai y tynn êf ymmaith y *Brofedigaeth*, neu y *cadarnha* ef ni i'w gwrthwynebu hi.

Hyder.

Ymmhob Peryglon Yſprydol.

51. Yn *ail* ni a ddylen *Hyderu* arno êf ymmhob *Peryglon Preſennol* oddi allan, gan wybod i fod ef, yn abl i'n gwaredu ni, ac y gwna ef felly os gwêl ef fod hynny yn orau i 'ni, ac os ydym ni y cyfryw, i ba rai yr addawodd ef ei nodded, ſef y cyfryw ac ſydd yn ei wîr ofni êf. I'r diben hwn y mae amryw Addewidion yn y *Scrythur*, Pſ. 34. 7. *Angel yr Arglwydd a gaſtella o amgylch y rhai ai hofnant ef ac ai gwared hwynt.* felly Pſal. 34. 22. *Yr Arglwydd a wareda Eneidiau ei weiſion : a'r rhai oll a ymddiriedant ynddo ef nid anrheithir hwynt* : ac amryw o'r cyffelyb. Ac y mae i 'ni hefyd lawer o eſamplau megis am y tri llangc yn y Fwrn : Dan. 3 Am *Ddaniel* yn

A Phreſennol.

Dosp.I. *ffau 'r llewod, Dan. 6.* A llawer eraill ; y rhai oll a wasanaetha i ddyscu i'ni yr ûn wers hon, os nyni a barhawn i wneuthyd ein Dlêd-swydd yn gydwybodus, ni bydd raid i ysgogi am ddim a all ddychwel i'ni, canys y Duw yr hwn yr ydym ni yn ei wasanaethu sydd *abl* i'n gwared ni.

52. Am hynny ymmhob *Peryglon* ni a ddylem yn gyntaf *Weddio* yn ostwngedig am ei nodded ef, ac yna hyderu arno ef yn llawen, gan ein siccrhau ein hunain y rhydd ef i'ni y fâth Ddibendod ac a fo goreu er ein llês. Ond ywchlaw pob peth, rhaid i'ni fod yn siccr i osôd ein gogwyddiad yn gwbl arno êf, heb hyderu a'r y Creaduriaid am gymmorth, llai ô lawer y dylen' i geisio yn gwaredu ein hunain, trwy ryw foddion *anghyfreithlon*, megys trwy wneuthur rhyw bechod. Canys tebyg yw hynny i *Saul*, 1 Sam. 28. 7. *yn myned at y ddewines*, hynny yw, y Cythrel am gynnorthwy : y mae y cyfryw foddion gan mwyaf yn twyllo ein Gobaith ni yn y Cyfamser, ac yn lle ein gwaredu ni allan o'n cyfyngderau, yn ein hymdrobaeddu ni mewn rhai mwy ô lawer, a mwy anghysfurûs canys trwy hyn y mae arnon'i eisiau yr hyn beth yw'r unic gynhaliawdr, sef *ffafor* a chymmorth Duw, yr hyn yr ydym'ni yn ddiamau yn ei fforffettio, pan fon'i fal hyn yn ceisio ein hachub ein hunain trwy foddion pechadurus. Ond bwriwch allu ô honon'i trwy y cyfryw fodd, yn rhyddhau ein hunain oddiwrth *Berigl Presennol* ; etto yr ydyn ymmhell oddiwrth ennill Achles i ni ein hunain trwy hynny ; ni ddarfu i'ni yn unic ond symmud y perigl oddiwrth yr hyn beth ydoedd lai ystyriol, ai ddwyn ef

ar y rhan werthfawroccaf o honon'i, sef, ein Heneidiau; fal *Meddyg anghelfyddgar*, yr hwn er mwyn Symmud ymmaith ddolur ô ben *Bŷs*, ai teri ef i'r *galon*; yr ydym ni gan hynny yn camgymmeryd yn anfeidrol, trwy dybied ein ein bôd yn *gynnildda* wrth gadw ein Rhydd-dyd, neu'n da, neu'n Hoedl, trwy bechod; ni ddarfu i'ni moi cadw nhwy ond yn wylltffôl ei prynu nhw yn rhy ddrûd, gan dalu ein *Heneidiau* amdanynt: Ac y mae *Crist* yn dywedyd i 'ni beth a ennillwn' i wrth y fâth Farchnadoedd, *Mat.* 16. 26. *Pa llesâd i Ddŷn, er ennill yr holl fŷd, a cholli ei Enaid ei hûn?* Gadewch i ni gan hynny ymroi na phrisio ni cymmaint a'r ddim a feddon'i yn y bŷd hwn, ac y cadwon'i ef a'r brîs y pechod lleiaf, ond pa brŷd bynnag y dychwel i bethau ddyfod i'r cyfryw ddiben, ac y bŷdd rhaid i 'ni naill ai ymadel a pheth, neu ysgatfydd ein holl *Dda* bydol, iê ein hoedl, neu wneuthur Pechod, cofiwn mae dyma 'r odfa i'ni i gyflawni y Ddled-swydd fawr ragorol honno, o *Gymmeryd y Groes*, yr hyn beth nid allwn ûn amser ei wneuthur mor gyfleus, ac yn y cyflwr hwn; canys nid yw goddef y peth nid allwn' i, mewn ûn môdd ei ochelyd, o'r eithaf ddim ychwaneg ond *dwyn y Groes*, ond yr amser hynny yn unic y gellir dywedyd ein bôd ni yn i *chymmeryd hi i fynu*, pan ddewison 'i yn hyttrach ddioddef yr *Groes* na gwneuthur *Pechod*, pan fo genini fodd iw gochelyd hi trwy bechod; canys yr amser hynny ni osodir y moni'hi arnon'i trwy ryw anghenrhaid anocheladwy, ond yr ydyni o'n gwirfodd yn ei *dewis* hi; ac y mae hyn yn gymmeradwy jawn gan Dduw, iê fe erchir hyn mor gaeth ganddo êf,

Dosp.I. fal na'n cyfrifir ni ddim yn ddilynwyr i *Grist*, os diffygiwn ni o gyflawni hyn pan brofir ni, canys felly y mae êf yn dywedyd yn Eglur, *Mat.* 16. 24. *Os myn nêb ddyfod ar fy ôl i, gwaded ef ei hûn, a chymmered ei Groes, a dilyned fi*; a thrachefn *Mar.* 8. 34. Doethineb ysbrydol gan hynny a fydde i'ni weithian, trwy arferu ein gwadu ein hunain mewn pethau gwael, ein cymmhwyso ein hunain i'r Ddled-swydd fawr hon, pan i'n gelwir i hynny; ni a wyddom fôd y nêb sydd yn amcanu rhedeg *gyrfa* yn fynych yn ei arferu ei hûn i hynny ymlaen llaw, rhag iddo ddiffygio pan ddêl i redeg am y *fuddugoliaeth*; yn yr ûn môdd y dylen ninnau weithian ein byrrhau ein hunain o'n Pleser *cyfreithlon*, neu 'n Esmwythdra, neu fŷdd, er mwyn meistroli ein hunain cymmaint ac i allu ymadel a'r cwbl, pan fo ein hufydd-dod i Dduw yn gofyn hynny.

Ymhob eisiau Ysbrydol. 53. Ac fal y dylen i hyderu yn *Nuw* am *Ymwared* oddiwrth beryglon, felly y dylen i hefyd am *Gyflawniad* ein *heisiau*, yn gystal *Ysbrydol* a *Phresennol*: Ein *heisiau Ysbrydol* yw o'i *Râs* ef i'n cymmhwyso ni i'w wasanaethu êf, heb yr hwn nid allwn' i wneuthur dim; ac ni ddylem gwbl-hyderu arno ef am hyn, os nyni ni esgeuluswn y moddion, y rhai yw *Gweddi* ac *Arferu yn ddiwyd*, yr hyn a roddodd ef i 'ni yn barod: canys yna y mae gennym ni yr *Addewid* hwn am dano, *y rhydd efe yr Ysbryd glân i'r rhai a ofynno ganddo*, Luc. 11. 13. *Ac i'r nêb y byddo ganddo y rhoddir*, Mat. 25. 29. hynny yw, *fe rydd Duw ychwaneg i'r nêb a arfera yn dda 'r Grâs sydd ganddo yn barod.* Ni ddylen' i gan hynny mo'n dychrynnu ein hunain ac anhawsder y pethau

hynny

hynny y mae Duw yn ei ofyn ar ein dwylo ni, eithr cofio nad yw ef yn gorchymyn dim ond y peth a hyffordda ef nyni iw gyflawni, oni byddwn yn diffygiol i ni ein hunain. Am hynny gwnawn ni ein rhann yn ddiffuant, a siccrháwn ein hunain yn drahyderus ná phalla Duw o'i rann yntau. Sul. I.

54. Ond y mae arnon' hefyd eisiau *Presennol* a *Chorphorol*, am *gyflawniad* pa rai y dylem ni hefyd gwbl-hyderu arno êf. Ac nid oes arnon'i eisiau *Addewidion* am hyn hefyd, os bwriwn ein bôd ô nifer y cyfrywi ba rai y gwnaethpwyd hwynt, hynny yw, ffyddlawn Wasanaeth-wŷr Duw: *nid oes eisiau ar y rhai ai hofnant êf*, Psal. 34. *9. a'r* 10. wers, *Ysawl a geisiant yr Arglwydd, ni bydd arnynt eisiau dim Daioni.* A thrachefn, *Psal.* 33. 18, 19. *Wele lygad yr Arglwydd ar y rhai ai hofnant ef:* sef, ar y rhai a ymddiriedant yn ei drugaredd êf, er mwyn gwaredu ei heneidiau rhag angeu: ac i'w cadw yn fyw yn amser mewyn. Y mae i' ni siamplau hefyd o hyn ynghyflwr *Elisha*, a'r Weddw dlawd 1 *Bren.* 17. a llawer eraill. A phresennol.

Rhaid i' ni gan hynny edrych i fynu atto êf am ragddarpariad pôb pethau anghenrheidiol i' ni, yn ôl geiriau y *Psalmydd*, *Llygaid pawb a ddisgwyliant wrthit, ac yr ydwyt yn rhoddi eu bwyd iddynt yn ei bryd.* Ac fe ddysgodd ein Jachawdwr i' ni *weddio* am ein *bara beunyddiol*; wrth hyn yn ein dyscu ni y dyle 'ni fyw] mewn *goglud dibaid* ar Dduw am dano ef. Etto nid wyf yn meddwl wrth hyn, y dylem ni felly ei ddisgwyl ef gan *Dduw*, ac y gallwn' i ymroi ein hunain i *seguryd*, a disgwyl ein porthi trwy Ryfeddo-

dau

Dosp. I. dau. Nagé ddim ein diesceulus *ddiwydrwydd* a llafur yw'r moddion trwy ba rai y mae Duw yn*gyffredinol* yn rhoddi i' ni y pethau *angenrheidiol* i'r bywyd hwn; ac am hynny ni ddylen'i er dim esgeuluso hynny. *Os bydd nêb ni weithia na fwyttaed ychwaith* medd yr Apostl, 2 *Thes.* 3, 10. Ac ni allwn gredu y Traetha Duw yr unrhyw *farn*, ac y gedi fo ar y Dŷn diog eisiau *ymborth anghenrheidiol*. Ond pan dddarffo i ni arferu yn ffyddlon ein *hegni* ein hunain, ni a ddylem hefyd edrych i fynu at Dduw am ei fendith ef arno ef, heb ba ûn, nid all ef byth gynnyddu i'ni. Ac wedi hyn ni allwn yn drâ-chyssurus hyderu ar ei *Ragluniaeth* ef am y cyfryw fesur o'r pethau yma oddiallan ac a wêl ef gymmhwysaf i' ni.

56. Ond os ein cyflwr ni a fydd cyfryw ac nad allwn i lafurio, ac heb fôd gennin'i foddion eraill i ddwyn i mewn ein hymborth *anghenrheidiol*, etto ni ddylen y prŷd hynny hyderu yn *Nuw* yn gyssurus, gan gredu mae yr hwn sydd yn porthi y *Cigfrain* a ddarpara i' ni ein *hangenrheidiau* tra'i bon'i yn y bŷd hwn trwy ryw foddion neu i gilydd, er na wyddom ni pa fôdd; ac am hynny na phenydiwn mo honon ein hunain a meddyliau *trym-drist anobeithgar*, eithr gyda 'r Apostl, 1 *Pet.* 5. 7. *Bwriwch gwbl o'ch gofal arno êf canys y mae êf yn gofalu trosoch.*

57, Hyn y mae ein *Jachawdwr* yn ei annog yn ddifrifol. *Mat.* 6. lle y mae efo yn dangos yn helaeth ffolineb *Anhyder*. Y mae yn lle rhagorol am hynny mi ai gosodaf êf i lawr ô hŷd; Adnod

nod, 25, &c. *Am hynny meddaf i chwi na ofelwch am eich bywyd pa beth a fwytaoch, neu pa beth a yfoch: nac am eich Cyrph pa beth a wiscoch: onid yw 'r bywyd yn fwy nâ'r bwyd? a'r Corph yn fwy nâ 'r dillad?* Edrychwch *ar Adar y nefoedd, oblegit nid ydynt nac yn medi, nac yn cywain i'r ysguboriau, ac y mae eich Tâd nefol yn ei porthi hwynt onid ydych chwi yn rhagori arnynt hwy? A phwy o honoch gan ofalu a ddichon chwanegu ûn Cufydd at ei faint? A pha ham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad? dysewch pa wedd y mae Lili 'r maes yn tyfu: nid ydynt yn llafurio, nac yn nyddu, eithr yr wyf yn dywedyd i chwi na bu* Solomon *yn ei holl Ogoniant mor drwsiadus ac ûn o'r rhai hyn. Am hynny os dillada Duw Lysieun y maes, yr hwn sydd heddyw, ac y foru a fwrir, i'r ffwrn, oni ddillada ef chwi yn fwy ô lawer, O rai ô y chydig ffŷdd? Am hynny na ofelwch, gan ddywedy beth a fwytawn? neu beth a yfwn? neu â pha beth yr ymddilladwn? Canys am y pethau hyn oll yr ymofyn y Cenhedloedd, oblegit eich Tad nefol a wyr fôd arnôch eisiau yr holl bethau hyn. Eithr yn gyntaf ceisiwch Deyrnas Duw, a'i Gyfiawnder; a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn chwaneg. Na ofelwch gan hynny dros dranno-eth, canys trannoeth â ofala trosto ei hunan, digon i'r diwrnod ei ddryganniaeth ei hûn.* Mi allwn roddi a'r lawr amryw leoedd yn angwaneg i'r pwrpas hwn, ond y mae hyn mor gyflawn, ac aglur, fal na bydde ond afraid roddi angwaneg.

58. Cymmaint oll ac a draetha 'i yn angwaneg am y Ddled-swydd hon a fydd i'ch Coffau chwi o'r *Breintiau* o hono ef; megys yn *gyntaf*, trwy hyderu fal hyn yn Nuw yr ydych

Dosp.I. dau. Nagé ddim ein diesceulus *ddiwydrwydd* a llafur yw'r moddion trwy ba rai y mae Duw yn*gyffredinol* yn rhoddi i' ni y pethau *angenrheidiol* i'r bywyd hwn; ac am hynny ni ddylen'i er dim esgeuluso hynny. *Os bydd nêb ni weithia na fwyttaed ychwaith* medd yr Apostl, 2 *Thes*.3, 10. Ac ni allwn gredu y Traetha Duw yr unrhyw *farn*, ac y gedi fo ar y Dŷn diog eisiau *ymborth anghenrheidiol*. Ond pan dddarffo i ni arferu yn ffyddlon ein *hegni* ein hunain, ni a ddylem hefyd edrych i fynu at Dduw am ei fendith ef arno ef, heb ba ûn, nid all ef byth gynnyddu i'ni. Ac wedi hyn ni allwn yn drâ-chyssurus hyderu ar ei *Ragluniaeth* ef am y cyfryw fesur o'r pethau yma oddiallan ac a wêl ef gymmhwysaf i' ni.

56. Ond os ein cyflwr ni a fydd cyfryw ac nad allwn i lafurio, ac heb fôd gennin'i foddion eraill i ddwyn i mewn ein hymborth *anghenrheidiol*, etto ni ddylen y prŷd hynny hyderu yn *Nuw* yn gyssurus, gan gredu mae yr hwn fydd yn porthi y *Cigfrain* a ddarpara i' ni ein *hangenrheidiau* tra'i bon'i yn y bŷd hwn trwy ryw foddion neu i gilydd, er na wyddom ni pa fôdd; ac am hynny na phenydiwn mo honon ein hunain a meddyliau *trym-drist anobeithgar*, eithr gyda 'r Apostl, 1 *Pet*. 5. 7. *Bwriwch gwbl o' ch gofal arno êf canys y mae êf yn gofalu trosoch*.

57, Hyn y mae ein *Jachawdwr* yn ei annog yn ddifrifol. *Mat*. 6. lle y mae efo yn dangos yn helaeth ffolineb *Anhyder*. Y mae yn lle rhagorol am hynny mi ai gosodaf êf i lawr ô hŷd; Adnod

nod, 25, &c. *Am hynny meddaf i chwi na ofelwch* Sul. I.
*am eich bywyd pa beth a fwytaoch, neu pa beth a yfoch: nac am eich Cyrph pa beth a wiscoch: onid yw'r bywyd yn fwy nâ'r bwyd? a'r Corph yn fwy nâ'r dillad? Edrychwch ar Adar y nefoedd, oblegit nid ydynt nac yn medi, nac yn cywain i'r ysguboriau, ac y mae eich Tâd nefol yn ei porthi hwynt onid ydych chwi yn rhagori arnynt hwy? A phwy o honoch gan ofalu a ddichon chwanegu ûn Cufydd at ei faint? A pha ham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad? dysewch pa wedd y mae Lili 'r maes yn tyfu: nid ydynt yn llafurio, nac yn nyddu, eithr yr wyf yn dywedyd i chwi na bu* Solomon *yn ei holl Ogoniant mor drwsiadus ac ûn o'r rhai hyn. Am hynny os dillada Duw Lysieun y maes, yr hwn sydd heddyw, ac y foru a fwrir, i'r ffwrn, oni ddillada ef chwi yn fwy ô lawer, O rai ô y chydig ffŷdd? Am hynny na ofelwch, gan ddywedy beth a fwytawn? neu beth a yfwn? neu â pha beth yr ymddilladwn? Canys am y pethau hyn oll yr ymofyn y Cenhedloedd, oblegit eich Tad nefol a wyr fôd arnôch eisiau yr holl bethau hyn. Eithr yn gyntaf ceisiwch Deyrnas Duw, a'i Gyfiawnder, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn chwaneg. Na ofelwch gan hynny dros drannoeth, canys trannoeth â ofala trosto ei hunan, digon i'r diwrnod ei ddryganniaeth ei hûn.* Mi allwn roddi a'r lawr amryw leoedd yn angwaneg i'r pwrpas hwn, ond y mae hyn mor gyflawn, ac aglur, fal na byddc ond afraid roddi angwaneg.

58. Cymmaint oll ac a draetha 'i yn angwaneg am y Ddled-swydd hon a fydd i'ch Coffau chwi o'r *Breintiau* o hono ef; megys yn *gyntaf*, trwy hyderu fal hyn yn Nuw yr ydych

Dosp.I. yn ei rwymo ef i ofalu trosoch: Chwi wyddoch fôd Dynion yn gofalu yn ddiwyd na siommon' hw mor rhai sydd yn ymddiried, ac yn hyderu arnynt hwy; A diammau, fod Duw yn fwy o lawer felly. Ac yn *Ail* y mae llawer o Esmwythdra a Llonyddwch yn ymarfer y Ddlêd-swydd hon; y mae yn ein gwared ni oddiwrth y gofalon *Trimdrist anghymmedrol* hynny y rhai sddd yn rhwystro ein Meddyliau ni, yn torri ein Cwsg ni, iê ac yn yssu ein Calonnau ni. Yr wŷf yn meddwl na bydd rhaid dywedyd i'r nêb a'i teimlodd hwynt, ei bôd nhw yn anesmwyth. Ond mi debygwn gan hynny y dylei yr Anesmwythdra hwn ein gwneuthur ni yn chwannog i gofleidio y moddion i'w symmudo hwynt, felly y gwelwn yn fynych mewn pethau *anghyfreithlon*; fe a *dwylla* Dynion, a ledrattant, a *ddywedant gelwydd*, iê a wnânt y peth a fynnir er mwyn ei gwared ei hunain rhag *Ofn* Eisiau. Ond och! nid yw y rhain yn gyffredinol yn prifio i fôd ond rhwymedi twyllodrus; y maent yn dwyn melldith Duw arnon 'i, ac felly y maent yn fwy cyffelybus i'n traddodi ni i eisiau, nag i'n cadw ni rhag eisiau. Ond os ydych yn ewyllysio meddiginiaeth siccr ac anhwyllodrus rhag *gofalon*; Cymmerwch hwn o hyderu ar Dduw.

59. Canys pa achos i'r dŷn hwnnw ofni angen, yr hwn sydd gantho ûn i ofalu trosto, yr hwn sydd *gwgl-ddigonol*, ac ni âd fôd arno ef eisiau y peth a sydd cymmwys iddo êf? fe fydde yn gyssur mawr i ŵr *Tlawd* pe gwnai ŵr *goludog addewid ffyddlon* iddo êf, na adawei fo fyth eisiau arno ef, ac ni thybia y cyfryw ûn y

prŷd

prŷd hynny fôd yn gymwwys iddo fod mor dra-ofalus, ac o'r blaen, ac etto fe all addewid Dŷn ballu canys fe all naill ai myned yn *dlawd* ac heb allu, neu fe all brifio yn *dwyllodrus*, ac felly yn anfodlon i gywirio ei Air. Ond ni a wyddon nad all Daw fôd nag yn dlawd, nag yn ddichellgar. Pa ammarth atgas gan hynny yr ydyn yn ei wneuthur i Dduw pan na feiddiwn'i hyderu cymmaint a'r ei *Addewid* ef ac a wnaen'ni ar *Ddyn*? Ie pa ddrwg mawr yr ydyn yn ei wneuthur i' ni ein hunain trwy lwytho ein meddyliau a blinderau lawer, a gofalon trafferthus, pan allon'i mor ddiogel fwrw ein baich a'r Dduw? Mi a ddibennaf hyn a geiriau 'r Apostl. *Phil*; 4. 6. *Na ofelwch am ddim, eithr ym mhôb dim dangoser eich dymuniad* i *Dduw mewn Gweddi a deisyfiad gyd â diolch*. Sul. I.

# Y r PDDSP.

# Y DOSPARTHIAD. II.

Lazarts. X.br 20. 702
Llanina 16 July. 704

*Am Oſtyngeiddrwydd, Ymddaroſtyngiad i Ewyllys Duw trwy Ufydd-dod; Am Ammynedd ymmhôb mâth ar Benydiau, ac am Anrhydedd dlêdus i Dduw mewn amryw ffyrdd, yn ei Dŷ, ei Feddiannau, ei Ddydd, ei Air, a'i* **Sacramentau**, &c.

Goſtyngeiddrwydd.

1. Y Chweched Ddlêd-ſwydd i Dduw ydyw Goſtyngeiddrwydd, hynny yw y ſath deimlad o'n *gwaeledd* ein hunain a'i *Odidowgrwydd* ef, ac a weithreda ynom *Ymddaroſtyngiad* iſel a difriſol iddo êf: y mae'r Ymddaroſtyngiad hwn ô ddau ſâth; yn *gyntaf* i'w *Ewyllys* ef; yn *Ail* i'w Ddoethineb êf.

Ufydd-dod.

2. Y mai 'r *Ymddaroſtyngiad* i'w *ewyllys* êf hefyd o ddau fâth, ſef *Ymddaroſtyngiad* naill o Ufydd-dod, neu o Ammynedd; y cyntaf yw ein Parodrwydd ni i'n traddodi ein hunain i fynu i *wneuthur* ei *Ewyllys* ef, yn gymmaint ac i wneuthur yn *bryſſur*, ac yn *rhadlon*, pan ddadcuddio Duw i ni trwy ei Orchymyn beth ydyw ei *Ewyllys*. Y mae *goſtyngeiddrwydd* yn draangenrheidiol i'n cymmhwyſo ni i hyn; canys nid oes neb *anghymwyſach* i ufyddhau na'r *Dŷn balch*, ac ni a welwn, nad yw Dynion ûn amſer yn talu Ufydd-dod ond lle y cydnabyddant fôd

y gwr ſydd yn gorchymyn mewn rhyw fôdd uwch ei llaw hwynt. Ac felly y mae ymma, ni thalwn'i fyth mo'n hufydd-dod dlêdus oni ddygir ni ar ddeall fod Duw yn anfeidrol uwch ein llaw ni, a'n bôd ni yn *waeledd*, iê, yn ddim trwy ymgyſtadlu ac êf.

3. Am hynny os ydych yn amcanu ufyddhau yn ddifrifol (fal y bydd rhaid i chwi os mynnwch fôd yn gadwedig) perchennogwn ein Calonnau a theimlad o'r mawr ac anrhaethadwy *Ragoriaeth* ſydd rhwng Duw a nyni. Yſtyriwch êf megys y mae yn Dduw ô *anfeidrol fawredd* a gogoniant; a ninnau yn bryfed gwael o'r ddaiar; efe yn *anfeidrol* mewn *gallu*, yn dichon gwneuthur pôb peth, a ninnau heb allu gwneuthur *dim*; iê heb ddichon *gwneuthur un blewyn yn wyn*, fal y dywed ein Jachawdwr *Mat.* 5. 36. Efe o anrhaethadwy *burdeb* a *ſancteiddrwydd*, a ninnau yn *halogedig*, ac yn *llygredig*, yn ymdrobaeddu mewn pôb mâth o *Bechodau* ac *Aflendid*; efe yn *anghyfnewidiol* ac yn *ddianwadal*, a ninnau yn barod i fod yn gyfnewidiol, ac yn anwadal pob munudûn o'n bywyd. Efe yn *dragywyddol* ac yn *anfarwol*, a ninnau yn farwolion druain, yn gymmaint *a phan gymmero êf ymmaith ein hanadl ni*, y trengwn, ac y dychwelwn i'n llŵch, *Pſ.* 104. 29. Yſtyriwch medda'i hyn ôll, ac nid ellwch lai na chydnabod fôd *Rhagoriaeth* fawr rhwng Duw a Dŷn, ac am hynny chwi a ellwch lefain gyd â *Jôb* pan neſſaodd efe mor agos att Dduw, ac i ymgyffred ychydig o'i *Odidowgrwydd* ef, *Jôb* 42. 5. 6. *Yn awr fy llygad a'th welodd di, am hynny y bydd ffiaidd gennif fi fy hûn, ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch a lludw.*

Rhagoriaeth rhwng Duw a nyni.

Dos. 2.

4. Nid rhaid i'ni daflu ymmaith y Gostyngeiddrwydd hwn gwedi iddo ein dwyn ni i Ufydd-dod megis pe bai i'ni ddim mwy Desnydd o honaw êf; canys y mae etto Ddesnydd mawr ac angen ô honaw êf, i'n cadw ni rhâg meddyliau uchel o'n gweithrediad, yr hyn beth os Cynnhwyswn' i unwaith, fe anrheithia y rhai goreu o honynt hwy, ac a'i gwnant hwy yn gwbl anghymmeradwy gan Dduw; fal Sarrugrwydd y *Pharisæad*, yr hyn pan ymffrostiodd êf unwaith o honaw, fe gyfrifwyd y *Publican* yn well nag ef, *Luc.* 18. Y mae ein Gweithredoedd goreu ni mor llawn ô wendid ac o ammhuredd fal os Cystadlwn ni hwynt i'r purdeb hwnnw a'r Perffeithrwydd sydd yn Nuw, ni allwn ddywedyd gyda 'r *Prophwyd*, *megys dilledyn ô Frattiau yw ein holl gyfiawnder ni*, Es. 64. 6. Ac am hynny yr ûnrhyw ynfydrwydd yw i'ni ymfalchio o honynt hwy, ac a fydde i Gardottyn ymffrostio o'i ddillad, y rhai nid ydynt ond *Brattiau* gwael a *Charpiau*. Rhaid i'ni yn hyn ô beth gofio yn wastad Orchymyn ein Hiachawdr, *Luc.* 17. 10. *Gwedi i chwi wneuthur y cwbl ôll ar â orchymynwyd i chwi, dywedwch gweision anfuddiol ydym*; os gwedi i ni wneuthur y cwbl oll, nid allwn roddi dim gwell clôd i ni ein hunain, pa beth a ddylen' i ei gyfrif o honom ein hunain pan fôn ni cymmhelled oddiwrth wneuthur y rhan leiaf o'r peth a Orchymynwyd i ni? Nid oes reswm i'ni i dybied fôd y Titl hwnnw o *wâs drwg a diog*, *Mat.* 25. 26. yn rhy ddrwg i 'ni.

Ammynedd. 5. Yr *ail* fath ô *Ymddarostyngiad* i'w *Ewyllys* ef,

ef, yw trwy *Ammynedd* ; y mae hyn yn sefyll Sul. 2.
a'r ddioddef ei *Ewyllys* êf (megis y mae Ufydd-dod yn gwneuthur ei *Ewyllys* ef) ac nid yw ddim amgen ond ymroad diddig, ac *ewyllysgar* i ba gystuddiau bynnag a welo Duw yn dda ei rhoddi arnon 'i, fe wnâ y rhagddywededig *Ostyngeiddrwydd* hyn yn hawdd i'ni, canys pan fo ein Calonnau ni gwedi i cwbl perchennogi a'r fâth barchedig brisiad o Dduw fe fydd amhossibl i'ni ffrommi ni rwgnach am ba beth a wnelo êf. Ni a welwn Siampl o hyn yn hên *Eli* 1 *Sam.* 3. Yr hwn pan glywodd êf fygythion echryslon Duw yn ei erbyn, ac am ddinistr ei Deulu êf, colled yr *Offeiriadeth*, torriad ymmaith ei ddau *Fâb* yn yr ûn Dŷdd, y rhai oeddent i gid yn Gystuddiau tra-echryslon, etto yr ystyriaeth hon yn unic, sêf, *mae 'r Arglwydd ydoedd êf*, ai nerthodd êf i ymroi iddynt hwy yn distaw ac yn heddychol; gan ddywedyd, *gwnaed a fyddo dda yn ei Olwg*, Adnod 18. fal hyn y digwyddodd i DDafydd hefyd yn ei *orthrymder*, Ps. 39. 9. *Aethum yn fud, ac nid agorais fyngenau, canys ti a wnaethost hyn* : Gwneuthyd o Dduw hyn a ddistawodd bôb grwgnach a chythryfwl ynddo êf. Ac felly y dylem ninnau os chwennychwn wneuthur ein gostyngeiddrwydd i Dduw yn gymmeradwy.

6. Canys chwi a wyddoch nad oes gan y *bachgen* hwnnw Ostyngeiddrwydd dlêdus i'w *Rieni*, neu'r *Gwâs* i'w *Feistr*, y rhai pan ei ceryddir, a gyfodant yn erbyn ei *Rhieni*, neu ei Meistred. Ond fal hyn yr ydyn ni yn gwneuthur pan ffrommon 'i a grwgnach am y peth a esyd Duw arnon'i. Ond heb law diffyg *Gostyngeiddrwydd*

cyfiawnder

Dos. 2 wrth wneuthur felly, y mae hefyd ddiffyg yn hynny; canys y mae i Dduw hawl arnom'i, megys yr ydym ni yn Greaduriaid iddo ef, i wneuthur a ni y peth a fynno, ac am hynny yr Anghyfiawnder mwyaf ar a all fôd ydyw i ni wrth-sefyll ei *hawl* ef; ië ymhellach, yr *ynfydrwydd* mwyaf yn y bŷd yw hynny, canys nid yw Duw yn bwriadu ond Daioni i ni wrth ein cystuddio; nid yw ein Tâd nefol ni fal y rhai Daiarol, y rhai a geryddant ei Plant weithiau er mwyn bodloni ei gwyniau digllon yn ûnig, yn fwy nac i wneuthur Daioni iddynt hwy. Ond nid all ef syrthio i'r fâth wendid, *Nid oi fodd y blina êfe, nac y Cystuddia efe Ddynion*, Galar. 3. 33. Ein pechodau ni yw y rhai nid yn ûnig sydd yn rhoi iddo êf achos, ond yn ei gynnhyrfu a'i annog êf yn anghenrheidiol i'n ceryddu ni. Y mae gantho ef ymyscaroedd ac affeithiau y Tâd anwylaf tu ag attom ni: a phan welo Tâd ei blentyn yn *gyndyn* ac yn wrthryfelgar, ac yn rhedeg ymlaen mewn ffordd yr hon yn ddiammau a'i destrywia ef, pa weithred mwy ô Garedigrwydd Tâdol a all ef i wneuthyd na 'i gospi, a'i geryddu êf, i edrych a wellha ef trwy 'r moddion hynny? ië yn wîr, nid ellir dywedyd ei fod ef yn ei wîr garu êf, oni wna fo fellu. Ac fal hyn y mae Duw pan wêl ef nyni yn rhedeg ymlaen i bechod, rhaid iddo naill ai peidio a'n Carû ni, ac felly yn gadel ni i ni ein hunain, i gymmeryd ein ffordd ein hunain, (a hynny yw'r melldith trymmaf a all ddychwell i ddŷn) neu os parhá ef i'n *Caru* ni, rhaid iddo ein ceryddu, a'n cospi ni er mwyn ein dwyn ni i wellhaád. Am hynny pan drawo ef ni, nid y'w ond Rhesymmol i ni, nid yn ûnig ddioddef

ei

ei wialen êf yn *Ymmyneddgar*, ond ei chuſanu hi hefyd; hynny y'w, bôd yn dra-diolchgar iddo ef fod yn wiw gantho *ein hattal ni oddiwrth Drachwantau ein Calonnau ein hunain*, Pſal. 18. 12. a phaihau ei Ofal troſon'i trwy ddanfon *Cyſtuddiau*, megis cynniſer o gennadon i'n dwyn ni adref atto ei hûn. Chwi a welwch gan hynny pa *Ynfydrwydd* ydyw grwgnach am y cernodiau hynny y rhai ſydd a bwriad mor raſlawn; cyffelyb y'w hynny i ŵr *Clâf trofaus*, yr hwn a wradwydda ac ddirmyga y *Pyſygwr* yr hwn ſydd yn dyfod i'w iachau êf, ac os gadewir y cyfryw ûn i farw o'i Gleſyd, fe wyr pawb i bwy y mae iddo ddiolch. Sul. 2.

7. Ond nid yn unig Ymmynedd, iê na Diolchgarwch hefyd tan *Gyſtuddiau*, yw'r cwbl o'nd Dledſwydd ni yn y peth hyn; rhaid bod gennym ni hefyd *Ffrwythlondeb*, neu ni thâl y cwbl ddim; hynny yw, dygiad allan y peth hynny, er mwyn gweithredu pa ûn yr anſonwyd Cyſtuddiau arnom ni; viz. *Gwellhâd Buchedd*. Am hynny tra-angenrheidiol yw i ni yn amſer *Gorthrymder*, ymholi a ni ein hunain, a phrofi ein Calonnau a'n Bucheddau, a dyfal chwilio pa *Bechodau* ſydd ynon'i yn annog Duw i'n ceryddu ni fal hyn; a pha bethau bynnag a wyddom ni ein bôd yn euog o honynt, ei Cyfaddef yn oſtyngedig o flaen Duw, ac yn ebrwydd ymwrthod a hwynt y rhan arall o'n hamſer.

**Ffrwythlondeb, tan Gyſtuddiau.**

8. Y cwbl a draetha 'i yn angwaneg am y Ddled-ſwydd hon, yw, ein bôd ni yn rhwym i fod yn *ddioddefgar* yn gyſtal yn y naill ſâth o

**Ym hôb mâth ô Gyſtuddiau.**

*Gyſtuddiau*

Dosſ. 2. *Gyſtuddiau* a 'r llall, pa ûn bynnag ai oddiwrth law *Duw* yn ûnig, megys *Clefyd*, neu'r cyffelyb, ymha rai nid oes i ûn Creadur (yn y bŷd) ddim a wnêl; neu yntau y cyfryw ymha rai y mae *Dynion* yn Offerau o'n cyſtuddiad ni, Canys diammau yw, pan wnêl rhyw Ddŷn niwed i ni, na allei êf wneuthur hynny heb gennad Duw, ac fe all Duw yn gyſtal ei gwneuthur hwynt yn Offerau i'n cyſtuddio ni, ac y gall êf wneuthur hynny, a'i Law ei hûn, ac nid yw ond rhîth *Ammynedd* pan ſon yn cymmeryd arnon ymddaroſtwng i Dduw, heb allu cŷd-ddwyn dim a Dynion; ni welwn, na wnaeth *Jôb* ddywiol (yr hwn a oſodir allan megys yn *bortreiad* ô wîr *Ammynedd*) ddim o'r ſâth wahaniaeth yn ei Gyſtuddiau: fe a gymmerodd y golled o'i *Anifeiliaid*, y rhai a ddygaſei y *Caldeaid* a'r *Sabéaid* oddiarno, a'r ſâth Addſwynder, ac y cymmerodd ef y golled trwy *Dân o'r Nêf*. Pan ddioddeſon 'i gan hynny ryw beth gan ddynion, rhaid i ni gydnabod, er anghyfiawned a fo'r peth o'i plegid hwynt, ei fôd ef yn dychwelyd yn gyfiawn oddiwrth Dduw; ac am hynny yn lle edrych arnynt a llygad *cynddaredd*, a *dial* (ſal y mae arſer gyffredinol y Bŷd) ni a ddylem godi ein golwg at Dduw, a chydnabod ei Gyfiawnder êf yn y *Cyſtudd*, gan ddeiſyf yn daer ſaddeuant am y pechodau hynny y rhai a annogaſant Dduw i'w ddanſon êf, a'i ddwyn êf yn Amyneddgar ac yn ddiolchgar, hyd pan welo Ef yn gymmwys i dynnu ef ymmaith, gan ddywedyd yn waſtad gyda *Jôb*, *Bendigedig fytho enw'r Arglwydd*.

9. Ond

9. Ond mi a ddywedais fod *Ufydd-dod* yn cynnwys Ymddarostyngiad, nid yn unig iw *Ewyllys* ef, ond hefyd i'w *Ddoethineb*; hynny yw, cydnabod i fôd ef yn ddoeth annherfynol, ac am hynny fod beth bynnag a wnêl ef yn orau ac yn gymmhwysaf i'w wneuthur. Ac hyn sydd raid i ni gyffessu yn gystal pan fo ef yn *Gorchymyn* a phan fytho yn *Ordeinio* ac yn trefnu pethau: yn gyntaf, pa beth bynnag a *Orchymynno* ef i ni ei gredu, neu i wneuthur, rhaid i ni ymddarostwng i'w *Ddoethineb* ef ymhôb ûn o'r ddau, *Credu* pa beth bynnag a baro ef i ni *gredu*, er i'r peth ymddangos yn ammhossibl i'n Dealltwriaeth gwan ni, a gwneuthur pa beth bynnag a Orchymynno êf i'ni wneuthur, er mor wrthwynebus a fo'r peth i'n *Rheswn* cnawdol ni; ac ym hob ûn feddwl, fod ei Orchymynion ef yn gymmhwysaf ac yn *Rhesummol* pa fodd bynnag yr ymddangosant i ni.

Sul, 2.

Ymddarostyngiad i Ddoethineb Duw.

Yn ei Orchymynion.

10. Yn *ail*, rhaid ini ymddarostwng i'w *Ddoethineb* ef, pan fo yn *Ordeinio* ac yn trefnu pethau; sef, cydnabod ei fôd êf yn Trefnu pob peth, yn dra-ddoeth, a hynny nid yn unic mewn pethau a berthyn i'r Bŷd yn gyffredinol; ond hefyd mewn pethau á berthyn i bôb ûn o honon'i yn neillduol; yn gymmaint ac y dylen ein sicrhau ein hunain ymha gyflwr bynnag y gosodo êf nyni, fôd hynny yn oreu i'ni, gan ei fod ef yn *dewis* hynny i ni yr hwn nid all gamgymmeryd. Am hynny ni ddyle fôd gennim ni ddymuniad hiraethol am ddim yn y bŷd yma, ond gadael i Dduw ein cymmhwyso ni yn y fâth fywiolaeth a chyflwrac a welo ef yn oreu i'ni, a gorphowys ar hynny yn fodlon ac yn ddirwgnach;

Yn ei Ordinháad.

Dos. 2 gnach; iê, er dychwel iddo a bôd y cyflwr mwyaf gwrthwynebus i'ni. Ac nid all hyn na ymddengys yn rhesymmol i'r sawl a so gantho *Ostyngeiddrwydd*; canys gwedi i addyscu êf, fôd Duw yn *Ddoeth anfeidrol*, ac yntau yn *llawn Folineb*, ni ammau êf, nad gwell iddo êf o lawer fod Duw yn *dewis* trosto, nag ef ei hûn: megys y mae yn well i'r plentyn fôd ei Rieni yn dewis trosto ef, na'i adael i'r *dewis* fôl a wnai êf ei hun: Canys mor fynnych y torrei, y llosgei, ac y gwnai ef ddrŵg iddo ei hûn, os cai ef bôb peth a ddymunai êf? Ar cyfryw blant ydym ni; yr ydym lawer gwaith yn dymuno y pethau hynny yn daer y rhai an dinistriei ni pe caen ni hwynt. Fal hyn yr ydym ni lawer gwaith yn chwennych, *Golud*, *Anrhydedd*, *a Phrydferthwch*, a'r cyffelyb, y rhai pe caen ni hwynt a ddychwelei i fôd yn *Rhwydau* i ni trwy ein harwain ni i bechu. Ac hyn y mae Duw, yr hwn a wyr bôb peth, yn ei weled, er nad ydyn ni, ac am hynny y mae ef yn neccau rhoddi i'ni lawer gwaith y pethau hynny, y rhai y mae ef yn ei weled fôd yn cyfeirio i'n dinistr ni; ai anfeidrol Drugaredd ef y'w, i fod êf yn gwneuthur hynny. Am hynny pan ddeuwn ni ûn amser yn fyrr o'n hamcanion, a'n dymuniadau, gadewch i'ni ymddarostwng i hynny, nid yn unic yn *Amyneddgar*, ond yn *llawen* hefyd, gan wybod yn ddiammau fôd hynny yn oreu i'ni, yr hyn a ddewiswyd gan anghyfeiliornus Ddoethineb ein Tâd nefol.

Llanina Aug^t. 20. 704.

Anrhydedd. 11. Y seithfed Ddlêd-swydd tuag at Dduw ydyw Anrhydedd, hynny yw, talu iddo ef y fâth *Barch* ac *Urddunlant* ac a berthynei i'r fâth anfeidrol

anfeidrol *Fawrhydi.* Ac y mae hyn naill ai *oddifewn neu oddiallan.* Y Barch *oddifewn* y'w ei *Ddyrchafu* ef yn ein *Colonnau* trwy fod genim y debygoliaeth a'r bri uchaf a godidoccaf ô hono êf. Y Barch *oddiallan* yw amlygu ac egluro y barch oddifewn; a hynny ydyw 'r peth cyntaf *cyffredinol* yn holl gwrs ein bywiolaeth ni, sef byw fal Dynion y rhai sydd ganddynt yn ddifrifol y fath *debygoliaeth* uchel o Dduw. Chwi a wyddoch os bydd gennim ni ryw barch neillduol ond i *Ddŷn*, ni syddwn ofalus na wnelon i yrûn weithred front a ffiaidd yn ei ŵydd êf; felly y rûn ffunyd, os yden yn gwir anrhydeddu Duw ni a ffieidien wneuthar ûn weithred *anheilwng* yn ei wydd êf. Ond y mae Duw yn gweled pôb peth, ac am hynny os gwnawn ni 'r peth, nid oes fodd na wnelon'i yn ei wŷdd ef; Os ydym ni gan hynny fal hyn yn ei *Berchu* ef, gwiliwn wneuthur un amser weithred *bechadurus.* Sul. 2.

12. Ond heb law 'r modd *gyffredinol* hono *Anrhydeddu* Duw, y mae llawer o *Weithredodd neillduol* trwy ba rai y gallwn ni Anrhydeddu ef; ac y mae 'r Gwethredoedd hynny yn amryw, yn ôl yr amryw bethau neillduol ynghylch ba rai yr ymarferir hwynt. Canys rhaid i' ni dalu ei anrhydedd ef nid yn unic yn *Ddigyfrwng* iddo ei *Hûn*; ond hefyd trwy roddi prisiad ddyladwy a'r holl bethau hynny y rhai sydd nessaf yn perthyn iddo ef. Y rhai hynny yn enwedigol ydynt *Chwech*; yn gyntaf, ei Dŷ; yn ail, ei *Deyrnged*, neu *ei ardreth* (fal y dywedwn ni); yn drydydd *ei Ddŷdd*; yn bedwerydd, *ei Air*; yn bummed, ei *Sacramentau*; ac yn chweched, *ei Enw*; ac y mae pob ûn or' rhain i gael

Amryw foddion ô anrhydeddu Duw.

rhyw

Dos. 2. rhyw saint o barch ac Anrhydedd oddiwrthym ni.

yn eu Dy. 13. Yn *Gyntaf*, Eu Dŷ, sef yr *Eglwys*, yr hwn yw'r lle neillduol i'w wasanaeth cyffreddinol ef: rhaid i' ni edrych ar y lle hwn megys *sanctaidd*, nid o hono ei hûn, ond o herwydd yr arfer i ba ûn yr ordeinwyd ef, ac am hynny gwiliwn halogi y lle hwn, trwy ei arferu ef i'n hachosion ein hunain. Hyn a ddysgodd *Crist* i'ni *Mat.* 21.12. trwy daflu allan y pryn-wŷr a'r gwerth-wyr o'r Deml, gan ddywedyd *Tŷ gweddi y gelwir fy nhŷ i: a* thrachefn, *Joan* 2. 16. *Na wnewch dŷ fy nhâd i yn dŷ Marchnad.* Trwy hyn y mae yn eglur y dylid arferu Eglwysau yn unic i wasanaethu Duw, ac ni a ddylen wneuthur hynny yn unic ddiben a'n dyfodiad yno, ac nid dyfod i'r *Eglwys* megis i *Farchnad*, i wneuthur *Bargenion*, neu i ddibennu negesau a'n Cymydogion, fel y mae yn rhy gyffredinol ymysg llaweroedd. Ond pan eli di i mewn i'r Eglwys, cofia mai *Tŷ Dduw* ydyw, lle y mae ef mewn modd enwedigol yn bresennol, am hynny cymmer Gyngor y gŵr Doeth, *Eccles.*4 17. *A Gwilia a'r dy droed pan fyddech yn myned i Dŷ Dduw*; hynny yw, ymddwyn dy hûn ar fath ofn ac Anrhydedd duwiol ac a berthynei i'r fath *Fawrhydi* yr wyt o'i flaen. Cofia mai dy neges di yno ydyw ymddidan a Duw, ac am hynny bwrw allan bôb meddyliau Cnawdol; iê o'th negesau mwyaf Cyfreithlon, y rhai er i bôd yn gymmeradwy amser arall, ydynt ymma yn bechadurus. Pa euogrwydd echryslon gan hynny, ydyw croesawy y fath feddyliau, ac ydynt ynddyn ei hunain yn ddrŵg? y mae yn ail i Fradwriaeth *Judas* yr

hwn

hwn a gymmerodd arno yn wîr ddyfod i gusanu ei *Feister* ond a ddygadd gyda ac êf *fyddyn* ô *Filwŷr* i'w ddal ef. *Math.* 26. yr ydyn i trwy ddyfod i'r Eglwys yn gwneuthur rhîth o wasanaethu ac addoli Duw, ond yr ydyni yn dwyn gyda ni *Fydyn* o'i Elynion ef i'w gyffroi ac i'w ddirmygu ef. Y mae hyn yn ddrygioni a all fyned tu hwynt i halogrwydd y dyddiau hynny, pan oeddid yn troi *Eglwysydd* yn *Bresebau*; canys meddyliau pechadurus halogedig ydynt y fâth waethaf o anifeiliaid. Sul. 2.

14. Yr ail peth i ba ûn y perthyn parch yw ei *Deyrnged* ai *olud*; hynny y'w, pa beth bynnag ydyw ei feddiannau neillduol ef, gwedi ei neillduo er cynhaliaeth y rhai fydd yn trîn ei *wasanaeth* êf; y rhai hynny oedd yr *Offeiriadau*, yn amser y *Gyfraith*, ac yr awrhon, *Gwenidogion* yr Efengyl: Ac y mae yn rhaid i 'ni edrych a'r fath barch ar y peth a neillduwyd fal hyn, fal na ryfygoni i droi ef i ûn diben arall. O'r fath hyn rhai yw *Offrwmgŵir-fodd* Dynion, y rhai ryw amser a roesant o'i gŵir fodd beth o'i *Golud*, neu ei *Tiroedd* i'r diben *sanctaidd* hwn; a pha beth bynnag a roddir fal hyn, nid all na 'r gŵr ai rhoddodd, nag ûn arall ei ddwyn ef ymmaith, heb fôd yn evog o'r Pechod mawr hwnnw ô *Gyssegr-yspeiliad*.

Eu Feddiannau.

15. Ond heb lawy rhai hyn, yr oedd ymysg yr *Iddewon* ac holl *Genhedlaethau Cristianogol* oestadol ryw beth gwedi ei drefnu wrth *Gyfraith* y Genedl er ymborth a chynhaliaeth y rhai oedd yn trîn *Gwasanaeth* Dduw. Ac nid ydyw ond cyfiawn ac angenhreidiol i hynny fôd, sef, i'r rhai trwy

gymmeryd

Dos. 2 gymmeryd arnynt yr *Alwedigaeth* honno, nid oes ganddynt fodd i ennill ei bywiolath yn y bŷd, gael ei Cynhaliaeth gan y rheini, tros Eneidiau barai y maent yn Olyg-wŷr gwiliadwrus. Ac am hynny iniawn a chymmys yw 'r peth y mae 'r *Apostl* yn ei adrodd yn ypeth hyn; 1 *Cor.* 9. 11. *Os hauasom i chwi bethau Ysprydol, a'i mawr yw, os nyni a fedwn eich pethau Cnawdol* ? Hynny yw, y mae yn anresymmol iaun i Ddynion wrwgnach rhoddi ychydig bethau Cnawdol sef, angenrheidiau oddiallan yn yb ŷd hwn, i'r rheini gan ba rai y maent yn derbyn pethau ysbrydol, sef, Athrawiaeth a chymmorth tu ag at gaffaeliad bywyd tragywyddol.

Cyssegr-yspeiliad.

16. Pa beth bynnag gan hynny a drefnwyd i'r diben hwn, nid ellir mewn modd yn y bŷd i arferu i ddiben arall. Ac am hynny nid ellir cadw yn ôl y *Degymmau* y rhai a ordeinwyd yma trwy *Gyfraith* er cynhaliaeth y *Gwenidogion*, ac ni ddylid mewn modd yn y bŷd arferu twyll, neu ddichellion er gochelyd i Talu hwynt yn hollawl, neu mewn rhan. Canys yn gyntaf, diammau yw, fod hynny yn lledrad cyn siccred ac y gall ûn Yspeil arall fod. O herwydd fod gan wenidogion hawl i'w*Degymmau*, trwy 'r un Gyfraith, ac sydd yn rhoddi i ûn gŵr arall hawl i'w Feddiannau. Ond yn *ail* y mae yn amgenach mâth ar' Ledrad, nag yr ydym ni yn i feddwl, y mae yn *yspeilio Duw*, i gynnal *gwasanaeth* pa ûn y rhoddwyd hwynt; a rhag i chwi ammau a yw hyn yn wîr, nid yw ddim ychwaneg nag a ddywed

mal. 3. 8.

Duw ei hûn, *Mal.* 3. 8. A yspeilia Dyn Dduw? Etto chwi am hyspeiliasoch i: a chwi a ddywedwch, ym-mha beth i'th yspeiliasom ? yn y Degwm

Degwm ac Offrwn. Yma y mae 'n eglur fod yn nhebygoliaeth Duw y sneb a attalio *Ddegymmau* yn ei yspeilio êf. Ac os mynnwch chwi a ellwch weled yn y *wers* nessaf sudd y Lledrad hwn, *Melldigedic ydych drwy felldith.* Melldith yw 'r cwbl a ennillir drwy hynny; ac y mae profiad gyffredinol yn dangos i ni fôd dial *Duw* mewn môdd hynodol yn cynllwyn y pechod hwn o *Gyssegr-ypseiliad*, pa ûn bynnag a fo ai attal *Degymmau*, ynteu gorddiwes ar y meddiannau hynny a gyssegrwyd o wir fodd i Dduw. Y mae Dynion wrth hyn yn meddwl ei cyfoethogi ei hunain, ond y rhan fynychaf y mae yn dychwelyd yn y gwrthwyneb; y mae 'r elw anghyfreithlon hwn yn prifio i fôd yn gyfryw *Rŵd* yn ei golud hwynt, ac sydd lawer gwaith yn difa 'r peth yr oedd ganddynt hawl gyfiawn iddo. Ac am hynny os ydych yn caru (nid wyf yn dywedyd eich Eneidiau, ond) eich golud, cedwch hwynt rhag y pericl hwnnw, trwy ofal mawr nag ymdrafferthoch ûn amser a'r y pethau a niellduwyd i Dduw.

Sul. 2.

Lan' Jan. 3. 702

Amserau i'w Wasanaeth êf.

17. Y Trydydd peth trwy ba ûn y dylen ddangos ein Hanrhydedd i Dduw, ydyw, *sancteiddio 'r Amserau a neillduwyd i'w wasanaeth ef.* Efe yr hwn aroddes i'ni ein holl amser, sydd yn ceisio genim ni dalu yn ôl, ryw ran o hono ef, megys *Teyrnged* neu *Ardreth* o'r cwbl. Fal hyn yr oedd yr *Iddewon* yn cadw y *saithfed dŷdd* yn Sanctaidd; a ninnau y *Cristianogion* y *Dŷdd-Sûl* neu *Ddydd* yr *Arglwydd*; yr oedd yr *Iddewon* ar ei *sabbath* yn cofio yn bennaf *Greadwriaeth* y Bŷd; a ninnau ar ein *sabbothau Adgyfodiad Crist*, trwy ba ûn y gwnaethpwyd i ni ffordd i'r Bŷd gwell hwnnw, yr

Dos. 2. hwn yr ydymni yn ei ddisgwyl ar ôl hyn. Y mae 'n rhaid arferu y dŷdd hwn fal hyn gwedi ei neillduo, yngwasanaeth ac addoliant Duw; ac hynny yn *gyntaf*, yn fwy cyffredinol a chyhoeddus yn y *Gynnulleidfa*, o ba fan ni ddyle neb fôd y absennol heb achos cyfiawn: ac yn *ail*, yn neillduol Gartref, trwy gyd-weddio, ac Athrawiaethu ein *Teuluodd*; neu etto yn fwy neillduol yn Nlêd-swyddau 'r stafell, megys *Gweddiau perthynasol, darllen, myfyrio*, ar Cyffelyb.

Ac er mwyn cael o honom gyfleusdra i hyn, fe Orchymynnir *Gorphwysfa* oddiwrth bôb negesau bydol; na thybied neb gan hynny mae Gorphwysfa yn unic oddiwrth Lafur yw'r cwbl a ofynnir gantho ar Ddyd yr *Arglwydd*, ond y mae yn rhaid iddo dreulio 'r amser hwn a ynnill ef oddiar weithredoedd i alwedigaeth, ar Ddledswyddau ysbrydol. Canys ni ordeinwyd Dŷdd yr Arglwydd i roddi i ni esgus o seguryd, ond yn unic i gyfnewid ein Trafferthion Bydol, am Nefol; llai o lawer yr ordeniwyd ef, fal trwy ein Gorphwysfa oddiwrth ein Galwedigaethau, y gallom gael mwy o amser cyfleus i dreulio ar ein pechodau, megys y mae gormod yn gwnenthur, y rhai ydynt on fanylach, ar y Dŷdd hwnnw yn y Tafarn-dŷ, nag yn yr Eglwys. Ond fe orchymynnwyd y Gorphwysfa hwn, yn *gyntaf* i Arwyddoccau i ni y Gorphysfa hwnnw oddiwrth *bechod* i ba ûn yr ydym yn rhwym holl Ddyddiau ein Bywyd: ac yn *ail* i'n tynnu ni ymmaith oddiwrth ein Trafferthion bydol, ac i roddi i'ni amser i ymorol yn ddiwyd ar ôl Gwasaneth Duw ac angen ein Heneidiau.

18. Ac yn wir os iawn ystyriwn'i, y mae yn

dra

dra Buddiol i ni fod y fath amser gosodedig fal hyn, yn dychwelyd bob wythnos i'r perwyl hwn. Yr ydyni yn rhy Dueddus a Thrafferthus ar y Bŷd hwn, ac oni bae fôd ryw fâth amser gwedi ei Ordeinio at ein Dwylaw ni, onid iawn a fyddei i ni appwyntio ûn *Amser* : Ac yma ymmhâ gyflwr rheibus y byddei raid ein Heneidiau ni fôd, i'r rhai ni chyfrennir ûn prŷd ? Pan y mae 'r awrhon gynhaliaeth oestadol gwedi ei arlwyio iddynt bôb *Sûl*, os nyni ai harferwn ef yn gydwybodus, fe all ddwyn i ni y fath Luniaeth ysprydol ac a'n meithrina ni i fywyd Tragwyddol. Ni ddylen'i edrych ar y Dŷdd hwn, trwy wrwgnach, fal y Bôbl hynny yn *Amos*. 8. 5. Y rhai a ddywedent, *pa bryd yr aiff y Sabboth heibio, fel yr agorom y Gwenith ?* fal pe byddei 'r Amser hwnnw, yr hwn a gymmerir oddiwrth ein Trafferthion bydol, gwedi i gwbl-golli. Ond rhaid i ni ystyried hwn megys y Dydd lawenaf, a mwyaf buddiol o'r holl wythnos, ymmha ûn y mae 'n rhaid i ni dryssori tros yr holl wythnos, iê tros ein holl fywyd. Sul, 2.

19. Ond heb law *Dydd yr Arglwydd*, y mae Amseroedd eraill, y rhai a neillduodd 'r Eglwys, er mwyn Coffáu rhyw *hynodol Drygareddau Duw*, megys *Genedigaeth*, ac *Adgyfodiad Crist*, *Descynniad yr Ysbryd glân*, ar cyffelyb; a'r Dyddiau hyn sydd raid i'ni i cadw yn y modd yr Ordeiniodd yr Eglwys, sef, mewn *Cyhoeddus Addoliant* Duw, ac mewn neillduol Ddiolchgarwch am y fendith briodol, yr ydyn'i y Prŷd hynny yn ei goffau. Ac yn wir pwy bynnag sydd yn gwbl-ddiolchgar am yr anfeidrol Drugareddau hynny, nid alla nhw dybied yn ormod neillduo Gwyliau 'r Eglwys.

Dos. 2. ychydig Ddyddiau yn y Flwyddin i'r diben hwnnw.

Ond rhaid i ni Edrych, am fod ein *Gwyliau* ni yn Ysprydol, trwy arferu 'r Dydd yn Sanctaidd, ac nid i wneuthur ef yn achlysur o *Anghymmedrolder* ac *Afreoledigaeth*, fal llaweroedd, y rhai nid ydynt yn Ystyried dim arall, ond y Bwydydd da, a'r llawenydd yn nyddiau *Natalic*, a dyddiau da eraill. Canys dirmygu yn lle Anrhydeddu Crîst, yw hynny, yr hwn a ddaeth i ddwyn *Purdeb*, a Sobrwydd 'ir Bŷd; ac am hynny ni fynn ef goffau ei ddyfodiad ef mewn modd arall.

20. Y mae dyddiau eraill gwedi i neillduo, er mwyn coffau 'r Apostolion a Seintiau eraill, ar ba rai y dylen ddiolch i Dduw am ei Rasau iddynt hwy; yn bendifaddef, am iddo ei gwneuthur hwynt yn *Offerau* o *Ddadcuddio* i'ni *Jesu Grist*, a ffordd Iechydwriaeth, fal y gwyddoch ddarfod i'r *Apostlion* yn ei Pregethiad trwy'r holl fŷd. Ac ymmhellach ni a ddylen fysyrio ar y *Siamplau* hynny o fuchedd sanctaidd a roesant hwy i 'ni, a'n cyffroi ein hunain i ddilyn ei hôl hwynt. A phwy bynnag a ymrydd yn ddifrifol i wneuthur y *Defnyddiau* hynny, o'r amryw *Ddyddiau gwylion* hyn, fe fydd iddo ef achos, oblegid y llês a dderbyn ef oddiwrthynt, i ddiolch, ac nid i feio'r Eglwys am ei hordeinio hwynt.

21. Y mae math arall ar *Ddyddiau* sydd raid ei cadw, sef *Dyddiau Ympryd* a *Gostyngeiddrwydd*; a pha Amserau bynnag o'r cyffelyb a Orchymynno 'r *Eglwys*, pa ûn bynnag ai yn oestadol ar Amserau gosodedig o'r *Flwyddyn* neu ar ryw

Achosion

Achosion neilldûol a disymmwth, rhaid i ni ei Cadw hwynt yn y modd y mae hi yn ein cyfarwyddo ni; hynny yw, nid yn unig trwy ymgadw oddiwrth *fwyd*, yr hyn yw Cospedigaeth y Corph yn unig; ond trwy orthrymmu ein Heneidiau, gan ei gostwng hwynt yn isel o flaen Duw, a chyffessu o ddyfnder ein Calonnau, a galaru yn chwerwdost am ein pechodau ein hunain, ac eraill, a thrwy weddio yn ddifrifol am *Ollyngdod* a *Maddeuant Duw*, ac iddo ef ymchwelyd y *Barnedigaethau* hynny, y rhai yr oedd y *Pechodau* hynny yn galw am danynt: ond yn bendifaddeu, ar iddo ef ein *hymchwelyd ni oddiwrth ein Pechodau gan ddattod Clymmau Anwiredd*, fal y dywed *Esay*, *Pen.* 56. 6. ac i ni ymarferu ein hunain yngweithredoedd Trugaredd, sef, *Torri ein bara i'r newynog*, ar Cyffelyb, fal y mae yno yn canlyn. Sul. 2.

Lanima 9.19.704

22. Yn bedwerydd, rhaid i 'ni ddangos ein bôd yn *Anrhydeddu* Duw, trwy berchi ei *Air* ef; ac hyn sydd angenrheidiol i ni i wneuthur, os ydyn i yn i wîr Anrhydeddu ef, oblegid nid oes dim yn Arwydd mwy hynod o'n bod ni yn diystyri rhyw ûn, na phan fôni yn dirmygu ei *Eiriau* ef; megys yn y gwrthwyneb, os ydyni yn perchu gŵr, y mae pob peth a ddywed ef, yn Gû ac yn werthfawr gennim ni. Y mae 'r *Gair Duw* ymma yn gynnhwysedig yn hynodol yn y *Scrythur-lân*, sef yr *Hên Destament* ar *Newydd*, lle y mae ef yn Traethu wrthymni i ddangos i'ni ei *Ewyllus* ef, a'n Dled-swydd ninnau. Am hynny rhaid yw bod gennim ni barch rhyfeddol i'r *Gair* hwn, edrych arno, megys y Rheol wrth ba ûn y mae yn rhaid ini gyfeirio holl *weithredoedd* ein

Gair Duw.

Y Scrythr-lân.

Dos. 2. *bywyd*; ac i'r diben hwn rhaid i'ni roi ein meddyliau arno, a'i ddarllen ef cyn fynyched ac y gallom, a gwiliad gadael (os bydd bossibl) ûn Dydd fyned heibio heb *ddarllen*, neu glywed Darllen rhyw ran o hono êf.

23. Ond nid hyn yw'r cwbl: rhaid i ni nid yn unig ddarllen ond dal Sulw ar y peth a ddarllenion i, ac ystyried yn ddiwyd pa *Ddled-swyddau* y mae Duw yn Gorchymyn i ni ei cwplhau, pa *Gamweddau* y mai Duw yn gwahardd i'ni ei gwneuthur, a'r *Gwobrau* a *addewir* i'r naill, a'r Cospedigaethau a fygythir i'r llall. Gwedi i ni fal hyn ddal Sulw, rhaid i ni hefyd i Coffau hwynt; iê a'i plannu hwynt yn ein Coffadwriaeth ni trwy Feddwl a myfyrio yn fynych arnynt fal y byddont barod i ni i wneuthur Defnydd o honynt. Y Defnydd hwn y'w cyfarwyddiad ein bywyd ni, am hynny pa brŷd bynnag i'n Temptir ni, i wneuthur rhyw ddrwg ni a ddylen yr amser hynny goffhau y peth a waherddir gan Dduw yn y *Scrythur* a'r holl Ddialeddau hynny y rhai a fygythir yn ei erbyn ef; ac felly y rûn ffunyd dygwn ar Gôf, pan gynnygir i'ni ryw odfa i wneuthur Daioni, mae hyn yw'r Ddledswydd a gynghorwyd i mi yn y cyfryw *Scrythr*, a'r fath *Wobrau* gogoneddus a addawwyd i'r rhai a wnánt hynny; a thrwy 'r Ystyriaethau hyn sefydlwn ein hunain i wrthwynebu 'r drŵg, ac i wneuthur y Dá.

24. Ond heb law 'r Gair *Scrifennedig* fe ryngodd bodd i Dduw ddarparu ymmhellach er mwyn ein hathrawiaeth ni trwy ei *Wenidogion*, swŷdd pa rai yw dyscu i ni *Ewyllus* Duw nid trwy

ddywedyd

ddywedyd dim yngwrthwyneb i'r *Gair Scrifennedig* (canys pa beth bynnag sydd felly nid all sod yn *Ewyllus* Duw) ond trwy ei eglurhau ef, a'i wneuthur yn fwy hynaws i'n Deallwriaeth ni, ac yna ei gyssylltu ef at ein hamryw achosion, a'n cynghori, a'n cynnhyrfu ni i wneuthur ar ei ôl ef; yr hyn oll yw'r diben at ba ûn y mae ei hathrawiaeth hwynt trwy *Egwyddorion*, a'i *Pregethau* yn cyfeirio. Ac y mae yn rhaid hefyd bôd gennim ni barch ddyladwy i hyn, nid yn unig wrth fôd yn bresennol yn yr *Eglwys*, ac naill ai cysgu yr amser allan, neu feddwl am ryw beth arall, ond dal Sulw yn ddifrifol ar y peth a ddywedir i'ni. Ac yn ddiammau pe iawn-ystyrien'i cymmaint y mae hyn yn perthyn i'ni, ni a gyfadden fôd hyn yn dra-rhesymmol i 'ni i wneuthur. Sul. 2.

25. Canys yn gyntaf, Athrawiaeth trwy *Egwyddorion* ydyw gosodiad y Sylfaen a'r ba ûn y bydd rhaid adailadu holl ymarferiad *Gristianogawl*; canys trwy hyn yr addyscir i ni ein Dlêdswydd, heb yr hyn bêth nid allwn mo'i gyflawni ef. Ac er ei fôd yn wir, mae'r *Scrythyrau* yw'r *Ffynnhonnau* ô ba rai y mae Gwybodaeth ein Dled-swydd ni yn Tarddu, etto y mae llawer y rhai ni fedran mo'i Dynnu ef allan o'r *Ffynnon* yma ei hunain, ac am hynny y mae 'n *angenrheidiol* i ddwyn êf attynt gan eraill. Egwyddorion.

26. Fe edrychir yn gyffredinol, ar yr Athrawiaeth hon drwy *Egwyddorion*, yn beth a berthyn yn unic i Jeuenctid, ac felly yn wîr y dylei, nid o herwydd na raid i'r rhai hynaf ddyscu, os ydynt yn anhynod, ond o herwydd y dylei

Dos. 2. bôb plant fôd felly, gweddi i haddyscu, fal na bo bossibl iddynt fôd mewn anwybodaeth pan ddelont i oedran. Ac y mae 'n Ddled-swydd ar bôb Rhieni, y rhai a chwennych i rhyddhau ei hunain oddiwrth euogrwydd *Dinistr* Tragwyddol ei plant, fôd yn ofalus i weled i hathrawiaethu hwynt ymmhôb pethau angenrheidiol; ac i'r diben hwn fe fydd cymmwys ddysgu iddynt mewn prŷd rhyw *Catechism* byr, a'r cymhwysaf ydyw *Catechism* yr Eglwys; etto nid digon iddynt hwy Orphwys ar ei hegni a'i Diwydrwydd ei hunain; ond deisyf hefyd gymmorth yr *Offeiriad*, modd y gallo ef ei hadeiladu hwynt ymmhellach mewn gwybodaeth *Gristionogawl*.

27. Ond y mae yn rhy hynod y sowaeth fôd *Rhieni* yn Esgeuluso yn ddirfawr y *Ddled-swydd* hon, a dena'r achos fôd y fâth Luoedd o wŷr ac o wragedd, y rhai a elwir yn *Gristiannogion*, heb wybod dim am *Grîst*, nac am bethau a berthyn i'w Heneidiau, mwy na *Phaganiaid* anghredadwy.

28. Ond er mai bai ei Rhieni nhw ydoedd na addyscwyd hwynt yn ei Hieuenctid, etto ei Bai nhw ei hunain ydyw yr awrhon, os parhaánt i fyw mewn Anwybodaeth; a diammau yw os ânt hwy ymlaen felly yn fyrbwyll, mae ei Dinistr ai Trueni hwynt ei hunain a fydd hynny. Am hynny pwy bynnag ydyw, o ba oedran, neu râdd bynnag y bytho, yr hwn sydd yn y Cyflwr anwybodol hwn, neu yn y cyfryw fesur o hono ef, a bôd arno eisiau rhyw ran o wybodaeth angenrheidiol i Jechydwriaeth, megys y mae yn Caru ei Enaid, ac fal y chwennych ef ddiangc oddiwrth

oddiwrth ddamnedigaeth dragywyddol, chwilied yn fanwl am *Athrawiaeth* ac na rwystred Ofn Cywilydd neb rhag hynny: Canys yn *gyntaf*, diammau yw fôd cywilydd yn perthyn yn unig i'r rhai sydd yn parháu yn ewyllysiawn mewn Anwybodaeth, i ba un y mae deisyfiad Dŷsc, ac Athrawiaeth yn dra-gwrthwynebol; ac am hynny y mae cyn belled, oddiwrth fôd yn *gywilyddus*, a bôd hynny yn beth *tra-chanmoladwy*, ac a gyfrifir felly gan wŷr da synnhwyrol. Ond yn *ail* bwriwch fôd rhyw Bobl ffôl ac halogedig yn gwatwor hynny, etto nid ydyw ond rheswm cyd-ddwyn a hynny yn llawen, yn hytrach nac anturio a'r y cywilydd a'r gwradwydd wyneb, yr hwn a ddychwel yn Nŷdd y Farn, i'r rhai a aethant ymlaen, er mwyn gochelyd rhyw rîth o Gywilydd ymysg Dynion, mewn Anwybodaeth fyrbwyll o'i Dlêdswydd, yr hwn Anwybodaeth a fŷdd cymmhelled oddiwrth esgusodi ûn o'i pechodau hwynt, ai fod ef yn ychwanegu ûn pechod mawr echryslon at y lleill, sef dirmygu y Gwybodaeth hwn a gynnygwyd iddynt. Chwi a ellwch ddarllen mor echryslon yw'r Pechod hwn yn *Dihaerebion* 1. 29. lle y dywedir mae *casbau gwybodaeth* yw'r peth sydd yn dwyn i lawr y dialeddau creulon hynny a draethwyd o'r blaen, sef ymwrthod o Dduw a Dynion, a chwerthyn am ben ei Dialeddau hwynt yn lle ei cynnorthwyo: yr hyn yw'r cyflwr mwyaf gresynol yn y bŷd, a diammau yw ei bôd hwynt yn drafyrbwyll y rhai o'i gwirfodd a redant iddo.

Sul. 2. Pregethiad.

29. Am y rhai sydd ganddynt y *Sylfaen* hon yn barod wedi ei gosod trwy wybodaeth ô *Seilian*

Dos. 2. *liau Crefydd* Gristianogawl y mae iddynt gynnorthwy ymmhellach drwy *Bregethiad.* Ac nid yw hynny ddim mwy nac sydd angenrheidiol, canys fe ŵyr Duw fod y rhai sydd yn deall ei *Dled-swydd* yn dda jawn, yn rhy barod iw hangofio ef; iê, weithiau trwy *angerdd* ei *Trachwantau* i Droseddu pan syddont yn coffhau ei *Dled-swydd*, ac am hynny y mae yn dra-ddefnyddiol i ni gael ein mynych rybuddio, er mwyn rhagflaenu ein gwan-goffadwriaeth ni, a chael hefyd ein mynych gynghori a'n cynnorthwyo, er mwyn gwrthladd y Trachwantau hynny y rhai sydd yn ein denu ni i'r Troseddiadau hynny. Ac i'r diben hwn, y mae *Pregethiad* yn tueddu, sef, yn *gyntaf*, i'n rhybuddio ni i fôd yn wiliadwrus yn erbyn ein Gelyn Ysprydol, ac yna i ddarparu i ni Arfau i rysel: hynny yw y moddion, a'r Cymmorth goreu i'n dichoni ni i guro ymmaith *Brofedigaethau*, ac i gael y fuddugoliaeth arnynt hwy.

drwy

Pregethiad.

30. O ran mae hyn gan hynny yw diben *Pregethiad*, na thybiwn ddarfod i 'ni wneuthur ein Dlêd-swydd gwedi ini wrando *Pregeth*, er mor Ystyriol, ond rhaid i ni osod i synu yr *Athrawiaethau*, a'r *Cyngorion* a dderbynion i yno yn ein Calonnau, a'i harferu hwynt yn ffyddlon i'r diben hwnnw o orchfygu ein Pechodau. Am hynny pa brŷd bynnag y deui di at *Byssygwr* dy *Enaid*, gwna y rûn môdd ac y gwnei di a *Physsygwr* dy *Gorph*; nid wyti yn dyfod atto ef i yn unig i wrando arno ef yn chwedleua, ac yn dywedyd it i pa beth a'th iachâ di, ond hefyd i wneuthur yn ol ei hyfforddiad ef; ac onid wyti yn gwneuthur felly ymma, yr wyt mor

ofer

ofer ac ûn ſydd yn diſgwyl cael ei jachau trwy gyſarwyddiad ei *Byſygwr*, er na wnelo ef Ddeſnydd yn y byd ô hono. Iê yr wyt yn oferach ac yn ynſyttach ô lawer, canys hynny er na wna ef ddim Daioni, ni wna ef ddim drŵg ychwaith, oblegid ni bŷdd neb ddim gwaeth er dyſcu Meddyginiaeth, er na wnelo ef ddeſnydd yn y bŷd o hono: Ond nid felly y mae *Meddyginiaethau Yſprydol*, oddigaeth i ni wneuthur deſnydd o honynt er ein llês, nhw a wnân i'ni lawer o ddrŵg, nhw a gyfodant i fynu yn y Farn i'n herbyn, ac a wnânt ein Damnedigaeth ni yn drymmach o lawer. Gwilia gan hynny rhag dwyn y perigl hwn arnat dy hûn; ond gwedi iti wrando *Pregeth* Yſtyria wrthit dy hûn pa *gyſarwyddiad* oedd ynthi hi, i'th hyfforddi di i ymadel a'r drŵg, ac i wneuthur y da. Ac os oedd dim a berthynei yn enwedigol i'th anwylbechod dy hûn, goſod hynny yn dwys at dy Galon, a bydded hynny yn Sail dy Fyfyrdod di yr holl wythnos ſydd yn canlyn; os bydd dy Amſer yn brin, meddwl ar hynny tra ſyddoch di ar dy waith; ac nid meddwl yn unig ond ymoſod dy hûn, i'w arferu ef, a gwneuthur y peth a gynghorwyd iti, er mwyn gorchfygu pechodau, a bywhau grâs ynot. Yn *ddiweddaf*, bydd ofalus i wneuthyr deſnydd o gyngor yr *Apoſtol*, *Jac.* 1. 22. *Byddwch wneuthur-wyr y gair ac nid gwrandawyr yn unic gan eich Twyllo eich hunain.* Nid yw gobeithio Cael Daioni oddiwrth y *Gair*, heb ei wneuthur ef ddim amgen ond ein twyllo ein hunain: Na feſurwn gan hynny mo'n Dywioldeb wrth nifer y *Pregethau* a glowon i, fal pe byddei gwrandawiad llawer yn arwydd hynod o wîr *Griſtion*, ond trwy amlder y ffrwythau

Dosb. 2. thau a ddygomni trwyddynt, heb ba ûn ni wnâ'n holl wrandawiad ni ond chwagegu nifer y *gwialennodau*, y rhai a berthyn ir nêb *a wyr ewyllus ei Arglwydd, ac ni wna yn ôl hynny, Luc.* 12. 47. Ond nid rhaid talu yr anrhydedd yma yr hwn sydd ddledus i *Bregethiad* i bob ûn ar a elwir felly yn yr amseroedd ymma, oblegid fe wŷr *Duw* fyned o *gau-Brophwydi lawer* allan i'r bŷd fal y dywed yr Apostol, 1 *Jo.* 4. 1. Ac os bu erioed, yr awrhon y mae ei gyngor êf yn angenrheidiol, i *brofi yr Ysbrydion ai o Dduw y maent.* Ond y peth a ddywedais i o'r blaen, yr wyfi 'n meddwl am *Bregethiad* y rhai hynny, y rhai, yn *gyntaf*, a gafodd *alwedigaeth gyfreithlon* i'w swydd; ac yn *ail* y rhai sydd yn ffurfio ei hathrawiaeth yn ôl y wîr Reol, sef, *Gair* scrifennedig Duw. Ond os dywed ûn, nad ydyw ef abl i farnu pa ûn a wná 'r Athrawiaeth ai bôd yn ôl y *Gair* ai nad yw; profed o'r lleiaf wrth y Rheolau gyffredinol o *Ddlêd-swyddau*, y rhai y mae ef yn ei ddeall; ac os gwêl ef fod yr athrawiaeth yn rhoddi Rhydd-dyd i Ddynion i wneuthur y pethau hynny, y rhai a gydnebyddir gan bawb ei bôd yn *bechodau*, megys *Gwrthryfelgarwch*, *anghyfiawnder*, *anrrhugarogrwydd*, *aflendyd*, neu'r cyffelyb, gwybydded fod hynny yn gwbl gwrthwynebus i *Dduw*, ac i'w *Air*; ac yna *dirmygiad*, ac nid Anrhydedd a berthyn iddo.

Jan 7th Jan.y 10.792

Sacramentau.

31. Yn *bummed*, rhaid i ni hyspysu ein *hanrydedd* i Dduw trwy berchi ei *Sacramentau* ef: y rhai hynny ydyw dau; *Bedydd*, a *swpper yr Arglwydd.* A hyn sydd raid i 'ni wneuthur, yn gyntaf, trwy ein Tebygoliaeth uchel o honynt; yn

yn *ail*, trwy ei harferu hwynt yn barchedig; rhaid i ni yn gyntaf ei prisio nhw yn uchel, gan edrych arnynt megis yr *Offrau* y rhai sydd yn ein dwyn ni at y Bendithion mwyaf ar a allwn ei derbyn. Y *Cyntaf* o honynt, *Beddydd*, sydd yn ein harwain ni i gyfammod a Duw, yn ein gwneuthur ni yn aelodau o *Grist* ac yn rhoddi i' ni hawl yn yr holl *Ragorfreintiau* gwerthfawr hynny y rhai sydd yn tarddu, o hono ef, megis *maddeuaint pechodau Grasau Sanctaidd*, a'r *Nef* hefyd tan ammod i 'ni gwplhau ein rhannau ni o'r cyfammod. Ac am *swpper yy Arglwydd*, nid arwydd yn unic, a *choffadwriatih* ydyw ef o *Grist* ai *farwolaeth*; ond y mae 'n rhrddi *Crist*, ac holl *ffrwytbau* ei *Farwolaetb* ef i bôb derbynniwr teilwng; ac am hynny y mae prisiad a bri trâ-ûchel yn ddyledûs, i bôb ûn o honynt. Sul. 2.

32. Ac nid felly y unig, ond yn *ail* mae yn rhaid i ni ddangos ein parch yn ei harferu hwynt, a hynny yn *gyntaf cyn*, yn *ail*, *wrth*, yn *drydyddd*, *gwedi* ei *derbyn* hwynt. Gwir yw gan ein bod ni yn derbyn y Sacrament o Fedydd yn Blant, na ddisgwylir ini wnenthur dim êin *hunain* na *chyn*, nâg, *wrth* ei dderbyn ef, y pethau hynny a ofynnwyd gan y rhai o Fedyddwyd yn *oedrannûs*. Ond am danom ni digon yw i roddi i ni yr hawl hwn i Fedydd, ein *geni* o fewn *cyffiniau* r' *Eglwys*, hynny yw, o rieni *Cristianogawl*; a'r cwbl a ddisgwylir y pryd hynny yw, y peth a allun ei cyflawni trwy eraill, trwy ei bod nhw yn addo trustoni y cwplhawn ni ein Rhannau ni, or *Cyfammod* pan ddelom i oedran. Ond gan nad allwni y pryd hynny wneuthur dim, yr ydyn yn fwy rhwymedig i gwplhau Bedydd.

y

Dosb. 2. y *Dledswyddau* a ofynnir ar ein dwylo ni gwedi hynny, trwy ba rai y mae i ni gyflawni diffyg y pethau cyntaf.

33. Ac os mynnwch wybod parai yw 'r *Dledswyddau* hynny, edrychwch ar yr addewidion hynny a wnaeth eich *Tadau-Bedydd*, a'ch *Mammau-bedydd* yn eich enw chwi, ac yna chwi a'i dyscwch hwynt. Nid alla 'i mo 'i hadrodd nhw mewn ffurf well nag ymaent gwedi ei gosod ar lawr yn *Ghatechism* yr *Eglwys*, lle y dywedir ddarfod i'n *Tadau-Bedydd*, *an Mammau-bedydd addaw ac addunedu tri pheth yn ein henwau ni*; yn gyntaf, *ymwrthod o honom a Diafol, ac a'i holl weithredoedd a'i rodres*, *gorwagedd y byd anwir*, *a phechadurus chwantau y cnawd*, lle wrth *Ddiafol* y deellir, yn gyntaf, *addoliad* pob *gau-dduwiau*, yr hyn nid yw yn wir ond *addoli Diafol*: Pechod, yr hwn ar ddyfodiad Crist i'r bŷd oedd yn dra-chyffredinol, gan fod y rhan fwyaf o *ddynawbryw* y pryd hynny yn byw mewn *Delw-addoliaeth*. Ac am hynny pan ordeinwyd *Bedydd* yn gyntaf, angenreidiol ydoedd gwneuthur ymwrthod a'r Gau-dduwiau, hynny yn rhan bennaf o'r adduned. Ac er bôd y *Delw-addoliaeth* hynny yr awrhon yn anghynnefinach o lawer, etto fe ellir ofni fod un rhan arbennig o honynt etto yn rhy gyffredinol yn ein mysg ni, hynny yw, pob máth a'r *aflendid*, ac er nad ydym ni yn gwneuthur *Ceremoniau* a'n *Crefydd* megys y *Cenhedloedd* gynt, etto y mae *gwnethur aflendid* yn bechod dirfawr yngolwg Duw, cyfryw ac a' hannogodd ef i ddinistrio Dinasoedd cyfan a *thân a brimstan*, fel y darllennir, *Gen*, 29. ie yr *holl fŷd a dwfr*, *Gen*. 6.

ac

ac yn ddiammeu a ddwg i lawr farnedigaethau trymion a rhyfeddol ar y neb a bery yntho ef, ac am hynny fe ddylid edrech ar *ymwrthod* a hwynt megis rhan hynodol o'r *addewid* hwn. Heblaw hyn, fe *addunedir* ymma yn erbyn pob ymdriniad a *Diafol*, pa un bynnag ai trwy *arferu Dewiniaeth ein* hunain, ai ymoralw ar rhai y sydd yn gwneuthur felly ar ba achos bynnag, megys *ail-gaffaeliad* ein *iechyd*, ein *da*, neu'r cyfryw; canys y mae hwn yn râdd o'r *pechod* arall, y mae yn *ymwrthod* ar Arglwydd, ac yn gosod i fynu'r *Cythrel* yn *Dduw* i ni, tra 'i byddon yn myned atto ef am gymmorth yn ein hanghenrheidiau. Sul. 2.

34. Yr ydyni hefyd yn *ymwrthod* ac holl *weithredoedd y Cythrel*: a'r rhai hyn ydynt naill ai yn gyffredinol yr holl bechodau y mae ef yn ein *hudo* ni iddynt, neu yntau y pechodau neillduol hynny, y rhai sydd fwyaf a'i *Ddelw* ef arnynt; sef, y rhai y mae ef yn ei arferu fwyaf, megys *Balchder*, ( yr hwn ai dygodd ef o fod yn *Angel goleuni* i'r cyflwr melldigedic y mae ef yr awrhon yntho ) a *Chelwydd*, y mae ef fal y dywed ein Iachawdr, *Joan*, 8. 44. *yn gelwyddog ac yn Dàd iddo hefyd*; a'r cyfelyb hefyd yw *ysgelerder* a *Chenfigen*, yn enwedig llâdd a Difetha rhai eraill, canys *llofrudd oedd efe o'r dechreuad*; ond vwchlaw'r cwbl nid oes dim yn ein gwneuthur ni yn debyccach iddo, na *Themptio* a denu rhai eraill i bechod, yr hyn yw ei holl fwriad a'i *gelfyddyd* ef, ac os gwnawn ninnau felly, yr ydyni yn debyg, *i'r llew rhuadwy hwnnw, yr hwn sydd yn rhodio oddiamgylch, gan geisio y neb a allo ei lyngcu*. 1 Pet. 5. 8.

Dosl. 2
*Lamia 10. xbr. 704.*

35. Yr *ail* peth yr ydyni yn *addunedu ymwrthod*, yw *rhodres a gorwagedd y byd anwir*; trwy rodres a gorwagedd y deallir amryw bethau; rhai o honynt yw 'r cyfryw ac a arferwydd gan y *Cenhedloedd* mewn rhyw *chwarddyion anghyfreithlon*, y rhai nid ydynt yn perthyn cymmaint i ni yr awrhon, gan nad ydynt arferedig yn ein mysg ni; ond heb law hynny, fe ddeallir wrthynt hwy bôb gormodedd; naill ai mewn lluniaeth neu *bleserau*, neu *ddillad*, pan foni yn myned tu hwnt i'r cymmedroldeb hynny, i ba fûn yr ydyn yn rhwym, naill *ai trwy* 'r *Rheol* gyffredinol o fobrwydd, neu trwy, r' amgylcheddau neillduol o'n cynneddfau a'n galwedigaethau. Yn neffaf, trwy 'r *byd anwîr*, deallwn, yn gyntaf, *olud*, a *mawredd* y bŷd, y rhai er nad ydyn i yn hollawl yn *ymwrthod a* hwynt, megys pe byddei yn anghyfreithlon i Griftion fôd yn oludog, neu yn fawr, etto yr ydyni yn addaw *ymwrthod* a hwynt cymmelled aç na bo i ni ofod ein calonau arnynt hwy, nag ychwaith ei ceifio na'i cawdw hwynt trwy foddion anghyfeithlon yn y bŷd. Yn ail, ni allwn ddeall wrth y bŷd anwîr, cefeillach ac arferion y bŷd, y rhai cymmhelled ac y maent yn ddrygionus, yr ydyni ymma yn ymwrthed a hwynt, hynny yw, yr ydyn yn *addaw* na ddenir ni fŷth gan gyfeillion i ûn pechod, eithr yn hytrach y mogelyd y cyfeillion anwylaf, na dioddef ein twyllo ganddynt, nac ychwaith gan arfer, eithr yn hytrach anturio dwyn cywilydd, trwy dybied o ddynion ein bod yn neillduol, ac ynfydfföl, yn rhodio megys mewn llwybr ar ein pennau ein hunain, na'n gofodi ein hunain a'r y

ffordd

*ffordd ehang honno sydd yn denu i ddistryw*, trwy ein rhoi ein hunain i fynu i ûn *arfer bechadurus*, er mor gyffredinol y bo hi yn y bŷd. Pe ystyrien i yn ddifrifol y rhan yma o'n *hadduned* ni, fe a'n harfogai ni gan mwyaf yn erbyn holl *brofedigaethau* y bŷd, gan mae *cyfeillach*, ac *arfer*, yw 'r *offerau* penaf trwy ba rai y mae ef yn gweithio arnoni. Sul. 2.

36. Y *Trydydd* peth yr yndyni yn *ymwrthod* ac ef, yw holl *bechadurus chwantau'r cnawd*; lle y cymmerir y *cnawd* (fal y mae 'r Scrythr yn fynych yn ei arferu ef) am ffynnon pob anwydau afreolus. Canys er y deallir wrth hyn y trachwantau amhûr hynny, y rhai a elwir yn gyffredinol *chwantau'r cnawd*, etto nid hynny yn *unic* a gynnhwysir ymma, gan fod amryw bethau eraill y rhai y mae 'r yn i galw yn *weithredoedd* y cnawd; nid allâ ei hadrodd nhw yn yn well nac y mae S. *Paul* yn ei roddi nhw ar lawr, *Gal.* 5. 19. 20. 21. *Amlwg yw gweithredoedd y cnawd y rhai ynt, torri Priodas, godineb, afflendid, ddgywilyddra, Addoliad eulynnod, swyn-gyfaredd, casineb llid, gelyniaeth, digofaint, ymrysonau, terfyscau, heresi, cenfigenau, llofruddiaeth, meddwdod, cyfeddach, ar cyffelyb.* Hyn ynghyd ar adroddiadau eraill sydd yn wascaredig mewn amryw fannau o'r *Scrythur* a ddengys i ni fôd llawer o bethau eraill yn gynnhwysedig tan y rhan ymma o'n hadduned ni, sef, *ymwrthod* a holl *bechadurus chwantau 'r cnawd.*

37. Yr *ail* peth a addawodd ein *Tadau-bedydd*, an *Mammau-bedydd* troston, oedd y *credeni holl*

Dos. 2. *Byngciau y ffydd Gristianogawl.* Y rhai hyn a gynnhwysir ar fyr yn yr hwn a elwir *Credo 'o Apostolion*, yr hyn gan ein bôd ni yn addaw ei credu, fe a rag-debygir, ein bod ni hefyd yn addww ei dyscu hwynt, a hynny nid yn unic y *geriau*, ond ei *hystyriaeth* eglur hwynt; canys pwy a ddichon gredu'r peth ni chlywso nhw erioed sôn am dano, neur' peth ni sedran mo'i ddeall? Trwy *gredu* y deallir nid yn unic cydsynniad a'i *gwirionedd* hwynt, ond hefyd bôd i ni fyw yn debyg i rai a fo'n credu: megys trwy Esample, os *credwn* mae *Duw* a'n *creuodd* ni, fe ddyle hynny wneuthur i ni fyw yn y cyfryw *ddarostyngeiddrwydd ac ufyod-dod* ac a weddai i *Greaduriaid* tu ac at ei *Creawdr*; *credu* hefid ddarfod i *Grist* ein *prynu* ni, a ddyle wneuthur i ni ein rhoddi ein hunain i fynu iddo ef megys ei *bwrcas*, i'n *trafferthu* ein hunain yn unic yn ei *wasaneth* ef. *Credu barn* i ddyfod, a ddyle ein gwneuthur ni yn ofalus pafodd y rhodion, fel na'n bernir ni'n evog y prŷd hynny. A *chredu* o honom y *bywyd traggwyddol*, a ddyle ein gwneuthur ni yn ddiwyd i treulio ein munudŷn *firr* o amser ymma, fal y bo ein *bywyd tragywyddol* ni yn fywyd *o lawenydd*, ac nid *drueny* i ni. Yn y modd hyn y dyleni allan o holl *Byncciau* ein *ffŷdd* dynnu *Cynnhyrfiadau* i'n *cadarnhau* ni mwen pob *arfer Gristianogawl*, i ba ddiben yn unic yr ydyn yn ei *dyscu* ac yn ei *credu* hwynt, ac am hynny heb hyn yr ydym ni ymmhell iawn oddiwrth gwplhau y rhan yma o'n hadduned, sef *Credu holl Byngciau y ffydd Gristianogawl.*

38. Y Rhan ddiwaddaf o'n *hadduned* yw fôd i ni *gadw sanctaidd ewyllys Duw, a'i orchymynion*, a

rhodio

*rhodio ynddynt holl ddyddiau ein bywyd.* Lle, Sul. 2.
wrth *gadw* o honom *sanctaidd ewyllys Duw*, ai orchymynion y deallir, gadw honom yr holl bethau hynny, y rhai a eglurhaodd ef i ni fod ei ewyllys ef ar i ni ei cwplhau; er mwyn hyn fe'a roddodd i ni *ei Air sanctaidd* n'i *haddyscu*, ac i *hyspysu* i ni pa beth y mae ef yn ei ofyn ar ein dwylo ni, ac y mae ef yr awrhon yn *disgwyl* i ni wneuthur hynny yn ffyddlon heb ein heiriach ein hunain mewn trawseddiad ûn o'i orchymynion ef. Ac y maen rhaid i ni *rodio* yn yr ufydd-dod gyflawn ymma *holl ddyddiau ein bywyd*: hynny yw, rhaid i' ni fyned ymlaen mewn rheol barchaus o ufydd-dod i Ddu; nid yn unic rhoi ychydig gamrau yn ei ffyrdd ef, ond *rhodio* ynddynt, a hynny nid tros ran bychan o'n hamser; ond *holl ddydiau ein bywyd*, heb droi un amser allan o honynt; ond myned ymlaen ynddynt yn barhaus, tra 'i byddoni byw yn y bŷd hwn.

39. Gan ddarfod i ni yr awrhon eglurhau ar fyrr i chwi yr *Adduned* ymma a wnaethoch wrth eich BEDYDDIO, ni ddyweda'i ddim ychwaneg yngchylch hyn, ond yn unic eich coffhau chwi mor agos y mae 'n perthyn i chwi ei chadw hi: a hynny yn gyntaf, o herwydd *cyfiawnder*; yn *ail*, o herwydd bûdd allesháad. Eich bôd chwi mewn *cyfiawnder* yn rhwymedic i hyn, sydd eglur, oblegid ei fod ef yn *addewid*, ac y mae cyfiawnder yn gofyn ar law pôb dŷn gadw ei Addewid. Ond y mae hwn yn rhwymo yn gaethach na phob addewidion eraill, canys y mae yn *adduned*, hynny yw, *addewid* a wnaethpwyd i Dduw, ac am hynny pan dorroni ûn rhan o hwn, nid ydyni yn unic yn *anghyfiawn* ond yn *anudonol.*

 40. Ond

Dos. 2. 40. Ond yn *ail* y mae hyn yn perthyn ini yn ddirfawr o herwydd ein *bûdd* ein hunain. Mi a ragddywedais i chwi, fod *Bedydd* yn ein dwyn ni i *Gyfammod* a *Duw*; ac y mae mewn pôb *Cyfammod* ddwy ran, hynny yw, rhyw beth a addewir gan y nail blaid, er rhyw beth gan y llall yr hwn sydd yn gwneuthur y *Cyfammod*. Ac os tyrr un ei ran or *Cyfammod*, hynny yw, peidio a chyflawni 'r péth a gyttûnodd ef iddo, nid all ef mewn rhesswm ddisgwyl i'r llall gwplhau ei ran yntau. Ac felly y mae ymma, y mae Duw yn siccr yn addaw yr holl gymmhwynasau rhagddywededig, ac hynny yw ei ran ef o'r Cyfammod. Ond yr ydym ninnau hefyd yn cymmeryd arnon gwplhau yr amryw bethau a gynnhwysir yn yr *Adduned* ymma o *Fedydd* a dena 'n *rhan* ninnau o hono, ac oddigaeth i ni yn ffyddlon ei cyflawni hwynt, nid yw Duw yn rhwymedig i gwplhau ei ran yntau, ac felly yr ydyn yn colli 'r holl fûdd a'r rhagorfreintiau gwerthfawr hynny, i'n gadewir hefyd yn ein cyflwr *anianol* a *thruenus*, sef, yn *blánt digofaint*, *yn elynion i Dduw*, *ac yn etifeddion damnedigaeth dragywyddol*. A pha hyfrydwch a all fod yn ein holl bechodau ni i dalu i ni'r jawn lleiaf am y cyfryw golled, sef, colled o ffafor a grâs Duw ymma, a cholled ein Heneidiau ein hunain ar ôl hyn? Canys (fel y dywed ein Jachawdwr, Mart. 8. 36.) *pa lesáad i ddyn ennill yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?* Etto dymma'r farsiandiaeth ynfyd ffol, yr ydyn yn ei wneuthur pan fo'n yn torri ûn rhan o'n *hadduned* hon o *Fedydd*. Fe berthyn i ni gan hynny Ystyried hyn yn ddifrifol, a chofhau fod pób pechod a wneloni yn drosseddiad hynod yr *Adduned* hon, ac am hynny pan 'ith demtir i ryw bechod, er

gwaeled

gwaeled yr ymddengys ef iti, na ddywed am danno fal y dywedodd *Lot* am *Zoar*, Gen. 19. 20. O nid ûn buchan ydyw ef? ond Ystyria, pa beth bynnag ydyw ef, ddarfod i ti yn dy *Fedydd addunedu* yn ei erbyn ef, ac yna er *lleiad* a fytho, y mae ef yn denu ûn *mawr* ar ei ol, nid amgen nár pechod o *Anudonedd*, yr hwn pwy bynnag a'i gwnelo, fe ddywedodd Duw yn eglur yn y *trydydd gorchymyn, na fydd ef di-euog o'i flaen ef.* Ac er mwyn cadw o honom yr *addunned* yma yn well, *tra-fuddiol* a fydde i ni atgofio yn fynych yr amryw *Ddosparthiadau* o honaw, fal y bytho ef yn wastad yn barod yn ein meddyliau ni, i wrthwynebu pób *profedigaethau*; ac yn ddiammeu y mae hwn yn *arf* mor dra-rhagorol, mae oddigaeth i ni ei *daflu* ef ymmaith, neu ei arferu ef yn *ddiofal*, fe an gwná ni yn abl trwy gymmorth Duw, i yrru ein gelyn *Ysprydol* i ffo. A dymma'r *parch* a'r *anrhydedd* fydd raid i ni ei dalu i'r *Sacrament* cyntaf yma, fef, *Bedydd*. Sul. 2.

---

# DOSPARTHJAD, III.

Kh...K 7 Mar. 702.
April. 2. 704.
Llanina 25. Feb. 704

*Am y Sacrament o Swper yr Arglwydd, Am Rag-ymbaratóad, megys prawf o'n Hedifeirwch, Ffydd, Ufydd-dod, am Ddledswyddau i'w gwneuthur wrth Gymmuno, a chwedi, &c.*

YR awrhon y canlyn y *Parch* dledus i'r *Sacrament o swper yr Arglwydd*; ac yn hyn y mae 'n rhaid i mi ganlyn fy Nospar-thiad cyntaf, a gosod ar lawr, yn gyntaf pa beth sydd i'w wneuthur *Cyn*; yn ail, *Ar*; yn drydydd, *Gwedi* Cymmuno; oblegid yn y Sacrament hwn nid ellir mo'n hescusodi ni oddiwrth y rûn or rhain, er y gellir yn y llall.

2. Ac yn gyntaf, am y peth sydd i'w wneuthur *Cyn*, y mae St. *Paul* yn dywedyd mae ein holi ein hunaìn, 1 Cor. 11. 28. *Eithr holed Dyn ef ei hûn, ac felly bwytaed, o'r Bara, ac yfed o'r Cwpan.* Ond cyn i mi fyned ymlaen i bôd *neillduol* ran o'r *Holiad* yma, rhaid i mi ddywedyd i chwi yn *gyffredinol* mae'r hyspysol sydd i ni i'w wneuthur yn y *Sacrament* hwn, yw *Ailadrodd*, ac ádnewyddu 'r *Cyfammod* hwnnw a wnaethoni a Duw yn ein *Bedydd* yr hwn a ddarfu i ni amryw ffyrdd yn orthrwm ei *droseddu*; y mae 'n rhyngu bôdd i Dduw oi fawr *Drugaredd* adael i ni ddyfod i'w adnewyddu ef yn y

*Sacrament* hwn, yr hyn os gwnawni mewn Symlrwydd Calon, efe a addawodd ein derbyn ni, a rhoddi i ni yr holl Gymmwynasáu hynny yn *hwn*, y rhai yr oedd ef yn barod i'w caniadhau i ni yn y *Sacrament* arall, pe ni buasei i ni trwy ein bai ein hunain i fforffedio nhwy. O herwydd pa ham, gan mae *Adnewyddu* ein *Cyfammod* y̅ w ein neges ni y prŷd hyn, fe ga̅lyn fod y tri pheth hyn yn aygenrheidiol tuagat hynny; yn *gyntaf*, fôd i ni ddeall pa beth yw'r *Cyfammod* hwnnw; Yn *ail* fod i ni ystyried beth ydyw ein *Trosseddiadau* ni o honaw êf; ac yn *drydydd* bôd i ni lawnfwriadu i gadw ef yn gryno y rhan arall o'n bywyd. A'n ymholi ein hunain ymmhôb ûn o'r rhain yw'r *Profiad* hynny a ofynnir gennini cyn i ni ddyfod i'r *Sacrament* hwn. Sul. 3.

3. Ac yn gyntaf, rhaid i ni ymholi a ydym ni yn deall pa beth yw'r *Cyfammod* hwn; y mae hyn yn dra-angenrheidiol, gan fôd hyn yn Sylfaen y ddau arall. Oblegid heb hyn nid yw bossibl i ni na dadcuddio ein Pechodau a aeth heibio, na llawnfwriadu yn ei herbyn nhw rhag llaw. Yn y man cyntaf gan hynny, *profwch* a ydych chwi yn jawn ddeall pa beth yw'r *Cyfammod* hwnnw yr hwn a wnaethochwi ar eich *Bedydd*, beth yw 'r *Trugareddau* a addaw-wyd ar ran Duw, a'r *Dled-swyddau* ar eich rhan chwithau. Ac oblegid nad yw'r *Cyfammod* yr hwn a wnaethpwyd a phôb ûn o honon'i ym *Medydd* namyn cyfaddasu attoni yn neillduol y *Cyfammod* a wnaethpwyd gan Dduw ynghrîst, ac holl ddynol ryw yn gyffredinol, rhaid i chwi ystyried a ydy'chwi yn *deall* hwnnw; onid

Dos. 3. ydych, rhaid i chwi yn ebrwydd geisio Athrawiaeth yn hynny. Ac hyd ni chaffôchwi foddion i gael gwell, edrychwch yn ôl ar y peth a ddywedpwyd ar fyrr yn nechreu'r Traethawd hwn, am yr *Ail* **Cyfammod**, yr hwn yw Sylwedd y Cyfammod hwnnw yr hwn a wnaeth Duw a ni yn ein *Bedydd.* Ac oblegid y cewch chwi weled yno, mae Ufydd-dod i holl Orchymynion Duw yw'r Ammod a ofynnir ar ein Dwylo ni, ac yw hefyd y peth yr ydyni yn eglur yn ei addunedu yn ein *Bedydd*, angenrheidiol hefyd yw i chwi wybod beth yw *Gorchymynion* Duw hynny. Am hynny os gwelwch eich bôd yn anwybodus o honynt, na Orphwysch nes i chwi gael eich haddyscu ynddynt ac ennill y cyfryw fesur o wybodaeth ac ach cyfarwydda chwi i gwplhau 'r *Holl Ddled-swydd Dyn* hynny y mae Duw yn ei ofyn ar eich llaw. A rhoddi iti 'r Athrawiaeth hon yw unig fwriad y *llyfr hwn*, yr hwn, po mwyaf anneallus wyti, mi a erfyniaf arnat ei ddarllen ef yn fwy diwyd. Ac os dydi o'r blaen a fuost gyfrannog o'r *Sacrament Sancteiddiol hwn* mewn llwyr anwybodaeth o'r pethau angenrheidiol hyn, galara am dy bechod hynny, ond na ryfyga ddyfod trachefn, nes iti trwy gael y wybodaeth angenrheidiol hon dy gymmhwyso dy hun iddo ef, yr hyn sydd raid iti bryssuro i'w wneuthur. Canys er na ddyle nêb yn y cyfryw anwybodaeth ddyfod i'r *Sacrament*, etto os efe yn wyllysgar a beru yntho ef, ni bydd hynny yn *escus* iddo ef i ymgadw oddiwrth y bwrdd Sanctaidd hwn.

yr holl bethau hyny [handwritten margin note]

bod o honot y fwy ddiwyd yn eu wrando [handwritten margin note]

4. Yr *ail* rhan o'n *Profiad* ni yw ynghylch ein *Troseddiadau* o'r *Cyfammod* hwn; ac yma y cei

di

di weled y Defnydd o'r wybodaeth honno y Sul. 3.
Traethais i am dani. Canys nid oes ûn modd i Ddadcuddio ein *Pechodau*, ond trwy brofi ein Gweithredoedd, trwy *Gyfraith* Duw yr hon a ddyle fod ei Rheol hwynt. Pan ymosodi di gan hynny at y rhan yma o *Brofiad*, cofia yr amryw Ddosparthiadau o'th Ddled-swydd, ac yna ymofyn a'th Calon dy hûn yn neillduol pa fodd y *cwplhéaist* ef. Ac na fodlona dy hûn i wybod yn *gyffredinol* ddarfod iti droseddu *Cyfraith* Dduw, ond gwna dy orau i ddadcuddio ymmha bethau *neillduol* y gwnaethost felly. Galw yn ol yn oreu ac y medryth holl neillduol weithredoedd dy fywyd, ac ymmhôb ûn o honynt Ystyria pa ran o'th Ddled-swydd y trosseddaisti yntho. A hynny nid yn unig mewn Gweithred gyhoedd, ond hefyd mewn *Gair*, ie ymhellach yn dy *feddyliau* dirgelaf. Canys er nad yw *Cyfraith* Dŷn yn cyrrhaedd attynt hwy, etto y mae 'r eiddo Duw; yn gymmeint a pha beth bynnag y mae ef yn ei wahardd yn y weithred, y mae ef hefyd yn gwahardd yn y *meddyliau* a'r Deisyfiadau, ac y mae ef yn ei gweled hwynt mor amlwg a'n Gweithredoedd mwyaf cyhoeddus. Y dyfal chwiliad neillduol ymma sydd dra-angenrheidiol; canys nid oes addewid o faddeuant ûn pechod ond i'r neb ai haddefo ac a ymadawo ac efo. I bôb ûn o'r rhain y mae 'n angenhreidiol fod gennini union a neillduol wybodaeth o'n Pechodau. Canys pa fodd y gall ef gyffessu ei bechod, yr hwn ni ŵyr ef ei fôd yn euóg o hono? Neu pa fodd y gall ef lawnfwriadu ymadel ac efo, yr hwn nid yw yn dirnad ddarfod iddo ef o 'r blaen lynu wrtho ef? Am hynny ni allwn yn ddiammau draethu fod y *Profiad* hwn nid yn unic

Dos. 3. yn Ddesnyddiol, ond yn angenrheidiol i gyflawn a pherffaith Edifeirwch; canys yr hwn nid ydyw yn cymmeryd y Golygiad neillduol ymma o'i bechodau, a fydd debyg i edifarhau ond yr hanner, yr hyn ni thâl iddo ddim, tu ag at ei bardwn; gan nad oes dim ond ymadawiad hollawl a *phôb ffordd ddrwg* yn ddigonol i hynny. Ond yn ddiammau yn anad amser fe berthyn i 'ni, pan fon 'i yn dyfod i'r *Sacrament* fôd ein hedifeirwch yn berffaith a chyflawn; ac am hynny y mae 'r dyfal-chwiliad ymma o'n Calonnau (y prŷd hynny yn enwedig) yn angenrheidiol. Ac er mae gŵir yw, nad yw bossibl i ni a 'n holl ddiwydrwydd ddadcuddio neu goffau pob rhyw neillduol bechod o 'n bywyd: ac er mae gwir yw hefyd, y gellir cael maddeuant am y peth sydd mor anocheladwy yn guddiedig rhagom, heb ddim mwy cyffes neillduol nag a wnaeth *Dafydd*, Psal. 19. 12. *Glanhâ fi oddiwrth fy meiau cuddiedig*; etto ni bydd hyn yn ddadl i ni os nhw a ddeuant i fôd yn *guddiedig* yn unic o herwydd ein bôd ni yn esgeulus am ei chwilio nhw allan. Am hynny gwilia dy Siommi dy hûn yn yr achos Desnyddfawr ymma, ond chwilia dy Enaid hyd y gwaelod, heb yr hyn beth nid yw bossibl 'iw Friwiau ef byth gael yn hollawl ei hiachau.

5. Ac megys y mae 'n rhaid i chwi fal hyn ymoralw yn fanwl ynghylch yr amryw *Rywogaethau* o Bechodau, felly hefyd y bydd rhaid i chwi ynghylch y *Graddau* o honynt, canys y mae amryw *Amgylchiadau*, y rhai sydd yn anghwanegy, ac yn mwyhau 'r Pechod. Y mae llawer o'r fâth ymma; megys yn *gyntaf*, pan pechoni

bechoni yn erbyn *gwybodaeth*, hynny yw, pan fôni 'n *gwybod* yn ficcr fod y cyfryw beth yn *bechod*, etto er mwyn y Plefer neu 'r Bûdd prefennol ( neu ryw annogaeth arall ) ni á anturiwn arno ef. Hyn a fernir gan *Grist* ei hûn i fod yn *angwanegiad* mawr o'r *pechod*. *Yr hwn a wyr Ewyllys ei Arglwydd, ac heb ei wneuthur a gurir a llawer o fonnodiau*, Luc. 12. 47. Yn *ail* pan bechoni trwy *Ragfyfyrdod*, hynny yw pan fyddoni heb Syrthio iddo ef yn ddifymmwth, heb allu ymogelyd, ond pan gaffoni amfer i Yftyried am hynny, dymma radd arall o'r Pechod. Ond yn *drydydd*, Gradd uwch etto yw, pan wneloni ef yn erbyn *Gwrthymegniad* ac *Argyoeddiad* ein *Cydwybod* ein hunain, pan fo hwnnw y prŷd hynny yn dywedyd ini, ni ddylit i wneuthur y peth ymma : ië, ac yn gofod o'n blaen ni 'r *perigl* yn gyftal a'r *Pechod* o' i wneuthur ef, etto yr ydyn i yn myned ymlaen i wneuthur y pechod o anfodd Rhybuddiau y Cydwybod ; y mae hwn yn anghwanegiad mawr o'r pechod yn gyfryw ac a dderchafa 'r pechod lleiaf i gyffroad tramawr ; Canys eglur yw fôd y pechod a wneir felly yn ûn byrbwyll, ac yna er *gwaeled* a fo'r Defnydd o honaw, y mae ef yn dra-echryflon yngolwg Duw. Iê y mae hwn yn amgylchiad o'r fâth rym, ac y geill wneuthur gweithred *diduedd*, (yr hon nid ydyw ynthi i hûn yn bechod ) yn bechod. Canys er dychwelyd fôd i'm *Cydwybod* i gyfeiliorni yn dywedyd i'mi fôd y peth a'r peth yn *anghyfreithlon*, etto tra' i byddo i yn coilio hynny, fe fydde yn bechod i mi wneuthur y peth hynny ; oblegid yn hynny y mae fy Ewyllys i yn cydfynnio i wneuthur y peth yr hyn

Sul. 3.

wilffwl rhyfygus

Dos. 3. yn Ddefnyddiol, ond yn angenrheidiol i gyflawn a pherffaith Edifeirwch ; canys yr hwn nid ydyw yn cymmeryd y Golygiad neillduol ymma o'i bechodau, a fydd debyg i edifarhau ond yr hanner, yr hyn ni thâl iddo ddim, tu ag at ei bardwn ; gan nad oes dim ond ymadawiad hollawl a *phôb ffordd ddrwg* yn ddigonol i hynny. Ond yn ddiammau yn anad amser fe berthyn i 'ni, pan fon 'i yn dyfod i'r *Sacrament* fôd ein hedifeirwch yn berffaith a chyflawn ; ac am hynny y mae 'r dyfal-chwiliad ymma o'n Calonnau (y prŷd hynny yn enwedig) yn angenrheidiol. Ac er mae gŵir yw, nad yw bossibl i ni a 'n holl ddiwydrwydd ddadcuddio neu goffau pob rhyw neillduol bechod o 'n bywyd : ac er mae gwir yw hefyd, y gellir cael maddeuant am y peth sydd mor anocheladwy yn guddiedig rhagom, heb ddim mwy cyffes neillduol nag a wnaeth *Dafydd*, Psal. 19. 12. *Glanhâ fi oddiwrth fy meiau cuddiedig* ; etto ni bydd hyn yn ddadl i ni os nhw a ddeuant i fôd yn *guddiedig* yn unic o herwydd ein bôd ni yn esgeulus am ei chwilio nhw allan. Am hynny gwilia dy Siommi dy hûn yn yr achos Defnyddfawr ymma, ond chwilia dy Enaid hyd y gwaelod, heb yr hyn beth nid yw bossibl 'iw Friwiau ef byth gael yn hollawl ei hiachau.

5. Ac megys y mae 'n rhaid i chwi fal hyn ymoralw yn fanwl ynghylch yr amryw *Rywogaethau* o Bechodau, felly hefyd y bydd rhaid i chwi ynghylch y *Graddau* o honynt, canys y mae amryw *Amgylchiadau*, y rhai sydd yn anghwanegy, ac yn mwyhau 'r Pechod. Y mae llawer o'r fâth ymma ; megys yn *gyntaf*, pan pechoni

bechoni yn erbyn *gwybodaeth*, hynny yw, pan fôni 'n *gwybod* yn siccr fod y cyfryw beth yn *bechod*, etto er mwyn y Pleser neu 'r Bûdd presennol (neu ryw annogaeth arall) ni á anturiwn arno ef. Hyn a fernir gan *Grist* ei hûn i fod yn *angwanegiad* mawr o'r *pechod*. *Yr hwn a wyr Ewyllys ei Arglwydd, ac heb ei wneuthur a gurir a llawer o fonnodiau*, Luc. 12. 47. Yn *ail* pan bechoni trwy *Ragfyfyrdod*, hynny yw pan fyddoni heb Syrthio iddo ef yn ddisymmwth, heb allu ymogelyd, ond pan gaffoni amser i Ystyried am hynny, dymma radd arall o'r Pechod. Ond yn *drydydd*, Gradd uwch etto yw, pan wneloni ef yn erbyn *Gwrthymegniad* ac *Argyoeddiad* ein *Cydwybod* ein hunain, pan fo hwnnw y prŷd hynny yn dywedyd ini, ni ddylit i wneuthur y peth ymma: ië, ac yn gosod o'n blaen ni 'r *perigl* yn gystal a'r *Pechod* o' i wneuthur ef, etto yr ydyn i yn myned ymlaen i wneuthur y pechod o anfodd Rhybuddiau y Cydwybod; y mae hwn yn anghwanegiad mawr o'r pechod yn gyfryw ac a dderchafa 'r pechod lleiaf i gyffroad tramawr; Canys eglur yw fôd y pechod a wneir felly yn ûn byrbwyll, ac yna er *gwaeled* a fo'r Defnydd o honaw, y mae ef yn dra-echryslon yngolwg Duw. Iê y mae hwn yn amgylchiad o'r fáth rym, ac y geill wneuthur gweithred *didnedd*, (yr hon nid ydyw ynthi i hûn yn bechod) yn bechod. Canys er dychwelyd fôd i'm *Cydwybod* i gyfeiliorni yn dywedyd i'mi fôd y peth a'r peth yn *anghyfreithlon*, etto tra' i byddo i yn coilio hynny, fe fydde yn bechod i mi wneuthur y peth hynny; oblegid yn hynny y mae fy Ewyllys i yn cydsynnio i' wneuthur y peth yr hyn

Sul. 3.

wilffwl rhyfygus

Dos. 3. hyn yr wyfi 'n i gredu sydd yn ansodd-hau Duw, ac y mae Duw (yr hwn sydd yn ein barnu ni wrth ein *Hewllys*, nid ein *Deall*) yn cyfrif hynny i ni yn bechod yn gystal a phe buase 'r peth o hono i hûn yn *anghyfreithlon*, ac am hynny yn ddiammau ni allwn ddywedyd yn bendant, fôd pa beth bynnag sydd o hono i hûn yn bechadurus, yn fwy o lawer felly, trwy fôd yn ei wneuthur ef yn erbyn argyoeddiad *Cydwybod*. Y *Pedwerydd* môdd o helaethu a'r bechod yw, pan fyddo ef gwedi ei fynych ail-gyrchu, canys yna nid oes yn unig euogrwydd cynnifer ychwaneg o *Weithredoedd*, ond y mae pôb Gweithred hefyd yn myned (o hynny) gwaeth, ac yn fwy anescusodol. Yr ydyn i yn wastad yn barnu fal hyn, am feiau a wneir yn ein herbyn ein hunain, ni a allwn faddeu ûn camwedd yn hawsach na'r unrhyw gwedi ei ailgyrchu, a pho mynychaf y gwneir ef yr ydyn i yn ei gyfrif ef yn fwy anfad. Ac felly yn siccr y mae am feiau yn erbyn Duw hefyd. Yn *bummed* y Pechodau a wnaethpwyd ar ol *Addunedau* a llawn fwriadau o wellháad, ydynt etto yn fwy echryslon; canys y mae hynny yn cynnwys hefyd droseddiad yr *Addewidion* hynny. Y mae peth o hyn ymmhôb pechod *rhyfugus*. Canys y mae pôb cyfryw ûn yn droseddiad yr *Adduned* honno a wnaethoni yn ein *Bedydd*. Ond heb law hynny, fe ddarfu i ni yn ôl hyn ein rhwymo ein hunain trwy *Addunedau* newyddion, oni wnaethon i amser arall, etto yn ddiammau ar ein dyfodiad i *Swper yr Arglwydd*, gan fôd hwnnw (fal y dywedwyd o'r blaen) yn bwrpasol i adnewyddu 'r *Adduned* a wnaethoni yn ein Bedydd. A pho mwyaf o'r addu-

nedau

nedau hyn a wnaethoni, mwy-fwy yw ein heuogrwydd ni, os nyni a Syrthiwn yn ôl i ryw bechod a ymwrthodason i ac ef y pryd hynny. Y mae hyn yn beth, a dâl yn ddá ei ystyried, ac am hynny ymhola by hûn yn neillduol wrth ddynessau at y *Sacrament*, ynghylch dy drosseddiadau o'r *Addunedau* a wnaethosti o'r blaen wrth y *Bwrdd sanctaidd*. Ac os gwnaethost ûn amser ar ryw achosion eraill, megys Clefyd, cythryswl meddwl, neu 'r cyffelyb, ryw Adduned arall, galw dy hûn i gyfrif twys pa fodd y cwplheaist hwynt hefyd, a chofia fod pob pechod a wnaethost yn erbyn cyfryw *Addunedau*, heb law ei euogrwydd naturiol i hûn, yn *Anudonedd* hefyd. Yn *chwechedd*, Grâdd uwch etto yw, pan fo Pechod gwedi i wneuthur cyn fynyched a'n bôd ni gwedi dyfod i *arfer* a *Chynnefindra* o honaw ef; a hynny yn wir sydd yn râdd uchel. Sul. 3.

6. Etto o'r *Arferion* yma y mae rhai yn waeth na'r lleill, megys yn *gyntaf*, os bydd ef gwedi i gadarnhau a'n bôd ni gwedy dyfod i galedrwyd dCalon, heb fôd gennini ddim teimlad o'r pechod: Neu yn *ail* os awn ni ymlaen yntho ef yngwrthwyneb i ryw foddion rhagorol a arfera Duw i'n hadgyweirio ni, megys *Clefyd*, neu ryw orthrymder arall yr hwn sydd megys gwedi ei ddanfon yn bwrpasol i 'n troi ni. Neu yn *drydydd*, os ni bydd holl Argyoeddion, a chynghorion Gwenidogion neu geraint neillduol yn gweithio dim arnoni, ond naill ai ein gwneuthur ni yn ddigllon wrth ein hargyoedd-wŷr, neu ein gosod ni ar ymddiffyn y pechod. Neu yn *ddiweddaf*, os bydd yr Arfer bechadurus hon mor grŷf ynom ni, a gwneuthur i ni nid yn unic garu 'r Pechod

Dos. 3. ynom ein hunain, ond mewn rhai eraill, os, fal y dywed yr Apostol *Rhuf.* 1. 32. *nid ydyn i yn unic yn gwneuthur y pethau*] *hyn, eithr hefyd yn Cydsynnio a'r rhai sy yn ei gwneuthur hwynt.* Ac am hynny yn llithio ac yn denu cynnifer ac a alloni i'r unrhyyw Bechodau gydá ni : yna y mae ef gwedi Cyfodi, i'r *Grîs* uchaf o ddrygioni, ac y'w edrych arno megys y Râdd eithaf o *bechod* ac *enbydrwydd.* Fal hyn y gwelŵch pa fodd y mae i chwi eich Proff eich hunain ynghylch eich Pechodau, ymmôb ûn o ba rai y mae 'n rhaid i chwi ystyried pa faint a fu o'r amgylchiadau mawr hyn, modd y galloch chwi iawn fesur ei *hechrysl.nrwydd* hwynt.

Gostyngeiddrwydd. 7. Yn awr diben yr *Ymholiad* hwn yw i'ch dwyn chwi i'r fâth Olygiad o'ch Pechodau, ac a'ch gwná chwi yn wîr *Ostyngedig*, ac yn deimladwy o'ch perigl, y rhai a annogasoch i ddigofaint, y fáth fawrhydi goruchel yr hwn a ddichon ymddial ei hûn mor echryslon arnoch'wi. A diammau yr ymddengys hyn yn achos rhesymol o dristwch i'r Galon mwyaf cnawdol. Ond nid hynny yw 'r cwbl ; y mae yn rhaid i hyn hefyd eich dwyn chwi i fôd yn deimladwy, ac i ffieiddio eich bryntni, a'ch anniolchgarwch, y rhai fal hyn a bechasoch yn erbyn Duw mor Ddaionûs a grasol, ac sydd mor annheilwng yn talu'r echwyn i'w drugareddau anfeidrol ef. A'r ystyriaeth ymma yn enwedig sydd raid doddi eich Calonnau chwi, i ddwys ofid a chystudd calon, grâdd pa ûn sydd raid bod mewn rhyw fesur yn gyfattebol i faentioli eich pechodau. A pho mwyaf y byddo (trwy na bo fo yn gyfryw ac a gai allan obaith a Drugaredd Duw ) mwyaf cymmeradwy a fydd ef

ef i Dduw, yr hwn a addawodd *na ddirmygei galon ddrylliog gyſtuddiedig*, *Pſal.* 51. 17. A chyffelypaf hefyd a fydd hyn i'n dwyn ni i wellháad: Canys os nyni unwaith a fyddwn yn deimladwy o angerdd Ysbrŷd cyſtuddiedig, ni fyddwni mor ewyllyſgar i anturio ar bechod trachefn. Sul. 3.

8. Canys pan i'n temptir ac ûn o bleſerau byrrion pechod, ni a allwn y prŷd hynny o'n cyfarwydd ein hunain oſod yn ei herbyn hwynt ofidiáu tôſt, ac arſwydau *Cydwybod euog*, yr hyn yn anrhaethadwy a ragbwyſa 'r lleill i bwy bynnag a fu deimladwy o honynt. Ymegniwch gan hynny i ddwyn eich Heneidiau i'r tymmeruſrwydd tyner hwn, i'r twys a diffuant ofid hwn, ac hynny nid yn unic am y perigl a ddygaſoch'wi arnoch eich hunain; canys er bôd hynny yn Yſtyriaeth a ddylei weithredu Triſtwch ynom ni, etto lle y mae hynny yn unic yn achos o'n triſtwch, nid dena 'r triſtwch hynny yr hwn a wná lês er maddeuant; ac y mae y rheſwm am hyn yn eglur, canys y mae 'r triſtwch hwnnw yn unic yn tarddu allan o gariad i'ni ein hunain, yr ydyni yn drîſt, oblegid ein bôd ni yn debyg i ddolurio. Ond y mae 'n rhaid i driſtwch y gwîr edifeiriol, fod hefyd gwedi ei gyſſylltu a chariad Duw, ac hynny a wna i'ni ymofidio am droſſeddu yn ei erbyn ef, er na ddychwelei dim coſpedigaeth i'ni ein hunain. Y modd gan hynny i gyffroi 'r triſtwch hwn ynom ni, yw, yn *gyntaf*, gyffroi ein Cariad i Dduw trwy ail-adrodd rhyngom a'n hunain yr amryw weithrediadau graſuſol o'i Drugaredd ef tu ag atton i, yn enwedig y drugaredd honno, o'n harbed ni, heb ein torri ni ymmaith yn ein pechodau. Yſtyria wrthit dy hûn

yw'r

Cyſtudd calon.

Dos. 3. hûn gynniser a chymmaint o annogaethau i ddigofaint a roddaist iddo ef, ysgatfydd mewn trefn barháus o anufydd-dod gwrthnysig tros lawer o flynyddoedd, am ba rai y gallesit, yn dra-chyfiawn gael dy ergydio yn fyw i ûffern : iê ond odid y mae genniti o'th flaen lawer o Esamplau o bechaduriaid llai na thi dy hûn y rhai a gippwyd ymmaith yn ddisymmwth ynghanol ei pechodau, a pha achos a elli di ei roddi, pa ham y diengaist ti cyhyd,* ond yn unic oblegid darfod i'w lygad ef dy arbed di? a pha achos o'r arbediad hynny, ond ei dyner *ymyscaroedd* ef tu agattati, ai anewyllysgarwch ef i ti fôd yn golledig? Nid all yr ystyriaeth ymma lai, os bydd hi gwedi ei gwasgu hyd adref ar dy Enaid ti (oddigaeth bôd dy galon yn galedach na'r *maen melin*) na chyffrhoi peth Cariad ynoti tu agat y Duw graslawn hir-ymarhous hwn, a'r Cariad hwnnw yn ddiammau a ddengys iti mae *peth drwg a chwerw ydyw, wrthod o honot yr Arglwydd*, Jer. 2. 19. ddarfod iti cynddrwg dalu yn ôl iddo êf am y cyfryw drugaredd ; fe wna hyn iti gywilyddio a digio wrthit dy hûn, dy fôd di yn gyfryw greadur anniolchgar. Ond os yw ystyriaeth yr ûn máth ymma o drugaredd yn unic, sef *Dioddefgarwch* Duw, yn fáth rwymedigaeth a chynnorthwy i'r tristwch duwiol hwn, beth gan hynny a fydd yr aneirif o'r *trugareddau* eraill hynny, y rhai a fedr pôb dŷn ei cyfrif iddo i hun? Ac am hynny bydded pôb dŷn mor *neillduol* yn hyn ac y medr, ac adgoffhau cymmaint o honynt ac a allo ef, modd y gallo ef gyrrhaeddid mesur mwy o wîr dristwch Calon.

a chofied

9. Ac

Sul. 3

9. Ac at yr holl egni mae 'n rhaid adroddi *Gweddiau difrifol* at Dduw a'r fôd iddo ef trwy ei Ysbryd-glân ddangos, i chwi eich Pechodau, a meddalhau eich Calonnau, modd y galloch yn hollawl ymofidio a galaru am danynt.

10. At hyn y mae'n rhaid cyssylltu *gostyngedig Gyffes* o'n pechodau ger bron Duw, ac hynny nid yn unic yn *gyffredinol*, eithr hefyd yn *neillduol*, cymmhelled ac y cyrrhaedd eich Coffadwriaeth o honynt, ac hynny ynghyd a'i holl amgylchiadau tra-mawr, y rhai a ddarfu i chwi trwy'r rhagddywededig *Ymholiad* ei dadcuddio. Jë y mae 'n rhaid cydnabod yn gyffredinol y pechodau dirgel, a ollyngwyd yn angôf, oblegid diammeu y'w fod aneirif o'r cyfryw; yn gymmaint a bôd yn angenrheidiol i bôb ûn o hononi ddywedyd gyda *Dafydd, Psal.* 19. 12. *Pwy a ddeall ei Gamweddau? Glanha fi oddiwrth fy meiau cyddiedig.* Gwedi i chwi fal hyn gyffessu eich pechodau trwy alar twys, a diragrithiol gasineb o honynt, chwi a ellwch y pryd hynny (ac nid dim Cynt) eich Siccrhau eich hunain, ych bod chwi mor deimladwy o'ch Clefyd, a'i bôd hi yn amser i chwi i gyfaddasu'r meddiginiaeth.

Cyffes.

March 14: mar. 702
[illegible] 9 Apr. 704

11. Yn y man nessaf gan hynny rhaid yw i chwi edrych arno ef yr *hwn a osodes Duw i fod yn jawn am ein pechodau*, Rhuf. 3. 25. *sef, Jesu Grist, Oen Duw, yr hwn sydd yn dileu pechodau'r Byd, Jo.* 1. 29. Ac erfyn yn ddifrifol ar Dduw, fod i'ch Pechodau chwi gael ei golchi ymmaith trwy ei *werthfawroccaf waed* ef; ac i Dduw er ei fwyn ef gymmodi a chwi. Ac hyn sydd raid

Prydd.

Dos. 3. i chwi gredu a fydd yn ddiammeu, os chwchwi am y rhan arall o'ch amser a ymedu a'ch Pechodau, ac a ymrowch yn ddiragrithiol i *Ufydd-hau Duw* yn ei holl *Orchymynion*. Ond heb hyn, ofer yw disgwyl dim llesháad oddiwrth *Grist*, na'i ddioddefaint. Ac am hynny y rhan nessaf o'ch Paratóad chwi a fydd sefydlu y *llawnfwriadau* hynny ô *Ufydd-dod*, yr hwn a ddywedais i chwi oedd y *trydydd* peth i chwi i ymholi eich hunain am dano, cyn nessau at swper yr Arglwydd.

Llawnfwriadau ó Ufydd-dod.

12. Ynghylch y rhannau neillduol o'r *Llawnfwriad* hwn, nid rhaid i mi draethu dim ychwaneg, ond bôd yn rhaid iddo atteb pôb rhan a chaingc o'n Dlêdd-swydd ni; hynny yw, rhaid i ni nid yn unic *lawnfwriadu* yn *gyffredinol* cadw *Gorchymynion* Duw, ond pôb Gorchymyn ar ei ben eu hûn; ac yn enwedig ble y gwelsom ein hunain fwyaf yn diffygio o'r blaen, yna yn bendifaddeu adnewyddu ein hamcanion. Ac yma fe berthyn i ni edrych yn fanwl ar fod yr amcanion hyn yn *ddiragrithiol* a *diffuant*, ac nid y cyfryw rai oer esgeulus ac a fydd rhai arferol o gymmeryd i fynu wrth ddyfod i'r Sacrament, y rhai ni choffháan nhw fŷth ei cadw gwedi hynny, canys y mae hyn yn wirionedd siccr, fôd, pwy bynnag a ddelo i'r Bwrdd Sanctaidd hwn hêb gâs hollawl i bôd pechod, yn dyfod yn annheylwng; ac y mae cyn siccred, fôd i'r neb a gasháo yn hollawl bôb pechod, lawnfwriadu ymadel ac ef; canys chwi a wyddoch fôd *ymadawiad* yn naturiol yn dilyn *cassineb*, nid oes nêb o'i wirfodd yn aros gyda 'r peth y mae yn ei *gashau*. Ac am hynny y nêb ydyw yn bwriadu felly,

ſelly, modd ac y gallo Duw yr hwn yw chwiliwr y galon weled ei fôd yn ddiragrithiol, nid ellir tybied ei fôd ef yn caſhau pechod, ac felly nid all fôd yn dderbyniwr teilwng y Sacrament Sancteiddiol hwnnw. Am hynny profwch eich bwriadau yn hollawl, rhag i chwi eich twyllo eich hunain ynddynt, eich perigl mawr eich hûn yw, os gwneuch felly; canys diammeu yw, nad ellwch chwi dwyllo Duw, na gwneuthur dim yn gymmeradwy iddo ef nad yw yn wîr berffaith a diffuant. Sul. 3.

13. Yr awrhon fal y mae 'n ſefyll arnoch lawn-fwriadau ar yr *Ufydd-dod newydd* hwn, felly hefyd y bŷdd raid i chwi lawnfwriadu ar y *Moddion* y rhai a'ch cynnhorthwya chwi i gwplhau hyn. Ac am hynny yſtyriwch ymmhób Dlêd-ſwydd, beth yw'r *Moddion* i'ch cynnorthwy chwi yntho, a bwriedwch eu harferu hwynt, er anhawſed fyddont i'ch Cnawd chwi; felly or tu arall yſtyriwch pa bethau ſydd debyg i'ch arwain chwi i Bechod, a llawnſwriedwch ei gochelyd a ffo oddiwrthynt: hyn ſydd raid i chwi i wneuthur o herwydd pób rhyw bechod, ond yn enwedig y rhai hynny y buoch euog o honynt o'r blaen. Canys yna ni bydd anhawdd i chwi wybod trwy ba raddau i'ch twyſwyd chwi iddynt, pa gyfeillach, a pha achos a'ch maglodd chwi, ac hefyd i ba fath o *Brofedigaethau* yr ydych chwi barottaf i ymroi. Ac am hynny rhaid i chwi yn neillduol eich arfogi eich hûn yn erbyn y Pechod, trwy ochelyd yr *Achoſion* o honaw ef. Am y moddion.

Dos. 3.

14. Ond nid digon yw i chwi amcanu gwneuthur hyn oll ar ól hyn, ond rhaid i chwi ymosod ar hyn yn ebrwydd, a dechreu 'r drefn hon trwy wneuthur ar yr amser presennol pa beth bynnag y mae gennych'wi odfa i'w wneuthur. Ac y mae amryw bethau y rhai a ellwch chwi, ië, sydd raid i chwi ei gwneuthur cyn dysod o honoch i'r Sacrament.

15. Megys yn gyntaf, rhaid i chwi daflu ymmaith bôb pechod, heb ddwyn gyda chwi i'r *Bwrdd* hwnnw, ûn trachwant heb ei farwhau; canys nid digon yw amcanu eu bwrw hwynt ymmaith yn ól hyn, ond rhaid i chwi osod ar wneuthur hynny y prŷd hynny, trwy dynnu ymmaith pób *grádd* o *Gariad* ac *Ewyllysgarwch* oddiwrthynt; rhaid i chwi y prŷd hynny roddi llythr-yscar i'ch holl hén Bechodau anwylaf, ac onid é nid ydych'wi mewn ffordd gymwys i gael eich priodi a *Christ*. Y mae y rheswm am hyn yn eglur; canys y Sacrament hwn yw ein hymborth Ysbrydol ni; yn awr cyn i ni dderbyn ymborth Ysbrydol, rhaid yw bôd gennini *fywyd Ysbrydol* (canys ni rydd néb ymborth i ddŷn marw.) Ond pwy bynnag sydd yn parhau, nid yn unic yn y *weithred*, ond mewn *Cariad* o ûn pechod trwy wybod, nid oes ganddo ef fywyd Ysbrydol, ond y mae ef yngolwg Duw yn ddim gwell na Scerbwd marw, ac am hynny ni ddichon ef dderbyn yr ymborth Ysbrydol hwnnw. Gwir yw fe a ddichon *fwyta'r Bara*, ac yfed y Gwîn, ond nid yw ef yn derbyn *Crîst*, eithr yn ei le ef, yr hyn sydd yn dra-echryslon; fe ddywed yr Apostol i chwi

pa

pa beth, 1 *Cor.* 11. 29. *Y mae ef yn bwyta ac yn* Sul. 3.
*yfed ei ddamnedigaeth ei hûn.* Chwi a welwch gan hynny pa angenrhaid mawr ſydd arnoch'wi daflu ymmaith bôb rhyw bechod yn ebrwydd, cyn dyfod i'r *Bwrdd* hwn.

16. Ac y mae 'r *Ail* peth ſydd yw gyflawni y prŷd hyn mor angenrheidiol i chwi, ſef, goſod eich henaid mewn tymmer neſol a Chriſtianogawl; trwy ei gynnhyſgaeddu ef a'r holl *Raſau* hynny, y rhai a'i gwna ef yn gymmeradwy ger bron Duw. Canys gwedi i chwi droi allan Satan, gyda 'i lû melldigedig ef, gwiliwch adael eich henaid yn wâg; os gwnewch chwi, fe ddywed *Criſt* i chwi, *Luc.* 11. 26. *Y dychwel ef yn ebrwydd yn ei ôl, ac y bydd eich cyflwr diweddaf yn waeth na'r cyntaf.* Ond rhaid i chwi trwy *Weddi* ddifrifol wahodd yr *Yſbryd glân* gydaſ'i holl *Raſau* i'ch henaid, neu, os ydynt mewn rhyw feſur yno yn barod, rhaid i chwi Weddio ar fôd iddo ef gymmeryd mwy cyflawn feddiant o honaw ef, a rhaid i chwi ei deffro a'i cynnhyrfu nhw i fynu.

17. Megys er *eſampl*, rhaid i chwi gynnhyrfu eich *goſtyngeiddrwydd*, trwy Yſtyried rif a maentioli eich pechodau; eich *ffydd*, trwy ſyfyrio a'r Addewidion Duw, i bôb pechadur edifeiriol; eich *Cariad* i Dduw trwy yſtyried eu drugareddau ef, yn enwedig y rhai a goffheir yn y *Sacrament*, iddo roddi *Criſt* i farw troſoni; a'ch *Cariad* i'ch *cymydogion*, ié i'ch gelynion, trwy yſtyried yr *Eſampl* ddirfawr honno o'i ddioddefaint ef troſoni y rhai oedden Elynion iddo ef. Ac fe ddiſgwylir gennini yn fwy neillduol pan ddeloni

Dos. 3. i'r *Bwrdd* hwn gopió allan ei *esampl* ef yn hyn trwy faddeu yn hollawl i bawb a wnaethant i 'n herbyn, ac nid maddeu yn unic eithr dangos hefyd addfwyndra tu ac attynt mewn pób swydd o Gariad a chymmwynasgarwch.

18. Ac os darfu i chwi o'r blaen felly lwyr anghofio ei *Esampl* bendigedig ef, a gwneuthur yn union yn y gwrthwyneb ; os gwnaethoch aunhiriondeb neu gam i ûn dŷn, yna mae'n rhaid i chwi geisio maddeuant ganddo ef : Ac i'r diben hwn, yn *gyntaf* Cydnabod eich bai, ac yn *ail* talu yn ôl iddo ef, hyd yn eithaf o'ch gallu, beth bynnag a ddygasoch'wi oddiarno ef, pa ûn bynnag ai yn ei Ddâ, neu 'i Air-da. Y *Cymmod* hwn a'n Brodyr sydd yn gwbl-angenrheidiol er mwyn gwneuthur yr ûn o'n gwasanaeth ni yn gymmeradwy gyda Duw, fal y mae 'n eglur yn y *Gorchymyn* hwnnw o eiddo *Crist*, Mat. 5. 23, 24. *Os dygi dy rôdd i'r Allor, ac yno dyfod i'th gôf fôd gan dy frawd ddim yn dy erbyn : Gâd ti yno dy Offrwm ger bron yr Allor a dos ymmaith : yn gyntaf, cymmod a'th Frawd, ac yno tyret ac offrwm dy rôdd* ; lle y gwelwch, er bôd y rhodd yn barod wrth yr *Allor*, rhaid yw ei gadael hi yno heb ei offrwm, yn hyttrach na'i hoffrwm hi gan ddŷn nad yw mewn perffaith dangnheddyf a'i Gymydog. Ac os yw 'r *Cariad* hwn mor angenrheidiol yn ein holl wasanaeth ni, mwy o lawer yn hwn, lle trwy gyd-gyfrannu o'r ûnrhyw ddirgeledigaethau Sanctaidd, yr ydyn i yn arwyddoccau ein bôd gwedi ein huno a'n cyssylltu, nid yn unic a *Chrîst* ein pen, ond hefyd a'n gilydd, megys cyd-aelodau. Os nyni gan hynny a ddeuwn a malais yn y bŷd yn ein Calonnau,

lonnau, yr ydyni yn gnenthur y weithred fwyaf o *Ragrith* ar a all fod, trwy wneuthur yn y *Sacrament* hwn gyfaddefiad cyhoedd o *addfwyndra* a *Chariad brawdol* o ba rai y mae 'n Calonnau yn hollawl yn wâg. Sul. 3.

19. Gras tra-angenrheidiol arall ar yr amser yma yw *Dwywolder*, er mwyn cael pa ûn rhaid i ni roddi i ni ein hunain beth amser i ymneillduo oddiwrth ein negeseuau bydol, a'n gosed ein hunain yn hollawl ar y gwaith hwn o baratóad; o ba baratóad ûn rhan tra-arbennig yw derchafu ein heneidiau i dymmer desosionawl a nefawl. Ac er mwyn hyn y mae 'n dra-angenrheidiol i ni fwrw ymmaith bob meddyliau bydol, canys fe fydd y rhai hynny yn diammeu megys cynnifer o ly ffetheiriau i rwystro i'n heneidiau ni dderchafu tu a'r nefoedd. Un ymarfer arbennig o'r *Dwywolder* hwn yw *Gweddi*, yr hon sydd raid i ni ei harferu yn fynych ac yn ddiwyd ar ein dyfodiad i'r *Sacrament*, gan fod hyn yn ûn offer mawr trwy ba ûn y mae i ni gael yr holl *Rasau* eraill hynny anghenrheidiol yn ein paratóad. Am hynny byddwch yn siccr na esgeulusoch 'wi ffordd arall, a gadael heibio hyn, yr ydych'wi yn myned i weithio yn eich grym eich hûn, heb edrych am gymmorth Duw, ac yna ammhossibl yw i chwi lwyddo yntho: *canys nid ydyni yn ddigonol o honom ein hunain i feddwl dim megys o honom ein hunain; eithr ein digonedd ni sydd o Dduw*, 2 Cor. 3. 5. Byddwch daer gan hynny ar fod iddo ef felly eich cymmorth chwi a'i Râs, modd y gallôch 'wi ddyfod i'r *Bwrdd* hwn gwedi eich cymmhwyso felly, fal y byddoch gyfranogion o'r Rhagorfreintiau a gynnygir yno i bób derbyn-wyr teylwng. Dwywolder.

 20. A'r

Dos. 3. 20. A'r rhain ac a phób *Grasau* ysbrydol eraill y bydd raid i'n heneidiau ni fôd gwedi ei harwisco, pan ddeloni i'r *wledd* hon, canys y rhai hyn yw 'r *wisc briodas*, heb ba ûn, pwy bynnag a ddelo a fydd tebyg i gael yr ûn croesaw ac a gafodd y Dŷn hwnnw yn y *ddammeg*, *yr* hwn a ddaeth i'r Briodas *heb wisc briodas* Mat. 22. 13 *Yr hwn a daflwyd allan i'r tywyllwch eithaf, lle y mae wylofain, a rhingcian dannedd.* Canys er ysgatfydd yr eistedd ef allan yn y cyfamser heb ei gippio oddiar y *Bwrdd*, etto y mae St. *Paul* yn ei siccrhau ef, ei fôd ef yn yted *damnedigaeth idd ei hûn*, a pha cyn gynted y syrth hi arno ef sydd anhyspys: Ond diammeu yw, y syrth hi oddigaeth i edifeirwch eu rhag-attal hi, a chyn siecred yw, pan ddelo hi, ei bôd hi yn *dra-echryslon*; *cannys pwy o honom a a bresswylia gyda llosc-feudd Tragwyddol?* Esa. 33. 14.

21. Ni adrodd a'i ond ûn peth anghwaneg am y pethau sydd raid eu gwneuthur cyn y *Sacrament*, ac hynny yw *Cynghor* na bo i neb, hyderu yn hollawl ar ei synwr eu hûn, os gwedi iddo ef ei fanwl chwilio ei hûn, na fedr ef mo fodloni eu Enaid ei hûn am ei *uniondeb* a'i *Ddiragrithrwydd*, ac felly ammeu a eill ef dyfod i'r *Sacrament*: Canys os bydd ef yn wîr *edifeiriol*, y mae 'n debyg y barna ef yn rhy galed, o hono 'i hûn, os ni bydd, y mae 'n debyg iawn y traetha ef yn y man farn rhy gu a thirion arno ei hûn, os gadewir iddo ef wneuthur bodlonrhwydd iw ammheuon eu hûn. Neu pa un bynnag a fytho ef ai 'r naill ai 'r llall, os daw ef i'r *Sacrament* yn yr ammheuaeth hwnnw, y mae fo'n ddiammeu yn ei suddo ei hûn i anghwaneg o

*ammheuon* a *phetrusder*, onid ydyw i bechod; o'r tu arall, os oblegid hyn yr ymgeidw ef rhag dyfod, os dychwel i'r arswyd hwn fod *heb achos*; yna y mae efe yn ei ymabsennu eu hûn oddiwrth yr Ordinhâad Sanctaidd honno yn *ddiachos*, ac felly yn dinoethi eu Enaid o ddim lleshâad oddiwrthi. Am hynny ynghanol yr holl *beryglon* sydd yn amgylchu 'r neb a'i cammgymmero ei hûn, mi chwennychwn, fal y dywedais i o'r blaen, eu gynghori ef na ymddiriedo fo i'w farn eu hûn, ond gwneuthur eu gyflwr yn agored i ryw *Wenidog pwyllog Duwiol*, ac yn hyttrach cymmeryd eu gyfarwyddo ganddo ef, yr hwn mewn cyffelybrwdd (os bydd y y Cyflwr wedi ei osod yn eglur ar lawr ac yn ddiffuaut) a ddichon yn well farnu o hono ef, nag ef ei hûn. Dymma 'r Cyngor y mae 'r Eglwys yn ei roddi yn y *Cyngor* o flaen y *Cymmun*, lle y rhybuddir, os bydd neb trwy *foddion eraill*, a rag-draethwyd yno, *heb fedru heddychu eu gydwybod ei hûn, ond yn chwennych Cyngor a a chyssur ymmhellach, yna aed at ryw Wenidog Gair Duw a fyddo pwyllus a dysgedig, a dadcuddied ei ddolur, er mwyn cael y cyfryw gyngor ac addysc ysbrydol tu ag at lonyddu ei gydwybod* &c. Y mae hwn yn wîr yn gyngor na ddylid mo' i esgeulufo, nag ar yr amser o ddyfodiad i'r *Sacrament*, nag ûn amser arall pan foni tan ryw ofn neu achos o *ammheuaeth* ynghylch Cyflwr ein Heneidiau. Ac o ddifyg hyn, y rhedodd llawer i ddrwg dirfawr, trwy adael i'r Petrusder fraenu cyhyd, nes iddo ef naill ai ei suddo hwynt i ddrifawr *Cyfygnder Cydwybod*, neu peth fydd waeth, nes iddynt hwy er mwyn dyhuddo 'r anfodlonrhwydd hwnnw o'u mewn ymroi i bôb

Sul. 3.

*pleserau*

Dos. 3. *pleserau pecbadurus*, ac felly yn llwyr ymwrthod a phób gosalon o'i Heneidiau.

22. Ond at hyn ei gyd ysgatfydd fe ddywedir, nad ellir gwneuthur hyn heb ddadcuddio noethni a brychau 'r *Enaid* ac y mae cywilydd yn hynny, ac am hynny y mae dynion yn ansodlon i wneuthur hynny. Ond mi a attebaf i hyn, mae tra-anrhesymmol yw bod hynny yn rhwystr. Oblegid yn *gyntaf*, yr wyf yn meddwl na ddewiswch chwi ond y cyfryw ûn ac a geidw yn ffyddlon pa gyfrinach bynnag a ddywedoch wrtho ef, ac felly nid rhaid i chwi ofni dim *cywîlydd cyhoeddus*. Ac os bydd hynny o herwydd y dyn hwnnw yn neillduol, nid rhaid i chwi ofni hynny ychwaith; canys bwrich ei fod ef yn wr duwiol, ni thybia fo yn waeth, ond yn well o honoch'wi, eich bod chwi mor ewyllysgar i Uniawni pób péth rhwng Duw a'ch Henaid. Ond pe byddei [ yn wîr ] gywilydd yn y peth, etto tra y dichon hyn fód yn foddion i iachau 'ch cythrwblaeth a'ch pechod hefyd (megys diammeu y gall cyugor *duwiol* a *ffyddlon* dueddu llawer tu ag at bob ûn o'r ddau) fe ddylid diystyru 'r cywilydd hwnnw; a diammeu y gwneid felly, pe caren ni ein heneidiau cystal a'n cyrph: canys mewn doluriau 'r Corph, er mor *ffiaid* a *chywilyddus* syddont, ni a'i tybiwn ef ynfyd yr hwn yn hytrach na'i dadcuddio hwynt, a gyll y feddiginiaeth; ac ymma rhaid yw i hynny fód yn fwy ynfydrwydd, o gymmaint ac y mae 'r Enaid yn werthfawroccach na'r Corph.

63. Ond fe ŵyr Duw, mae nid yn unic i ddynion ammheus y gall y *Cynghor* hwn fod yn

fuddiol,

fuddiol, y mae rhai ſáth arall, trahyder pa rai yw ei Clefyd, y rhai héb achos a ryfyga o ddaioni eu Cyflwr. Ac am y rheini nhw a fydden dedwydd, pe gellid ei dwyn nhw i wrando rhai barnau uniawnach na'i heiddo 'i hûn mewn matter mor bwysfawr a hyn. Y gwirionnedd yw, yr ydyni yn gyffredinol mor chwannog i'n ffafrio ein hunain, ac y gallei fód yn fuddiol iawn i'r rhan fwyaf, yn enwedig y rhai mwyaf diwybod, ymgynghori weithiau a *Chyfarwyddwr Yſprydol*, er mwyn eu haddyſcu hwynt i farnu yn uniawnach o honynt eu hunain; ac nid hynny yn unic ond derbyn hefyd gyfarwyddiad, pa fódd i *orchfyga* a *marwhau* 'r pechodau hynny, at ba rai y maent fwyaf yn tueddu, yr hwn ſydd yn beth mor anhawdd, nad oes refwm i ni ddirmygu foddion yn y bŷd a'n cynnorthwya ni yntho. Sul. 3.

Llanarth Apr. 4. 703
Llanarth Apr. 14. 704.

24. Mi a dreiddiais bellach trwy yr amryw rannau hynny o *Ddled-ſwydd* ſydd raid i ni eu cwplhau *Cyn* Derbyn. Mi a draethaf i chwi, yn y man neſſaf, beth ſydd raid iei wneuthur *Ar amſer Derbyn*. Pan fóch di wrth y *Bwrdd Sanctaidd*, yn *gyntaf*, ymddaroſtwng dy hûn gan gydnabod dy ddirfawr *annheylyngdod* i gael dy gynnwys yno; ac i'r diben hwn adgoffá rhwng Duw a'th Enaid dy hûn, rhai óth Bechodau mwyaf a ffieidiaf, dy droſſeddiadau or *Addunedau* a wnaethoſti or blaen wrth y Bwrdd hwnnw, yn enwedig er pan *Gymmunaiſti* ddiwaethaf. Yna myfyria ar *Dioddefiadau chwerwdóſt*, y rhai a oſodir allan i ni yn y *Sacrament*: pan ganfyddoch di'r *Bara wedi ei dorri*, cofia pa fódd dryllwyd ei *Gorph bendigedig éf* a hoelion Ar Amſer Derbyn. Myfyrdod o'th annheylyngdod. Dioddefiadau Criſt.

ar

Dos. 3. ar y Groes; pan weloch di 'r *Gŵin* gwedi ei *dywallt allan*, cofia pa fodd, o y tywalltwyd yno ei *werthfawr waed* ef; ac yna ystyria, mae de Bechodau di oedd yr achos bób o ûn. Ac yma meddwl, pa anfadwr annheilwng wyti ddarfod iti wneuthur y peth a barodd y cyfryw arteithiau iddo ef: iê, pa faint gwaeth wyt na'i *Groesshoelwyr* ef. Hwynthwy ai crafhoeliasant ef unwaith, ond fe ddarfu iti, hyd yr oedd ynot, ei Groesshoelio ef beunydd. Hwynthwy a'i croeshoeliasant ef, oblegid nad adwaenent ef; ond dydi a adwaenit yn gystal beth ydyw ef yntho ei hûn *Arglwydd y Gogoniant*, a peth ydyw ef i ti, sef *Jachawdwr* tra-grasslawn a thrugarog, ac er hynny fe ddarfu iti yn ddibaid barhau fal hyn i'w groshoelio ef o newydd. Ystyria hyn, a gâd iddo weithio ynoti yn gyntaf, dristwch dirfawr am dy bechodau a aeth heibio, ac yna casineb mawr, a llawn fwriad twys yn ei herbyn hwynt rhag llaw.

Y Cymmod a wnaed ganddynt.

25. Gwedi iti fal hyn tros amser feddwl am *Ddioddefiadau Crist*, er mwyn anghwanegu dy Ostyngeiddrwyd a'th gystudd calon; yna yn y man nessaf, meddwl am danynt drachefn, er mwyn cynnhyrfu dy *Ffŷdd*, edrych arno ef megys yr *Aberth* a offrymwyd i fynu tros dy Bechodau di, er dyhuddo digofaint Duw, ac adgyweirio ei ffafr a'i Drugareddau ef tu-ag attati: Ac am hynny yn ostyngedig erfynia ar Dduw trwy *ffŷdd* dderbyn y *bodlondeb* a wnaed gan ei anwyl Fâb ef yr hwn nid adnabu bechod, ac er eu ddeylyngdod ef faddeu iti yr hyn oll a aeth heibio, ac yn hollawl gymmodi a thi.

26. Yn

Sul. 3.

26. Yn *drydydd*, Ystyria hwynt drachefn er mwyn annog dy *Ddiolchgarwch* Meddwl pa faint o gywilydd a gofid a ddioddefodd ef yno, ond yn enwedig y dirfawr *ing Enaid* hynny yr hwn a dynnodd oddiwrtho ef y waedd chwerwdóst honno, *fy Nuw, fy Nuw, pabam i'm gwrthodaist?* Mat. 27. 45. Yn awr hyn oll a ddioddefodd ef yn unic er mwyn dy gadw di rhag bód yn golledig. Am hynny Ystyria pa Ddiolchgarwch anrhaethadwy sydd yn ddledus arnati iddo ef; ac ymegnia i dderchafu dy Enaid i wir a difrifol ddiolchgarwch: canys moli a mawrhygi y drugaredd honno, yr hon a'n gwaredodd ni a phris mor ddrûd, yw rhan arbennig o'n Dlêd ni y prŷd hyn. Fe weddai i ti yma yn dda gan hynny ddywedyd gyda *Dafydd*, *Phiol Iechydwriaeth a gymmeraf, ac ar Enw 'r Arglwydd y galwaf.*

27. Yn *bedwaredd*, edrych ar *Ddioddefiadau* Crist i annog y *Cariad* hwn; a diammeu na ddichon fod moddion mwy affeithiawl i wneuthur hyn; canys yma y mae *Cariad* Crist tu ag attati yn fwyaf hynod, fal y dywed yr *Apostol*, 1 *Jo.* 3. 16. *Yn hyn yr adnabuom gariad Duw, gan iddo ef roddi ei einioes drosom ni.* Ac hyn yw y rádd uchaf o *Gariad*, canys fel y dywed ef ei hûn, *Jo.* 15. 13. *Cariad mwy na hyn nid oes gan nêb, na rhoi o ûn ei einioes tros ei gyfeillion.* Etto yr oedd ei Gariad ef yn fwy na hynny; canys Efe nid yn unic a fu farw, ond a fu farw'r *Farwolaeth* fwyaf *penydiol a dirmygus*, ac hynny nid tros ei Gyfeillion, ond ei Elynion pennaf. Os gan hynny gwedi 'r holl Gariad hyn o'i ran ef, ni thalwn ninnau ddim Cariad yn ól iddo yntau, yr ydyni

yn

Dos. 3. yn waeth na'r sáth waethaf o ddynion, canys y mae 'r *Pwblicanod yn caru' r neb a'i caro hwythau*, *Mat.* 5. 46. Yma gan hynny cerydda a gwradwydda dy hûn fód dy *Gariad* tu ag atto ef mor *llêsg* ac *oer*, pan oedd ei eiddo ef tu ag attati mor *ddirfawr* ac *awyddus*. Ac ymegnia i gynneu 'r fflamm Sanctaidd hon yn dy Enaid, Sef ei garu ef yn y sâth fesur, ac y gellych di fód yn barod i gopió allan ei *Esampl* ef, i ymado a'r cwbl, jé a'th fywyd hefyd pa bryd bynnag y galwo ef am dano, hynny yw, pan fo dy *Ufydd-dod* i nebrhyw o'i Orchymynion ef yn dy alw di i'r Dioddefiadau hynny. Ond yn y cyfamser llawn-fwriada na wnei di gyngrair a'i Elynion éf mwyach, na chroesawu, na lletteua ûn pechod yn dy fonwes. Ond os arhosodd y rûn o'r cyfryw hyd yn hyn gydá thi, cymmer yr odfa hon i'w Ladd, a'i groeshoelio ef; offrymma ef i fynu y munydyn hwn, yn Aberth iddo ef yr hwn a offrymwyd trosoti, ac yn bendifaddeu i'r diben hwnnw, modd y gallei ef dy *waredu di oddiwrth pob anghyfiawnder*. Llawnfwriada gan hynny y prŷd hyn yn gyhoeddus ymadel a phob rhyw bechod, yn enwedig, y rhai y buost arfer fynychaf o Syrthió iddynt. Ac er mwyn gallael o honot wîr-gwplhau 'r amcanion hynny, taer-ymbilia ar yr Jachawdr croeshoeliedig hwn, ar fód iddo ef, trwy allu ei farwolaeth, farwolaethu a llâdd dy holl Lygredigaethau.

Cynifer gwaith y bydd itti

28. Pan fo'ch di yn barod i dderbyn *y bara a'r Gwin cyssegredig*, cofia fód Duw y pryd hyn yn cynnyg felio i ti y Cyfammod newydd hwnnw a wnaethpwyd a dynol ryw yn ei *Fáb*. Canys gan ei fod ef yn rhoddi ei *Fâb* hwnnw yn y *Sacrament*,

*crament*, y mae ef gydág ef yn rhoddi yr holl Sul. 3.
lesháad o'r *Cyfammod* hwnnw, sef *Maddeuant Pechodau*, *Grâs Sancteiddiol*, a Thitl i etifeddiaeth dragywyddol. Ac yma synna yn ddirfawr oblegid anfeidrol Ddaioni Duw, yr hwn sy'n cynnyg i ti dryssor mor werthfawr. Ac yna cofia nad yw hyn i gyd ond tan Ammod i ti gyflawni dy ran o'r *Cyfammod*. Sefydla gan hynny yn dra-difrifol yn dy Enaid lawnfrŷd o Ufydddod, ac yna cyttuna mor ddefosionawl ac y bo possibl gyda 'r *Gwenidog* yn y weddi fer ragorawl honno, a arferir wrth roddi 'r *Sácrament*, *Corph ein Harglwydd*, &c.

29. Yn ebrwydd gwedi i ti dderbyn, offrymma i fynu *foliant* tra-defosionawl am y drugaredd fawr honno, ynghyd a'th *Weddiau* difrifol am y cyfryw gynnorthwy 'r Yspryd glân ac a'th hyffordda di i gwplhau'r *Adduned* a wnaethosti 'r awrhonō. Yna gan gofio fod *Crist yn jawn nid am ein pechodau ni yn unig*, *ond hefyd am bechodau'r holl fyd*, cyrrhaedded dy *Gariad* ti cymmhelled a'r eiddo ynteu, a gweddia, tros holl ddynol Ryw ar fód i bawb dderbyn y llesháad o'r Aberth hwn; gorchymyn hefyd i Dduw gyflwr yr *Eglwys*, honno yn enwedig o ba ûn yr wyti yn Aelod. Ac na anghofia Weddio tros bawb y mae 'n ddledus arnati *Ufydd-dod* iddynt, yn gystal yn yr *Eglwys* a'r *Deyrnas*; ac felly dós ymlaen i Weddio tros y cyfryw rai yn neillduol ac y bo naill ai'th *Gyfneseifiaid*, neu 'i hangenrheidiau hwynt, yn ei gorchymyn i'th weddi. Os bydd *Cascl* i'r *Tlawd* (fal y dylei fód yn wastad, ar yr amser ymma) dód yn rhwydd yn ól dy allu; neu os trwy fai rhai eraill ni bydd y

Dos. 3. cyfryw *Gascl*, etto gosod ti heibio ryw beth tu ag at gymmorth tlodion, a bydd Siccr o'i roddi ef yr odfa gyfleus nessaf, ar a geffych di. Hyn oll sydd raid i ti ragluniaethu ei wneuthur yn yr amser y bo rhai eraill yn *Cymmuno*, modd y gellych di, pan dechreuo 'r *Gweddiau* cyffredinol, ar ól y *Wenidogaeth*, fod yn barod i gyttuno ynddynt, yr hyn sydd raid i ti hefyd gymmeryd gofal i'w wneuthur yn dra-defosionnawl: ac hyn ymma am dy ymddygiad *wrth dderbyn y Cymmun.*

30. Yr awrhon y mae 'n canlyn y *Trydydd* peth a'r diweddaf, hynny yw, beth sydd iti yw wneuthur *Ar ól Derbyn.* Y peth sydd raid i ti allan o law ei wneuthur, yw, cyn gynted ac yr *ymnailldui* oddiwrth y Gynnulleidfa, offrwm i fynu drachefn i Dduw dy Aberth o Foliant am yr holl drugareddau gwerthfawr hynny a drosglwyddwyd i ti yn y *Sacrament* Sanctеiddiol hwn, ac erfyn hefyd yn ostyngedig barhaus gymmorth ei Râs ef i'th gynnorthwyo di i wneuthur yn dda yr holl *Fwriadau* hynny o Ufydd-dod a wnaethosti 'r awrhon. Ac ymmha beth bynnag y gwyddost dy fod dy hûn fwyaf mewn *perigl*, naill ai oblegid rhyw *arfer* gynt, neu *dueddiad naturiol*, yna yn enwedig deisyfia ac erfyn yn daer eu gymmorth ef.

31. Gwedi i ti wneuthur fal hyn, na ollwng mo honot dy hûn yn ebrwydd yn rhŷdd i'th ofalon a negeseuau bydol. Ond treylia 'r holl *Ddiwrnod* hwnnw, naill ai yn mysyrio, yn Gweddio, yn darllain, mewn ymddiddanion da, neu 'r cyffelyb; fal y bo goreu i gynnal y fflamm

Sanctaidd

Sanctaidd honno a gynneuwyd yn dy Galon. Sul. 3.
Gwedi hyn, pan fo dy alwedigaeth yn erchi i ti Syrthio at dy negeseuau arferol, gwna hynny, ond etto cofia yn wastad fod yn Sefyll arnati orchwyl mwy na hwnnw; sef, *Cwplhau* 'r holl *Addewidion* hynny a wnaethosti mor ddiweddar i Dduw: ac am hynny (beth bynnag a fo dy drafferthion oddiallan) bydded dy Galon gwedi eu gosod ar *hynny*, cofia dy holl neillduol fwriadau, a pha bryd bynnag i'th demptir i nebrhyw o'th *hên bechodau*, yna Ystyria dymma'r peth a addunedaisti mor gyhoeddus yn ei erbyn, ac hefyd cofia pa euogrwydd echryslon a fydd arnati, os dydi 'r awrhon a wnei o'th wirfodd ddim yngwrthwyneb i'r Adduned honno; iè, a pha ddrwg echryslon hefyd a fydd hynny i ti dy hûn. Canys wrth dderbyn y *Cymmun*, fe ddarfu i Dduw a thithau ymwneuthur mewn Cyfammod, a Chyngrair o Garedigrwydd ac addfwynder. A chyhyd ac yr ymgedwi di yn y caredigrwydd hwn a Duw; yr wyt yn ddiogel, nid all holl Falais dynion neu Cythreuliaid wneuthur i ti mo'r niwed: canys fal y dywed yr Apostol, Rhuf. 8. 31. *Os bydd Duw gydá ni, pwy a all fod i'n herbyn?* Ond os dydi a dorri 'r *Cyfammod* hwn (megys yr wyti yn ddiammeu yn gwneuthur, os tydi o'th wirfodd a ymroi i ûn pechod) yna y mae Duw a thydi yn Elynion, ac yna pe bydde 'r holl Fŷd gyda thi, ni thycciei 'r cwbl ddim.

32. Jê tydi a gei elyn o fewn dy fynwes dy hûn, dy *Gydwybod* yn dy gyhuddo ac yn dy wradwyddo di; a phan fo Duw a'th gydwybod

Dos. 3. dy hûn fal hyn yn dy erbyn di, nid elli na byddi yn druan resynol, ié, yn y bŷd hwn, heb law'r aruthrol ddisgwyliad digofaint yn y bŷd a ddaw. Cofia hyn pan i'th ganllwynir gan ryw *brofedigaeth*, ac yna diammeu nad elli ond edrych ar y Brofedigaeth honno megys *twyll*, yr hon sydd yn dyfod i'th Yspeilio di o'th *Dangnheddyf*, dy *Dduw*, ié a'th *Enaid* hefyd. Ac yna yn ddiammeu fe ymddengys megys yn anghymmwys jawn ei groesawu ef, megys y tebygiti o lochesu ûn yn dy Dŷ yr hwn a wyddosti a ddaeth i'th Yspeilio di o'r peth sydd *anwylaf* genniti.

33. Ac na ád i unrhyw Brofiad o drugaredd Dduw yn dy bardynu di o'r blaen dy gysuro di i annog Duw trachefn i ddigofaint ; canys heb law fód hyn yn rádd uchaf o anwiredd ac anniolchgarwch wneuthur *ei Ddaioni ef, yr hwn a ddylei ein tywys ni i edifeirwch*, yn annogiad i bechod : heb law hyn meddaf, po mynychaf o'th bardynwyd, llai o reswm sydd iti i ddisgwyl hynny trachefn, oblegid fod dy bechod o hynny yn *fwy*, gan i ti bechu yn erbyn cymmeint trugaredd. Os pardynodd *Brenin* amryw weithiau drosseddwr, etto os efe a bery i ddychwelyd i'r unrhyw fai, fe annog hynny y Brenin or diwedd (os bydd gantho ddim Cariad i Gyfiawnder) i'w gospi ef am dano. Felly y mae yma, y mae Duw yn gyfiawn, cystal ac yn drugarog, ac yn ddiammeu fe ddiala ei *Gyfiawnder* ef o'r diwedd yn drwm gamarferiad eu *Drugaredd* ef ; ac nid all fód mwy ammharch o'i Drugaredd ef na phechu mewn *gobaith* o honaw : Ni wnei di gan hynny ond dy Siommi

dy

dy hûn yn ddirfawr fal hyn Rysygu ar eu Dru- Sul. 3.
garedd ef.

34. Yr awrhon nid digon yw i'r gofal hwn o gwplhau dy *Adduned* barhau gydá thi tros ychydig ddyddiau yn unic, ac yna ei ollwng yn angof, ond rhaid iddo barhau gydá thi holl ddyddiau dy fywyd. Canys os tydi a dorri dy *Adduned*, nid oes fatter pa ûn ai yn *fuan*, ynteu yn *hwyr*. Je, Ysgatfydd mewn rhyw fódd fe all yr euogrwydd fód yn fwy, os yn hwŷr y bydd hyn; canys os aethosti ym mlaen tros hîr o amser i'w chadw hi, y mae hynny yn dangos fód y péth yn *bossibl* i ti; ac felly nid yw dy Drosseddiadau ar ól hynny o wendid, oblegid nad ellit ei gochelyd hwynt, ond o gyndynrwydd, oblegid na fynniti ei cadw hwynt: heb law hyn, rhaid yw i ymarfer buchedd *Gristianogawl* ei gwneuthur hi yn esmwythach iti. Oblegid yn wir yr holl anhawsder o hynny sydd yn unic oddiwrth ymarfer y gwrthwyneb: Ac am hynny, os gwedi peth cydnabyddiaeth ac hi, gwedi gorchfygu peth o'r anhawsder, y rhoi di 'r swydd i fynu, fe sydd hynny yn gwbl anescusodol. Bŷdd ofalus gan hynny holl Ddyddiau dy fywyd i gadw'r cyfryw wiliadwriaeth arnat dy hûn a gochelyd pób achosion o brofedigaethau, modd y gellych ymgadw oddiwrth bob Trosseddiadau byrbwyll o'r *Adduned* hon.

---

35. Ond er bód rhwymedigaeth pób cyfryw neillduol Adduned yn cyrrhaeddid hyd y Dŷdd diweddaf o'th Heinioes, etto rhaid i ni yn fynych ei *Adnewyddu* ef, hynny yw, rhaid i ni yn fynych dderbyn y *Sacrament Sanctaidd*, gan mae hynny

Dosf. 3. yw'r moddion i drosglwyddo i ni y sath leshâad annrhaethadwy; a chan fód hyn yn Orchymyn Crîst, ar fód i ni *wneuthur hyn er coffa am dano ef*, ein rhesymmol ddléd ni yw na esgeuluson i ûn odsa gymmwys o gyfrannu o'r Cymmun Sanctaidd hwnnw. Mi a ddangosais i chwi'r awrhon béth yw'r *Anrhydedd* dledus arnoni i Dduw yn y Sacrament hwn.

Jerim. 23. 10. — Canys o herwydd llwon y Gofidiodd y ddaiar.

DOS-

S. Jaco. 1. 26. Os yw neb yn eich mysc yn cymeryd arno fod yn Grefyddol, heb attal ei dafod, ond twyllo ei galon ei hun, ofer yw crefydd hwn.

Cymmrodorion LIBRARY
61, Chancery Lane W C2

# DOSPARTHIAD, IV.

{...th. 17 Jan.ry 702
Lamina 23. May. 703

*Anrhydedd dledus Enw Duw; Pechodau yn erbyn hynny; Tyngu; am Lwon Haerig, Addewidiol; Anghyfreithlon: am Anudonedd, Llwon ofer, a'i Pechod hwynt,* &c.

1. Y Peth diweddaf trwy ba ûn y mae i ni egluro ein *Hanrhydedd* iddo ef wy *Anrhydeddu ei Enw*. Ni a ddeallwn yn well beth yw'r Anrhydeddiad ymma o'i Enw ef, os ystyriwn beth ydyw'r pethau hynny trwy ba rai y di-anrhydeddir ef, ymogelyd pa rai yw'r módd i'w anrhydeddu ef. (Anrhydedd dledus i enw Duw.)

Y *Cyntaf* yw pob *Cabledd*, neu ddywedyd dim drŵg am Dduw, y rádd uchaf o ba un yw ei fell-dithio ef, neu os ni thraethwn hynny, etto os gwnawn hynny yn ein *Calonnau*, trwy feddwl dim yn annheilwng o hono ef, y mae Duw, yr hwn sydd yn canfod y galon, yn edrych ar hynny, megys yr ammarch diystyraf. Ond y mae hefyd *Gabledd* y gweithredoedd, hynny yw, pan fo dynion, y rhai sydd yn ei proffessu eu hunain yn wasanaethyddion i Dduw, yn byw mor annuwiol a dwyn drwg-absen arno ef, yr hwn y maent yn ei gydnabod yn *feistr* ac yn Arglwydd iddynt. Y Cabledd hwn y mae 'r Apostol yn dal Sulw arno, *Rhuf.* 2. 24. lle y dywed ef wrth y rhai sy'n proffessu cadw'r *Ddeddf*, *y ceblir* (Pechodau yn erbyn hynny. Cabledd.)

Dos. 4. *Enw Duw ymysc y Cenhedloedd oblegid eu drwg weithredoedd hwynt.* Y *Cenhedloedd* hynny a annogwyd i dybio'n ddrwg o Dduw, megys dadleuwr dros *bechod*, pan welsant y rhai oedd yn ei galw ei hunain yn wasanaeth-ŵyr iddo ef, yn pechu.

Tyngu. Ail módd o Ddi-anrhydeddu Enw Duw yw trwy *Dyngu*, ac y mae hynny o ddau fáth, naill a'i trwy *Lwon celwyddog*, neu yntau trwy rai byrbwyll a gwagsaw: fe all *llw Celwyddog* hefyd fód o ddau fáth, megys yn *gyntaf* yr hwn trwy ba ûn y byddaf yn haeru rhyw béth, neu yn *ail*, yr hwn trwy ba ûn yr addawaf ryw beth. Y *Cyntaf* yw, pan ddywedwyf ddarfod gwneuthur y cyfryw beth fal hyn neu fal hyn, a chadarnhau fyngeiriau hynny trwy *Lw*; os gwn i y prŷd hynny nad yw gwbl wîr, y peth yr wyf yn ei draethu, y mae hyn yn *Anudonedd* eglur: ie, os tyngaf i Wirionedd y péth, or hwn yr wyf yn unic yn *ammheus*, er dychwelyd i'r peth fód yn wîr, etto y mae hyn yn dwyn arnaf Euogrwydd Anudonedd; oblegid yr wyf i'n tyngu ar Ddamwain, ac fe allasei 'r peth, am a wyddwn i, fód yn gystal yn gelwydd ac yn wîr, lle na ddylwn i un amser dyngu i ûn peth, ond a wypwyf yn Siccr ei fod yn wîr.

Llwon haerig.

2. Ond heb law'r fath ymma o *Lwon* y mae máth arall, trwy ba rai yr addawyf ryw beth. A'r addewid hwnnw a all fod naill ai i *Dduw*, neu i *Ddyn*, pan wneir ef i Dduw, fe 'i gelwir *Adduned*, am ba ûn y traethais yn barod tan bwngc y *Sacramentau*, mi a draethaf yr awrhon yn unic am yr hwn a wneir i Ddynion; a hwn a âll ddychwel, i fód yn llŵ celwyddog, naill

Addewidiol.

ai wrth, neu gwedi ei gymmeryd. Ar amser ei gymmeryd ef, y mae 'n gelwyddog, os naill ai nid oes gennifi y prŷd hynny fwriad difrifol i'w gwplhau ef, neu pan gymmerwyf ef mewn synniad amgenach nag y gwn ei fôd ef, i ba ûn yr wyf yn gwneuthur yr Addewidd, yn ei deall ef, canys gan mae Defnydd *llwon* y'w i siccrhau nhw i ba rai y gwneir hwynt, rhaid yw ei cymmeryd nhw yn ei synniad hwynt. Ond er mor ddiragrith fyddwyf wrth gymmeryd y llŵ, os myfi gwedi hynny ni *chwplháf* ef, yr wyfi 'n ddiammeu gwedi tyngu *anudon*. Sul. 4.

3. Gan fód Natur llŵ gan hynny fal hyn yn rhwymo, fe weddai'n dda i ni edrych ar fod Defnydd ein llŵon ni yn gyfreithlawn, onidè 'r ydyni ein taflu ein hunain i fagl resynol, megys er Esampl, bwriwch i mi dyngu y lladda 'i ŵr, os cyflawnaf fy llŵ yr wyf yn euog o *lofruddiaeth*, os torraf ef, o *anudonedd*; Ac felly 'mae'n rhaid i mi bechu'r nail fford neu'r llall: ond nid oes dim ân dŵg ni i uwch râdd o'r angenrhaid annedwydd hwn, na phan dyngon ni ddau lŵ, y naill yn union yn groes ac yngwrthgwyneb i'r llall. Canys os tynga 'i y rho'i i ddŷn fy holl olud, ac ar ól hynny tyngu y rho'i y cwbl neu ran o'r Golud hwnnw i ûn arall, rhaid i mi yn ddiammeu dorri fy llŵ i un o honynt hwy, oblegid ammhossibl yw gwplhau a *phôb ûn* o honynt, ac felly mae'n rhaid i mi dyngu *anudon*. Ac y mae pób dŷn yn ei ddwyn ei hûn i'r cyfyngdra dyrys hwn, yr hwn a gymmer ûn llŵ sydd yn croesu ûn arall a gymmerodd ef o'r blaen; yr hyn a ddylei beri i bawb sydd yn caru Duw neu'i Heneidiau ei hunain lawnfwriadu na rwydan Llwon anghyfreithlon.

Dosf. 4. dan nhw byth mo honynt ei hunain felly trwy gymmeryd un llŵ i groesu a gwrthwynebu 'r llall. Ond ysgatfydd fe ofynir ymma, bêth a wná 'r hwn a'i dygodd ei hûn yn barod i'r cyflwr ymma? mi attebaf, rhaid iddo yn *gyntaf* yn ddifrifol *edifarhau* am y pechod mawr hwnnw o gymmeryd llŵ *anghyfreithlon*, a chwedi hynny Sefyll yn unic wrth yr ûn *Cyfreithlon* yr hyn yw'r cwbl yn ei allu ef i adgyweirio ei fai, ac i'w gymmhwso 'i hûn i bardwn Duw am hynny.

4. Gwedi i ni draethu hyn ynghylch y Rhywogaethau o'r Pechod hwn o *Anudonedd*, mi a addroddaf yn unig ychydig eiriau i ddangos i chwi faint y *di-anrhydeddir Enw Duw* trwy hyn. Ymmhób llwon, chwi a wyddoch, fód yn galw Duw yn barchedig i dystiolaethu gwirionedd y peth a draethir, yn awr os celwyddog a fydd y péth, nid all fód fwy o wradwydd ac ammharch i Dduw. Canys mewn rheswn y mae 'n arwyddoccáu ûn o'r ddau béth hyn, naill ai'n bód ni yr credu na ŵyr ef pa ûn a'i gwir a'i peidio yn ydyn i yn ei dywedyd (ac hynny yw i wneuthur ef heb fôd yn Dduw, sef tybied ei fôd ef mor hawdd ei dwyllo a'i siommi ac ûn o'n Cymydogion anneallus) neu ynteu ei fód ef yn fodlon i amddiffyn ein *celwyddau* ni; y mae'r *cyntaf* yn ei yspeilio ef o'r *Rhagorfraint* rhagorol honno, *ei fód ef yn gwybod pób péth*, yr hyn sydd yn ddiammeu yn ammarch ddirfawr o hono ef, gan fód *Dynion* yn cyfrif hynny yn fwyaf ammarch, gael ei cyfrif yn gymmwys i'w siommi; etto felly 'r ydyni 'n gwneuthur a Duw, os nyni a ryfygwn dyngu *anudon* tan obaith nad yw Duw yn dirnad hynny. Ond y mae 'r llall etto

yn waeth, oblegid tybied ei fód ef yn amddiffyn ein *Celwyddau* ni, yw ei wneuthur ef yn gyfrannog o honynt; ac nid yw yn unic yn ei ddadwneuthur ef yn *Dduw* (gan mae ammhossibl yw i Dduw ddywedyd celwydd ei hûn, nag ychwaith bodloni iddo mewn ûn arall) ond y mae hynny yn ei wneuthur ef yn debyg i'r *Cythrael*: Canys efe sydd yn *gelwyddog*, ac yn *Dâd* iddo, *Jo.* 8. 44. Ac yn ddiammeu nid rhaid i mi ddywedid ychwanneg i brofi mae hyn yw 'r râdd uchaf o *Ddianrhydeddu Enw Duw*. Snl. 4.

5. Ond os oes neb etto yn ammeu echryslonrwydd y pechod hwn, ystyried ond y peth a ddywed Duw ei hun am dano ef yn y *Trydydd Gorchymyn*, lle y mae ef yn traethu yn gyhoeddus, *nad gwirion gantho ef yr hwn a gymmero ei Enw ef yn ofer*; a diammeu fod adroddi hyn at y *Gorchymyn hwn*, ac heb at yr ûn o'r lleill, yn nodi hwn allan am yr Euogrwydd echryslonaf. Ac os edrychwch yn *Zac.* 5. chwi a gewch weled yno, fôd y *gospedigaeth* yn gyffattebol, iè i *lwyr ddinistr* nid y *dŷn* yn unic, ond ei Dŷ hefyd, Fe berthyn gan hynny i bôb dŷn, fal y maent yn caru ei Dedwyddwch *amserol* neu *dragywyddol*, ei cadw ei hunain yn ddiwyd oddiwrth y pechod hwn. Lwon Ofer.

Ond heb-law hwn o *Anudonedd*, mi a dywedais i chwi fôd máth arall o *lwon*, trwy ba rai yr ammherchir Enw Duw; y rhai hynny yw *llwon ofr* ysgoewan, y cyfryw ac sydd mor arferol yn ein haraith gyffredinol, ac a waherddir yn amlwg gan *Grist*, Matth. 5. 34. *Ond yr wyfi'n dywedyd i chwi, na thwng ddim, nac i'r nêf, canys gorseddfa*

Dos. 4. *gorseddfa Duw yw* ; *nac i'r Ddaiar*; *canys mainge ei droed ef ydyw* : lle y gwelwch nad ydys yn rhoddi cennad i ni i dyngu myn hŷd yn oed y Creaduriaid, oblegid y *Perthynas* sydd rhyngddynt a Duw. Pa anraslondeb dirfawr gan hynny yw halogi ei Enw Sanctaidd ef trwy fyrbwyll ac *Ofer lwon* ? Y mae hwn yn bechod yr hw ( ni wn i trwy ba *Swyn-gyfaredd Satan* ) a dyfodd yn arfer yn ein mysg ni ; ac ar awrhon gan ei bôd hi felly, y mae hi'n denu beunydd fwy o ddynion atti : Ond cofiwn pan ymddangoson ni ger bron *gorseddfaingc* Duw, i atteb am *Halogi* felly ei Enw ef, na bydd ond escus gwael i' ni ddywedydd, mae 'r *Arfer* oedd gwneuthur felly : yn hyttrach fe anghwanega ein *Heuogrwydd* ni, ddarfod i' ni trwy ein *ymarfer* ein hunain helpu ar gadarnhau 'r arfer ddiffaith honno, yr hon a ddlesyn ni ei churo i lawr a'i gwrthsefyll.

6. A diammeu béth bynnag y mae yr *Oes* halogedig hon yn ei dibied, y mae hyn yn bechod aruthrol. Canys heb law fód hynny yn drosseddiad eglur *Gorchymyn Crist*, y mae yn dangos, yn *gyntaf* dybygoliaeth wael ac issel iawn o Dduw : y mae pób llŵ a dyngon ni yn appelad at Dduw i farnu gwirionedd y peth yr ydyni yn ei draethu, a chan ei fôd ef o gymmaint mawrhydy, fe ddyle 'r achos, ynghylch pa ûn yr appelioni fal hyn atto ef, fod yn béth pwysfawr, sef, rhywbeth a berthyn naill a'i i'w *Ogoniant* ei hûn, neu ryw ddaioni hynod i ddŷn. Ond pan *dyngon* ni yn ein haraith gyffredinol, y mae ymmhell oddiwrth hynny ; fe a wasanaetha 'r peth gwaelaf, a diystyraf i fód yn ddefnydd

o Lŵ; iê, gan mwyaf fe sydd Dynion yn *tyngu* Sul. 4.
i'r cyfryw bethau ofer ac ynfyd, ac y byddei gywilydd gan ŵr pwyllog yn unig ei traethu. Ac onid yw 'n ddirmygiad dirfawr o Dduw, ei alw ef yn gyhoeddus farnu mewn pethau mor wael a babanaidd? Duw yw *Brenin* mawr y Bŷd, yn awr er y gellir cynniweirio at *Frenin* ynghylch pethau *pwysfawr*, etto yn ddiammeu fe debygei fôd yn ddiystyru ef yn ddirfawr, os gelwid arno ef i farnu rhwng *Plant* yn ei chwaryddion bachgennaidd: ac fe wyr Duw fód llawer o'r pethau y byddwn i'n fynych yn tyngu iddynt, yn gwbl cyn *waeled*, ac ydynt gan hynny yn arwydd nad ydyni yn iawn ystyried o Dduw.

7. Yn *ail* y mae 'r llwon cyffredinol ymma yn bechod sy'n denu yn union i'r llall o *anudonedd*; canys yr hwn trwy ymarfer tyngu a wnaeth Llwon yn gynnefin iddo, a fydd tebyg i gymmeryd y llw creulonaf yn ddiarwybod. Canys pa fodd y dichon ef yr hwn sydd yn *tyngu* bób awr, edrych yn barchedig ar Lŵ? a'r neb nid yw felly, y mae 'n rhaid diolch i'w ddamwain ef yn fwy na'i ofal, os efe a ymgeidw oddiwrth *Anudonedd.* Iê ymmhellach, y neb sydd arferol o dyngu, nid ydyw ef yn unic yn barod i *dyngu anudon* pan gynnygi'r iddo Lŵ cyhoeddus, ond sydd mewn cyffelybrwydd yn fynych yn *tyngu* anudon yn ei *Lwon Diffymmwyth* hynny: canys bwriedwch ei bôd hwynt yn dyfod oddiwrth ddyn yn fyrbwyll (yr hwn yw 'r peth goreu a ellir i ddywedyd am danynt) pa siccrwydd sydd gan ûn Dyn a dynga yn fyrbwyll, na ddywed ef hefyd gelwydd felly? Ac os gwna fo 'r Ddau hyn o'r unwaith, y mae

fe

Pos. 4. fe 'n ddiammeu gwedi *Tyngu anudon*. Ond y néb a ddeil sulw ar y rhai a fyddant *arferol* o *dyngu* ni ammheua fo nad ydynhw 'n fynych gwedi *tyngu anudon* eusys. Canys y maent yn arferol o dyngu 'n ddiragor i wîr neu gelwydd, i bethau *ammheus* neu *hyspus*. Ac yn ddiammeu pe ond ymmholai y rhai sydd yn euog o'r pechod hwn, a'i hymarfer eu hunain yn ddiduëddol, fe fyddei eu Calonnau nhw yn unfryd a misi yn yr ystyriaeth hon.

8. Yn *drydydd* y mae hwn yn bechod nad oes dim Temptasiwn iddo, nid oes dim pleser na Lleshâad i'w gael oddiwrtho; y mae 'rhan fwyaf o bechodau eraill yn cynyg i ni béth o'r naill, neu 'r llall, ond nid oes yn hwn ddim o'r ûn ddau. Yn gymmaint nad yw'r *Cythrael* yn y pechod hwn yn chwareu 'r *marsiandwr* am ein *Heneidiau* ni, megys y mae fo mewn pechodau eraill; nid ydyw ef cymmaint a'i bargennio nhw, ond yr ydyni yn ei rhoddi nhw i'w ddwylo ef yn rhâd, heb ddim mewn *cyfnewid*. Nid ydyw possibl i ddynion ddisgwyl ennill ond ûn peth trwyddo ef, a hynny yw, cael ei coelio yn y péth y bónt yn ei draethu, gan ei bod fal hyn yn ei rwymo ef a Llŵ. Ond y maent yn wastad yn dyfod yn fyrr o hyn; canys nid oes néb a goelir lai na 'r rhai a fo 'n *Tyngu* yn gyffredinol. A Rheswm da, oblegid y néb nid yw fal hyn yn gwneuthur cydwybod o *halogi Enw Duw*, paham y credá ûn Dŷn y gwná ef gydwybod o ddywedyd Celwydd? Iê y mae 'n hyttarch ei parodrwydd nhw i gadarnhau pob pêth gwaelaf trwy Lŵ, yn rhoi ychwaneg o Achos i dybied fôd ganddynt o'i mewn ryw euogrwydd o *ffalsedd*, tros

ba

ba ûn y bydd raid i'r *llw* hwnnw fod yn *Orthgudd.* Sul. 4.
Chwi a welwch gan hynny cyn lleied a dál hyn iddynt, jë i'r pwrpas hwnnw i ba ûn y gallant hwy yn unig gymmeryd arnynt ei fód yn fuddiol: ac i ûn bûdd arall nid yw ef yn gwneuthur yr hawl lleiaf; y mae hwn gan hynny yn bechod heb demptasiwn, ac felly 'n anescusodol; canys y mae ef yn dangos y *gwradwydd* a'r *anniolchgarwch* mwyaf i Dduw ar á all fód, pan foni fal hyn yn ei annog ef i ddigofaint heb ddim i'n llithio ni. Er darfod gan hynny i *gyffredinoldeb* y pechod hwn wneuthur iddo bassio am ûn gwael, etto y mae fo'mhell o fód felly yntho'i hûn, nag yngolwg Duw.

9. Bydded pawb gan hynny, y rhai ni syrthiasant etto i arferu'r pechod hwn, yn draofalus na *chydsynniont* a'r dechreuad lleiaf o hono; ac am y rhai sydd mor druenus, a bód gwedi ei maglu'n barod yntho ef, ceisant yn ebrwydd, fal y Carant ei Heneidiau, ymadel ac ef. Ac na ddadleued néb, megys yn escus o'i barháad yntho ef, Anhawsder ymadel ac hén arfer, eithr yn hyttrach po hwyaf y bû ef yntho, pryssured yn gynt o hynny i ymadel ac efo, gan dybied yn ormod ddarfod iddo cyhyd barhau mewn pechod mor ddirfawr. Ac os darfu i barháad yr Arfer ymma wneuthur yn anhawsach ymadel ac hi, fe a ddyle'n hyttrach ymosod allan o law i'w thaflu hi ymmaith, rhag i'r *anhawsder* hwnnw gynnyddu o'r diwedd i *ammhossiblrwydd*, a pho anhawsaf y gwél ef hyn yn y cyfamser, fe ddylei fód o hynny yn fwy diwyd a gwiliadwrus i arferu'r holl foddion hynny, y rhai a duedda tu ag at orchfygu 'r afer bechadurus honno: ni bydd

ar

Dos. 4. ar fai crybwyll ymma am rai o'r moddion hynny.

10. Yn *gyntaf*, meddianned ei feddwl yn *hollawl* o *resynoldeb* y pechod, ac nid ei fesur ef yn ól bri cyffredinol y bŷd yn unic. A chwedi iddo ei ddwyn ei hûn i jawn ddeall eu *euogrwydd* ef, yna ymmhellach, ystyried ei *enbydrwydd* ef, Sef i fód yn ei Yspeilio ef o ffafr Duw yn y cyfamser, ac ai teifl ef, os efe a barháa yntho, i *Uffern* yn dragywydd. Ac yn ddiammeu pe iawn Ystyrid hyn, fe attalici hynny'r pechod hwn: Canys mi a ofynnwn i'r cyfryw ûn ac sydd yn cymmeryd arno fód yn *ammhossibl* iddo ymadel ar *arfer* hon pe byddei 'n siwr o gael ei *grogi* y *Llw* nessaf ar a dyngai ef, oni wnai Ofn hynny iddo ymgadw rhag *tyngu?* Prŷn y Creda fi fod ûn dyn (yn ei gôf) cyn lleied *Meistr* arno 'i hûn, na wnai hynny. Ac yna'n ddiammeu y mae *Damnedigaeth* yn waeth na *chrogfa*, yn gymmaint ac y dyle ofn hynny fod yn fwy *attal* rhag Tyngu. Yr wyf yn ammeu, naill ai nad yw Dynion yn *credu* 'n ddifrifol y *Damnu* 'r *Pechod* hwynt, neu os ydynt, y maent yn edrych ar hynny megys peth o hirbell, ac felly nid yw'n cynnhyrfu fawr arnynt; ond y mae pób ûn o'r ddau hyn yn anrhesymmol iawn. Am y *Cyntaf*, diammeu yw, fód pób dyn, tra'i bo fo o'i *wirfodd* yn parhau mewn ûn pechod, mewn cyflwr *Damnedigaeth* tros y prŷd hynny, a thra'i parheir gan hynny felly yn hwn, rhaid yw i ddyn fod yn y cyflwr hwnnw. Am yr *ail*, Ysgatfydd y mae fe 'n camgymmeryd, gan *dybied*, ei fód ef cymmhelled oddiwrtho, canys pa fódd y gŵyr ûn dyn na tharewir ef yn farw a *Llw* yn ei enau? Neu pe byddei'n siccr na bydd hynny,

etto

etto y mae damnedigaeth dragywyddol i'w har- Sul. 4.
swydo uwchlaw pob beth, er pelled sytho oddiwrthym ni.

11. Yr *ail módd* yw bôd yn gwbl *Eir-wir* yn dy holl ymadroddion, fal y Credo pób Dyn dydi ar dy Air noeth, aç yna ni bydd iti sŷth achos i'w gadarnhau a *Llw*, er mwyn eu wneuthur ef yn fwy credadwy, yr hyn yw'r unic *rith* neu reswm a all dyn ei gymmeryd arno ûn amser am *Dyngu*.

12. Yn *drydydd* Ystyria pa beth sydd fwyaf yn dy *fradychu* di i'r pechod hwn, pa ûn a'i *diod*, a'i *digter*, neu *gyfeillach*, aç esampl rhai eraill, neu pa beth bynnag arall, aç yna os wyti ûn amser yn bwriadu ymwrthod a'r *pechod*, ymwrthod a'r *achosion* hynny o honynt.

13. Yn *bedwerydd*, ymegnía i feddiannu dy galon a *pharaus Anrhydedd* o Dduw, ac os cynnydda hynny unwaith yn *arfer* gyda thi, fe a ddadymchwel yn ebrwydd y llall o *halogi* ei *Enw* ef. Arfera gan hynny a chynnefina dy hûn i'r *Anrhydedd* ymma o Dduw, ac yn enwedig i'r cyfryw barch o'i *Enw* ef, aç os bydd bossibl, na bo i ti ûn amser ei grybwyll ef heb ryw dderchafiad o'th Galon atto ef. Jë pa brŷd bynnag y cymmeri di yn dy ymadroedd cyffredinol ei Enw ef yn dy enau, bydded hynny yn achos o dderchafu i fynu dy feddyliau atto ef. Ond er dim na oddefa i ti dy hûn ei arferu ef yn dy *Siaradach* ofer, neu 'r cyffelyb. Os tydi a'th *cynnefini* dy hûn i dalu'r *Anrhydedd* hwn wrth grybwyll yn unig am ei *Enw* ef, fe sydd hynny yn

Dos. 4. yn amddiffynsa ragorol yn erbyn ei *halogi* ef trwy Lwon.

14. Y *pummed* modd yw, gwilio yn ddiwyd ac yn wastadol arnat dy hun na *chyfeiliornech* fal hyn a'th *dafod*, heb ba ûn ni thál yr holl foddion eraill ddim. A'r modd diweddaf yw *Gweddi*, yr hon sy raid ei hadroddi at dy holl ymegnion di; *gweddia* gan hynny yn ddifrifol ar fod i Dduw dy gynnorthwyo di i orchfygu'r arfer ddrwg hon; dywed gyda'r *Psalmydd*, *Gosod gadwriaeth, o Arglwydd o flaen fyngenau, a chadw ddrws fyngwefusau*; Ac os dydi a'th ymesyd dy hûn yn ddiragrith i arferu'r *moddion* er mwyn hynny, di a elli fód yn sicer na bydd Duw yn ól o'i *Gymmorth* iti. Mi a fum yn hŵy ar hwn, oblegid ei fód ef yn bechod mor llywodraethus yn ein mysg ni. Duw o'i Drugaredd a ganiadhao i bawb sydd yn euog o honaw jawn ganfod ei echryslonrwydd ef.

15. Chwi a ellwch ddeall wrth yr amryw ffyrdd hyn o *ddi-anrhydeddu Enw Duw*, beth yw'r Ddlêdd-swydd o'i *Anrhydeddu* ef, sef ymgadw yn ddiwyd oddiwrth bób ûn o'r rhai hyn, a sylfaenu'r *ymattal* hwnnw a'r *Anrhydedd* ac *Urdduniant* parchedig i'r Enw cyssegredig hwnnw, yr hwn sydd *fawr*, ofnadwy, a *Sanctaidd*, *Psal.* 99. 3. Mi a dreuddiais bellach trwy'r amryw rannau o'r Ddled-swydd fawr honno o *Anrhydeddu* Duw.

Ezek. ps. 95. 6. vide pag. 130



Sul: 5.

L... Jany. 31. 702
Lamma May. 13. 705

# DOSPARTHIAD. V.

*Am Addoliant dledus i Enw Duw. Am Weddi, a'i hamryw Rannau. Am Weddiau cyhoedd yn yr Eglwys, yn y Teulu. Am Weddi neillduol. Am Edifeirwch, &c. Am Ympryd.*

1. YR Wythfed Ddled-swydd sydd arnoni i Dduw yw Addoliant; hynny yw 'r Ddled-swydd fawr honno, trwy ba ûn yn bennaf yr ydyn i yn cydnabod ei *Dduwdod* ef, gan fôd *Addoliant* yn unic yn *briodol* i Dduw, ac am hynny, rhaid yw edrych ar hon megys *Dled-swydd* pwysfawr. Hon a gyflawnir, yn *gyntaf* gan ein *Heneidiau*, yn *ail*, gan ein *Cyrph*: Rhan yr *Enaid* yw *Gweddio*. Yn awr *Gweddi* yw ymddiddan a Duw, ac y mae amryw rannau o honi, yn ôl yr amrafael bethau y boni yn ymddiddan am danynt. Addoliant. Gweddi, ei hamryw rannau.

2. Megys yn *gyntaf*, *Cyffes*, hynny yw, cydnabod ein Pechodau ger bron Duw. Ac hyn a ddichon fôd, naill ai'n *gyffredinol* neu yn *neillduol*; *gyffredinol* yw pan foni yn unic yn cyffessu yn *hollawl*, ein bód ni yn bechadurus; y *neillduol*, pan foni yn adrodd yr *amryw* weithrediadau a rhywogaethau o'n pechodau. Rhaid yw i'r *cyntaf* fód yn wastad yn rhan o'n Gweddiau cyhoeddus ni, pa ûn bynnag ai'n *Bublic*, ai'n *neillduol*. Cyffes.

Dos. 5. Y llall a berthyn i weddi neillduol, ac yno goreu po mynychaf yr arferir hi; jë, fe weddai i ni yn ein *Gweddi* neillduol feunyddiol gofio yn wastad rai o'n Pechodau *mwyaf* ac *echryslonaf*, er cymmaint sydd er pan aethant hwy heibio. Canys y cyfryw rai ni ddyleni byth dybied ddarfod i ni ei cyffessu a galaru yn ddigonol o'i plegid. A rhaid yw i'r *Galar* hwn yn wastad fyned ynghyd a *Chyffes*; rhaid i ni ymofidio yn ddifrifol am y pechodau y boni yn ei *cyffessu*, a chydnabod o eigion ein Calonnau ein annheilyngdod dirfawr yn ei gwneuthur hwynt. Canys nid diben ein *Cyffes* ni yw addyscu Duw, yr hwn a ŵyr ein pechodau ni yn well na ni ein hunain, ond i'n darostwng ein hunain; am hynny na thybiwn ddarfod i ni gyffessu yn jawn, nes y bo hynny gwedi i wneuthur.

Archiad.

Am ein Heneid-iau.

3. Yr *ail* rhan o *Weddi* iw *Archiad*, hynny yw, erfynniad ar Dduw beth bynnag a fo arnoni eisieu i'n *Heneidiau* neu'n *Cyrph*. I'n *Heneidiau* rhaid yw i ni yn *gyntaf*, erfyn Maddeuant o'n pechodau, a hynny er mwyn *Jesu Grist*, yr hwn a dywalltodd ei waed er mwyn hynny. Yna rhaid i ni eiriol Grâs a chymmorth *Yspryd Duw* i'n cynnorthwyo ni i ymadel a'n pechodau, a rhodio mewn *Ufydd-dod* iddo ef. Ac ymma angenrhaid fydd erfyn yn neillduol yr holl amryw *Rinweddau*, megys *Ffydd*, *Cariad*, *Zél*, *Purdeb*, *Edifeirwch*, a'r cyffelyb, ond yn enwedig y rhai hynny sydd arnati fwyaf ei heisiau: Am hynny Ystyria beth yw dy angenrheidiau, ac os wyti 'n *falch* gweddiá 'n daer am *Ostyngeiddrwydd*; os *anllad*, am *Ddiweirdeb* : ac felly am bób *Grasau* eraill, yn ól y gweli dy Angenrheidiau. Ac yn

yr

yr holl bethau hyn a berthyn i'r *Enaid*, bydd Sul. 5.
yn daer iawn ac yn haerllug; na chymmer ûn naccá gan Dduw, ac na ddyro heibio, er nad wyti yn y mann yn *cael* y peth yr wyti 'n ei geisio, canys er cyhyd y darfu i ti weddio am *Râs*, ac etto heb ei gael, na flina'n gweddio, eithr yn hyttrach chwilia beth yw'r achos sydd yn gwneuthur dy *Weddi* mor anghymmeradwy; edrych a'i ti dy hûn sydd yn ei rhwystro hwynt; ysgatfydd, yr wyti 'n gweddió ar i Dduw dy gymmorth di i orchfygu rhyw Bechod, ac etto heb ûn amser ymroi i ymladd yn ei erbyn ef, na gwneuthur gwrthymdrech yn y bŷd iddo, ond ymroi iddo cyn fynyched ac y delo, jé, dy osod dy hûn ar ei ffordd ef, ac yn llwybr pobrhyw Brofedigaethau. Os fal hyn y mae, nid rhyfedd os ni thyccia dy Weddiau-di ddim, oblegid ni oddefi di iddynt. Am hynny, diwygia hyn, ac ymro 'n ddifrifol i wneuthur dy ran di, ac yna nid rhaid i ti ofni na wná Duw ei ran ynteu.

4. Yn *ail*, rhaid i ni erfyn hefyd tros ein *Cyrph*, hynny yw, rhaid i ni ofyn gan Dduw y cyfryw-bethau ac sydd angenrheidiol i'n bywyd, tra y byddoni *byw* ymma. Ond y rhai hyn yn unic yn y cyfryw *râdd* a *mesur* ac y gwelo ei *Ddoethineb* ef fod yn oreu i ni; ni wasanaetha i ni ryfygu torri atton ein hunain, neu weddio am yr holl *olud*, neu *fawredd* hynny, y bo ein Calonnau ni ysgatfydd yn ei chwennych, ond yn unic am y cyfryw gyflwr oddiallan, ac a welo ef fód fwyaf yn tueddu at y dibennion mawr hynny o'n bywyd ymma, ei *Ogoneddu* ef, a *chadw* ein *Heneidiau*.

Am ein Cyrph.

Dos. 5.

Adolwyn. 5. *Trydydd* ran o Weddi yw *Adolwyn*, hynny yw, pan weddion ar i Dduw droi ymmaith rhyw ddrŵg oddiwrthym ni. Yn awr fe áll y *drwg* hwn fod naill ai drŵg *Pechod*, neu ddrwg *Cospedigaeth*. Rhaid i ni yn enwedig weddio yn erbyn drŵg *Pechod* gan erfyn yn daer ar Dduw, fód iddo éf trwy allu ei *Râs* ein cadw ni rhag *Syrthio* i Bechod. Ac yn enwedig ymbilia 'n ddifrifol ar fód i Dduw dy gadw di rhag y Pechodau hynny y gwyddost dy fôd fwyaf yn tueddu attynt. Hyn sydd raid ei wneuthur beunydd, ond yn fwy enwedig y prŷd hynny, pan foni tan ryw *Brofedigaeth bresennol*, ac mewn perigl o Syrthio i ryw Bechod, ymmha gyflwr y mae i ni achos i waeddu allan gyda St. *Pedr*, pan welodd ef ei hûn ym mron suddo, *Achub Arglwydd, neu fe ddârfu am danaf*; gan erfyn yn ostyngedig arno éf naill ai *tynnu ymmaith* y Temptasiwn, neu'n *cryfhau* ni i'w wrthsefyll ef; ac nid allwn wneuthur na'r naill na'r llall o honom ein hunain.

Drwg Pechod.

Drwg cospedigaeth. 6. Yn *ail* Rhaid i ni hefyd weddio yn erbyn *Drwg Cospedigaeth*, ond yn bennaf yn erbyn *Cospedigaethau ysprydol*, megys *Digofaint* Duw, *Gwaharddiad* ei *Râs* ef, a *Damnedigaeth dragywyddol*. Yn erbyn y rhai hyn nid allwni byth weddio yn rhy ddifrifol: ni a allwn hefyd weddio yn erbyn *Cospedigaethau amserol*, hynny yw, *trallod oddiallan*, ond hyn trwy *ymddarostyngiad* i Ewyllus Duw, yn ol Esampl Crist, Mat. 26. 39. *Nid fel yr ewyllyswyfi, ond fel yr ewyllysiech di.*

Cyfryngiad. 7. *Pedwerydd* ran Gweddi yw *Cyfryngiad*, hynny yw, Gweddio tros eraill. Rhaid i ni

wneuthur

wneuthur hyn yn *gyffredinol* tros holl ddynol Ryw, yn gystal *dieithriaid* a *chyfnesseifiaid*, ond yn fwy *neillduol*, tros y rhai sydd o Berthynas yspysol i ni, naill ai 'n gyffredinol, megys ein *Lywiawd-wyr* gystal yn yr *Eglwys* a'r *Deyrnas*; neu yn wahanredol, megys *Rhieni*, *Gwr*, neu *wraig-briod*, *Plant*, *Ceraint*, &c. Rhaid yw i ni weddio hefyd tros bawb a'r sydd mewn trallod, a'r cyfryw rai yn neillduol, y boni yn enwedig yn ei ddirnad i fód felly: jé rhaid i ni weddio tros y rhai a wnaeth *gam* a ni, ac a'n *drygant* ac a'n *berlidiant*, canys hyn yw hynod Orchymyn Crîst, *Mat.* 5. 44. Ac fe roes ef ei hûn i ni'r Esampl fwyaf o hyn trwy weddió tros ei groeshoelwyr, *Luc.* 23. 34. *O Dad maddeu iddynt.* Tros yr holl fáth ymma o ddynion y mae 'n rhaid i ni weddió, a hynny am yr unrhyw bethau daionus ac a ersynioni troson ein hunain, ar fôd i Dduw roddi iddynt yn ei hamryw leoedd a'i galwedigaethau bób Bendithion Ysprydol ac amserol a welo ef fêd yn diffygiol arnynt, a throi ymmaith oddiwrthynt bób drwg, pa ún bynnag ai o *Bechod* neu o *Gospedigaeth*. Sul. 5.

8. *Pummed* Rhan gweddi yw *Diolchgarwch*, hynny yw, *Moliannu* a *Bendithio* Duw, am ei holl Drugareddau, pa ûn bynnag ai i ni ein hunain, ai i'n perthynas nessaf, neu yntau i'r *Eglwys* a'r *Deyrnas* yr ydyni yn aelodau o honynt, neu etto yn fwy cyffredinol i holl *Ddynol ryw*; a hynny am ei holl Drugareddau yn gystal Ysprydol ac amserol. Yn yr *Ysprydol*, yn gyntaf, am y rhai sydd yn perthyn i ni i gyd yn *gyffredinol*, megys rhoddiad ei *Fâb*, danfoniad ei *Yspryd*, a'r holl foddion hynny a arferodd ef er Diolchgarwch.

Dos. 5. mwyn tynnu Dynion pechadurus atto 'i hûn. Yna yn *ail*, am y Trugareddau hynny a dderbyniasom ni yn *neillduol*, megys ein bód gwedi ein geni o fewn corlan yr *Eglwys*, a'n dwyn i fynu yn y *Grefydd Cristianogawl*, trwy ba ûn y buon gyfrannogion o'r holl Ragorfreintiau *gwerthfawr* hynny o'r *Gair*, a'r *Sacramentau*, ac felly a gáwsom, heb ein gofal na'n poen ein hunain, foddion ein bywyd tragywyddol gwedi ei dodi yn ein dwylo. Ond heblaw hyn, nid oes y rún o hononi na dderbyniasoni drugareddau ysprydol eraill oddia'r law Duw.

Trugareddau ysprydol.

9. Megys yn gyntaf, *Dioddefgarwch* ac amynedd Duw, yn hir aros am ein Hedifeirwch, heb ein torri ni ymmaith yn ein Pechodau. Yn *ail*, ei Alwad a'i wahoddiad ef i ni i'r edifeirwch hwnnw, nid yn unic oddiallan, trwy weini dogaeth y *Gair*, ond hefyd oddifewn, trwy gynnhyrfiadau ei Yspryd. Ond os darfu i'r Galwedigaethau hyn trwy gynnorthwy *Grâs* Duw weithio arnati, a'th ddwyn o fuchedd fydol halogedig i fuchedd *Gristianogawl*, yna 'n ddiammeu 'r wyti yn y râdd uchaf yn rhŵym i fawrhygu a moliannu ei ddaioni ef, gan iti dderbyn gantho ef y Drugaredd fwyaf a all fôd.

Amserol.

10. Rhaid i ni hefyd ddiolch am *Fendithion Amserol*, pa ûn bynnag ai y cyfryw rai ac a berthyn i bawb yn *gyffredyn*, megys *Llwyddiant* yr *Eglwys*, neu 'r *Deyrnas*, a phob *ymmaredau* hynod i bób ûn o'r ddau; neu yntau y cyfryw ac a berthyn i ni ein hunain yn neillduol; y rhai ydyw 'r holl bethau da y bŷd hwn yr ydyn i 'n i fwynhau; megys *Iechyd*, *Ceraint*, *Ymborth*,

*bortb*, *Gwiscoedd*, a'r cyffelyb ; ac hefydd am yr amddiffynniadau hynny trwy ba rai i'n cedwir bôb munyd rhag perigl trwy rasusol rhagluniaeth Duw ; a'r ymwared *enwedigol* a roddes Duw i ni yn amser yr Enbydrwydd mwyaf. Ammhossibl yw gosod ar lawr yr amryw Drugareddau y mae pob dŷn yn ei derbyn gan Dduw, oblegid ei bôd yn rhagori mewn *rbyw* a *mesur* rhwng y naill ddyn a'r llall. Ond y mae 'n siccr fôd i'r hwn a dderbyniodd leiaf ddigon o achos i dreulio' i holl fywyd yn *Moliannu* Duw. Ac fe syddei 'n dra-chymwys i bôb dyn ystyried yr amryw *rannau* o'i fywyd, a'r *Trugareddau* a dderbynniodd ef ymmhób ûn, ac felly cynnull ynghydd megys *Llyfran*, neu *Gatalog* o honynt, o'r lleiaf y rhai pennaf o honynt, y rhai a ddichon ef yn wastad ei coffhau, a'i hadrodd yn fynych ger bron Duw a chalon ddiolchgar. Sul. 5.

11. Y rhai hyn yw amryw Rannau *Gweddi*, a'r cwbl i'w harferu yn gystal yn gyhoeddus ac yn neillduol. Yr arfer gyhoeddus o honynt sydd yn *gyntaf*, yn yr *Eglwys* lle y mae pawb yn ymgyfarfod i gydsylltu yn y *Gweddiau* hynny y rhai a berthyn i bawb yn *gyffredinol*. Ac nyni a a ddylen ( lle y mae y *Gweddiau* yn y módd y dylent fôd) gyrchu yn wastadol at y rhai hyn, gan fod Bendith enwedigol gwedi ei haddaw i ddeisyfiadau *cyssylltiedig* y ffyddloniaid, ac y mae 'r neb a' habsenno ei hunan heb achos cyfreithlawn oddiwrth y cyfryw *Weddiau cyffredin*, yn ei torri ei hunain oddiwrth yr *Eglwys*, yr hin yn wastad a edrychwyd arno yn beth mor annedwydd, a'i fôd ef yn *Gospedigaeth* trymmaf a all *Llywodraeth-wŷr* yr *Eglwys* ei osod ar y Trosseddwr

Gweddi gyffredinnol yn yr Eglwys.

Dos. 5. gwaethaf; ynfydrwydd rhyfeddol gan hynny yw, i Ddynion osod hynny arnynt ei hunain.

Yn y Teulu.

12. *Ail* máth ar *Weddi Gyffredin* yw honno yn y *Teulu*, lle y mae 'r holl Dylwyth yn cydsylltu yn eu deisyfiadau cyffredin; a hon hefyd a ddylid yn ofalus ei harferu ai dyfal ystyried, yn gyntaf gan y *Penteulu*, yr hwn sydd i edrych ar fod y cyfryw *Weddiau*, oblegid fód yn perthyn iddo ef yn gystal baratoi i *Enediau* ei Blant a'i Wasanaethyddion, a pharatoi ymborth i'w *Cyrph* hwynt. Nid oes neb gan hynny, hyd yn oed y *Penteulu* gwaelaf na ddylei ofalu am hyn. Os medr naill ai ef ei hûn, ai un o'i *Dylwyth* ddarllen, fe a all arferu rhai *Gweddiau* allan o ryw Lyfr da, os allan o *Lyfr-gwasanaeth* yr *Eglwys*, mae ef yn dewis yn dda; os ni fedrant ddarllen, yna fe fydd yn agenrheidiol iddynt ddyscu heb law 'r Llyfr ryw ffurf o weddi a allont hwy ei harferu yn y *Teulu*, i ba ddiben trachefn fe fydd rhai o weddiau'r Eglwys yn dra-chymwys gan ei bod hwynt yn hawdd iawn i'w coffadwraeth nhw, oblegid eu *byrdra*, ac etto yn cynnwys llawer o Ddefnydd. Ond pâ ddewisiad bynnag o weddiau a wnelont, byddant yn sicr o fôd ganddynt rai, ac na chadwed neb a'r sydd yn ei broffessu ei hún yn *Gristion*, *Deulu* mor *ddigredd*, ac na welo ef addoli Duw yntho beunydd. Ond gwedi i'r *Penteulu* wneuthur ei Ddlêd ei hun yn paratoi hyn, Dledswydd pob ûn o'r Tylwyth yw gwneuthur Defnydd o'r Paratóad hwnnw trwy fod yn wastadol ac yn ddiwyd ar y *Gweddiau Teuluaidd* hynny.

13. *Gweddi*

Sul. 5.

13 *Gweddi wahanredol* neu ddirgel yw 'r hon a arfera dyn yn unic ar wahan oddiwrth bawb eraill, ymmha ûn y bydd raid i ni sôd yn swy neillduol yn ól ein hamryw neillduol angenrheidiau, nag y gweddai i ni fod yn gyhoeddus. A'r *Weddi wahanredol* hon sydd yn Ddled-swydd nad ellir mo'i hescusodi trwy gwplhau 'r llall o Weddi *gyhoeddus*. Fe ddisgwylir pob ûn o'r ddwy, ac nid ellir cymmeryd y naill yn *gyfnewid* am y llall. A phwy bynnag sydd yn *ddiwyd* mewn Gweddiau cyffredin, ac etto yn *esgeulus* yn y neillduol y mae i'w ofni 'n ddirfawr ei fôd ef yn ceisio ei wneuthur ei hun yn gymmeradwy i ddynion yn hyttrach nag i Dduw; yngwrthwyneb i Orchymyn ein Hiachawdr, *Mat.* 6. yr hwn sydd yn gorchymyn i ni 'r *Weddi neillduol* hon, sef *gweddio ar ein Tád yn y dirgel*, oddiwrth bwy ûn yn unic y mae i ni ddisgwyl ein *gwobr*, ac nid oddiwrth ofer Glôd gan Ddynion.

Gweddi wahanredol.

14. Yn awr rhaid yw cwplhau 'r Dyled-swydd hon o *weddi* yn fynych, o'r lleiaf gan bawb y *Boreu* a *Phrydnhawn*, gan fod yn dra-angenrheidiol i ni fal hyn *ddechreu* a diweddu 'n holl orchwylion gydá Duw, ac hynny nid yn unic o herwydd y Ddled-swydd dledus arnoni iddo ef, ond hefyd o'n plegid ein hunain, y rhai ni all bŷth fôd nag yn *ddiogel* nag yn *llwyddiannus*, ond trwy 'n gorchymyn ein hunain iddo ef; ac am hynny a ddylen arwsydo osod ar Beryglon y *Dŷdd* na 'r *nós* hebei nodded ef. Rhaid yw barnu mor fynych y bydd raid cwplhau 'r Ddled-swdd hon yn ol y gorchwyl a'r neges a sydd gan ddynion; lle nid wyfi 'n meddwl, wrth *Orchwyl*, y cyfryw ac a sydd Dynion yn ansuddiol

Amlder Gweddiau.

Dos. 5. fuddiol yn ei torri allan iddynt ei hunain, ond y gorchwyl angenrheidiol o *Alwedigaeth* dŷn, yr hwn ni ddyry i rai lawer o amser i weddi gyhoeddus osodedig. Ond fe all y rhai hyn yn fynych yn y dydd dderchafu ei Calonnau at Dduw mewn rhyw rai Gweddiáu byrrion, iê tra 'i bonhw ynghylch ei gorchwyl. Am y rhai sydd ganddynt fwy o ennyd, fe ddylenhw mewn pob rheswm osod heibio fwy o amser i'r Ddledswydd hon. Ac na ddyweded nêb yr hwn sydd gantho ddigon o amser i'w dreulio ar eu wagedd, ac ysgatfydd ar eu Bechodau, fod arno ef eisiau amser i weddio, ond ymegniéd yn awr i adbrynnu 'r hyn a dreuliodd ef ar gam, trwy roi heibio o hyn allan fwy o amser yn y Ddledswydd hon: A diammeu pe iawn ystyrien 'i pa lesháad ddirfawr sydd i ni ein hunain o gwplhau 'r Ddledswydd hon, ni a dybien en synhwyrol fôd cyn fynyched arni hi, ac ydyni gan mwyaf yn anfynych ynthi hi.

L...nth. 7. feb. 702. Lanina 10 Jun: 705

Lesháad Gweddi. Anrhydedd.

15. Canys yn *gyntaf*, y mae 'n *Anrhydedd* fawr i ni *bryfed* gwael o'r Ddaiar gael ein cynnwys i draethu mor hŷf a *Mawrhydu* 'r Nêf. Os tybiei *Brenin* yn deilwng adael i un o'i Ddeiliaid gwaelaf siarad yn dráhyf ac yn hyderus ac ef, fe a eddrychyd ar hynny megys Anrhydedd ddirfawr; fe fydde 'r Dŷn hwnnw er mor ddirmygus oedd ef o'r blaen, yn genfigen i'w hol gymydogion; a diammeu efe a fydde bodlon i gymmeryd pód achlysur i dderbyn cymmaint o *barch*. Ond och! nid ydyw hyn ddim i'r *Anrhydedd* a gynnygir i ni, y Rhai sydd gennim gennad, iê a wahoddir i siarad, ac ymresymmu a *Brenin* y *Brenhinoedd*, mor barod gan hynny a ddyleni fôd i hynny?

16. Yn

16. Yn *ail* y mae 'n llesháad mawr, iê 'rmwyaf a ellir i ddychymmig; oblegid *Gweddi* yw'r offer i ddwyn i lawr i ni bôb pethau da, yn gystal ysprydol ac *amserol*; nid oes ûn *W'eddi*, yr hon a wneir fal y dylyd nad yw yn dwyn i lawr fendith, fal y dywed y gŵr *Doeth*, Ecclus. 35. 17. *Gweddi y Gostyngedig a aiff trwy y cymmylau, ac nid ymedy hi nes i'r Goruchaf edrych arni.* Chwi a dybiech hwnnw yn ŵr dedwydd, yr hwn a fydde gantho ûn modd diogel i'w helpu fo i beth bynnag a fo arno *eisieu*, er costio o hynny iddo ef lawer o boen a llafur; y cyfryw ddŷn dedwydd a elli di fôd, os mynni. *Gweddi* yw 'r modd siccr o ddwyn iti cymmaint oll ac sydd arnati ei eisieu, hynny yw, cymmaint ac a wél Duw fôd yn gymmwys, er ysgatfydd nid cymmaint ac a debygi di fôd arnati ei eisieu. Ac am hynny er maint o flinder i'r Cnawd a fo yn y Ddled-swydd, etto wrth ystyried fod arnati yn wastad *eisieu* rhyw beth neu 'i gilydd gann Dduw, yn-fydrwydd yw gadael i'r *anhawsder* hynny dy ddigalonni di, a'th gadw oddiwrth y moddion siccr hyn o gyflawni dy angenrheidiau. Sul. 5. Lesháad.

17. Ond yn *drydyd* y mae 'r Ddle-swydd hon yn-thi hun cymmhelled oddiwrth fôd yn flín a'i bôd hi en *drahyfryd*. *Duw yw ffynnon pob Dedwyddwch ac ar ei ddeheu-law ef y mae digrifwch yn dragywydd*, Ps. 16. 11. Am hynny po *nessaf* y deuwn ni atto ef, *dedwyddach* a fyddwn ni, gan fôd Llawenydd ternas Nêf yn tarddu allan o'n nesder ni at Dduw. Yn awr nid oes i ni yn y bŷd hwn ûn modd o ddyfod cyn *nessed* atto ef, a thrwy *Weddi*, ac am hynny yn ddiammeu y mae hi ynthi ei hun yn beth a ddichon beri *digrifwch* Hyfrydwch.

ac

Dos. 5. ac *hyfrydwch* dirfawr; os dychwel iddi fód yn amgenach i ni, y mae hynny oddiwrth ryw *annhymmhoreiddrwydd* yn ein Calonnau ein hunain, yr hwn fal genau *clwyfus* ni ddichon archwaethu y Bwyd blasussaf. Y mae *Gweddi* yn Ddledswydd hyfryd, ond y mae hi hefyd yn ûn *Ysprydol*; ac am hynny os yw dy galon di *gnawdol*, a chwedi i gosod yn y gwrthwyneb a'r Blesserau 'r cnawd, neu sothach y bŷd, yna nid rhyfedd os ni archwaethu di ddim hyfrydwch ynthi hi, neu os fal yr *Israeliaid y dirmygi di'r Manna*, ac hiraethu am *grochanau cîg yr Aipht*. Am hynny os wyti yn gweled blinder, yn y Ddled-swydd hon, ammheua dy hún, púra a glanhá dy Galon oddiwrth Gariad i bób-rhyw Bechod, ac ymegnia i'w gosod hi mewn trefn nefol ac Ysprydol, ac yna ti a gansyddi nad yw hon yn Ddledswydd annifir, ond yn llawn o Hyfrydwch a Bodlonrhwydd. Yn y cyfamser na achwyna ar anhawsder y Ddledswydd, ond gwrthnyssigrwydd dy Galon dy hûn.

18. Ond fe all fod hefyd *reswm* arall iddi hi i ymweled i fód yn annifir i ni, sef, eisieu ymarfer. Chwi a wyddoch fod llawer o bethau y rhai sydd yn edrych megys yn anhawdd ar y profiad cyntaf, y rhai gwedi i ni ymarfer a hwynt a fydd yn *dra-hyfryd*, ac os hyn yw dy gyflwr di, yna di a wyddost *feddiginiaeth* barod, sef, ei harferu hi yn fynychach, ac felly y mae'r ystyriaeth ymma yn naturiol yn annog ac yn *cynghori* bód ymarferu'r Ddled-swydd hon yn fynych.

19. Ond

Sul. 5.

19. Ond nid digon yw i ni yn unic ystyried mor fynyched, ond mor dda y cwplháon ni hon. I'r perwyl hwn, rhaid yw i ni yn *gyntaf* edrych ar *ddeunydd* ein *Gweddiau*, sef edrych na bo i ni osyn dim *anghyfreithlon*; megys dial ar ein Gelynion, neu'r cyffelyb; yn *ail*, y *modd*; ac hynny sydd raid bôd yn *gyntaf* mewn ffydd; rhaid i ni gredu os gofynnwn ni fal y dyleni, y rhŷdd Duw i ni naill ai'r peth y bo'ni yn ei osyn, neu ynteu ryw beth a welo ef fôd yn well i ni. Ac yna yn *ail*, mewn *Gostyngeiddrwydd*, rhaid i ni ein cydnabod ein hunain yn hollawl yn annheylwng o' rún o'r pethau daionus hynny yr ym ni yn ei gosyn, ac am hynny ei hersyn nhw yn unic er mwyn Crîst. Yn *drydydd* gyda *dyfalystyriad*, rhaid yw i ni feddwl beth y boni arno, ac nid cymhwys i'n meddyliau wibio at bethau eraill. Mi a ddywedais i chwi ar y cyntaf, mae Dled-swydd yr *Enaid* yw *Gweddi*, ond os bydd ein Meddyliau ni yn myned ar ddisperod, gweithred Tafod a'r gwefusau yn unic ydyw hi, yr hyn sydd yn ei gwneuthur hi yngolwg Duw ddim gwell nag ofer-ddadwrdd, ac felly ni ddwg bŷth fendith arnoni. Jë, fal y dywedodd *Jacob* wrth ei Fam, *Gen*. 27. 12. fe a fydd cyffelypach i ddwyn *melldith* arnoni na *bendith*, canys y mae hyn yn halogi ûn o'r rhannau mwyaf *cyhoeddus* o wasanaeth Duw, y mae 'n ddarn o *Ragrith*, *nessau atto ef a'n gwefusau, pan fo ein Calonnau ymhell oddiwrtho*; ac yn *ddirmyg* a *diystyrwch* mawr o'r *Mawrhydi* ofnadwy hwnnw yr ydyni yn dyfod o'i flaen: ac hefyd o'n rhan ein hunain y mae 'n ffolineb dirfawr fód i ni y rhai sydd yn dyfod at Dduw ar y fáth achosion

I ofyn dim anghyfreithlon.

I ofyn mewn Ffydd.

Mewn Gostyngeiddrwydd

Dyfal-ystyriad.

*pwysfawr*,

Dos. 5. *pwysfawr*, ac yw'r holl bethau sy'n perthyn i'n *Heneidiau* a'n *Cyrph*, ynghanol y cwbl ollwng ein Neges yn angof, a dilyn pob peth gwael y bo naill ai'n *ffansi ofer* ein hunain, neu *Ddiafol* (gwaith pa ûn yw ein rhwystro ni ymma) yn ei gynnig i ni. Y mae hyn fal pe dychwelai i *Lofrudd*, yr hwn a ddeuai at y *Brenin* i eiriol am ei fywyd, ynghanol ei *ddeisyfiad*, ganfod *Gwybedyn*, ac ar hynny ymadel a'i erfynniad, a rhedeg ar ól y *gwybedyn* hwnnw: oni thybiechwi 'n anghymwys iawn daflu ymmaith Bardwn ar y fáth greadur ynfyd-ffol? Ac yn ddiammeu fe a fydd mor anfesymmol ddisgwyl i Dduw ystyried a channiadhau ein *Gweddiau* hynny, y rhai nid ydyni ein hunain yn ei ystyried.

**Cymmorth rhag Cyfeiliorni.** 20. Y mae'n sefyll arnoni yn fawr ein harfogi ein hunain rhag *cyfeiliorni* fal hyn mewn *gweddi*, gan ein bód ni oll trwy natur yn tueddu yn ddirfawr at hynny. I'r diben hwn fe fydd angenrheidiol i ni yn gyntaf, ar ein dyfodiad i *Weddi*, ddwys-ystyried y Mawrhydi tra-gogoneddus yr ydyni yn Nessau atto módd y galloni arswydo fód yn *ofer* ag yn *wagsaw* yn ei *wydd* ef. **Ystyriaeth o Fawrhydi Duw.** Yn *ail*, rhaid ini ystyried mor bwysfawr yw'r pethau yr ydyni yn ei gofyn, rhai o honynt sydd yn gyfryw ac os ni channhiadheid hwynt i ni truanaf o'r holl greaduriaid fyddeni, ac etto 'r gwagsawrwydd hwn yw'r módd i rwystro i ni gael ein gwrando ynddynt. **Ein Heisiau.** Yn *drydydd* Rhaid i ni ertyn *nawdd* a chymmorth Duw yn hyn: Ac am hynny, pan ddechreuoch di dy Weddi, bydded dy Erfynniad cyntaf y grâs hwn o Ddyfal-ystyriad. **Erfynniad am Gymmorth Duw.**

21. Yn

Sul. 5.

21. Yn *ddiweddaf* bydd mor *wiliadwrus* ac y gellych ar gadw allan o'th galon ar amser *gweddi* pób meddyliau *cyfeiliornus*, neu os daeth y rûn i mewn yn barod, na chroesawa mo honynt, ond cyn gynted ac y gelli ei dirnad hwynt, na âd iddynt aros yno ûn munydyn, eithr tafl nhw allan mewn digllondeb, ac erfynia faddeuant gan Dduw am danynt. Ac ós dydi fal hyn a ymdrechi yn ddiwyd yn ei herbyn hwynt, naill ai fe rydd Duw i ti nerth i'w gorchfygu hwynt mewn rhyw fesur, neu o'i Drugaredd fe a faddeua i ti y péth ni elli di mo'i ochelyd: Ond os bydd hynny trwy di esgeulusdra dy hún, nid elli di ddisgwyl y rún o'r ddau, tra'i parhao 'r esgeulusdra hwnnw.

22. Yn *bedwerydd* rhaid i ni edrych ar fód ein *Gweddiau* ni mewn *Zêl* a *difrifwch*; nid digon i ni ei hystyried hwynt yn unic cymmhelled ac i wybod pa beth y boni yn ei ddywedyd; ond rhaid i ni ddodi holl egni a defosiwn ein *Heneidiau* ar waith, a hynny (fal y rhagddywedais i) yn ól amryw Rannau *Gweddi*. Ni chaiff y ddeisyfiad lêsg ddifraw ddim gan Dduw; ni a welwn nad yw hi 'n cael dim gennini ein hunain; canys os gofyn cardottyn wellháad gennimni, a hynny mewn rhyw fôdd ddicra, fal pe byddei fe'n ddifatter pa ûn a wná ef a'i gael a'i peidio, ni a dybien fôd arno ef naill ai ond ychydig *eisieu*, neu falchder mawr, ac felly ni a fydden yn ddifraw am roddi iddo ef. Yr awrhon yn ddiammeu y mae'r pethau'r ydyni yn ei ofyn gan Dduw cymmaint uchlaw prîs *Elusenau* cyffredinol, nad allwn ni byth ddisgwyl y rhoddir Zêl.

Dos. 5. ddir hwynt i ddeisyfiadau ysgoewan diofal. Felly yn yr ûn môdd, ni bydd ein haberth ni o *Foliant* a *Diolchgarwch* yn gymmeradwy gantho ef, oni offrymmir hi o galon wîr *deimladwy* o'i *Drugareddau* ef; onid-é nid yw ond máth ar *wâg rodres* yr hyn ni býdd byth yn gymmeradwy gantho ef yr hwn sydd yn gosyn y Galon ac nid y gwefusau yn unic. A'r cyffelyb a ellir ei draethu am holl rannau eraill o *Weddi*. Bydd ofálus gan hynny pan nessáoch di at Dduw mewn *Gweddi*, ar dderchafu dy *Enaid* i'r pwynt uchaf y gellych o *Zel* a *difrifwch*. Ac oblegid nad wyti o honot dy hún yn unic yn abl i wneuthur dim, erfynia ar Dduw wresogi dy *galon* di a'r *Tân* nefol ymma o *Ddefosiwn*, a chwedi iti gaffael hynny, gwilia rhag naill ai i ddiffod ef trwy ryw Bechod rhyfygus, neu adael iddo fyned allan o eisieu ei gynnhyrsu ef a gwneuthur defnydd o honaw.

Pûrdeb.] 23. Yn *bummed*, rhaid i ni *Weddio* gydá *Phurdeb*, hynny yw, rhaid i ni buro ein Calonnau oddiwrth bób Cariad i Bechod. Hyn yn ddiammeu y mae'r Apostol yn ei feddwl, 1 *Tim*. 2. 8. pan yw yn gorchymyn i ddynion *dderchafu dwylo purion mewn gweddi*, ac yno y mae fo'n rhoi ar lawr un máth *arbennig* ar bechod, *Digter* ac *Ammheuaeth*; lle trwy ammheuaeth y mae fo'n meddwl yr *ymrysonau* a'r *cynnhennau* anfwyn hynny sydd mor gyffredinol ymysg dynion. Ac yn wir nid all y néb a groesawo hynny, neu unrhyw bechod arall yn ei galon, fyth dderchafu 'r dwylo Sanctaidd hynny a ofynnir yn y *Ddled-swydd* hon. Ac yna yn ddiammeu ni thál ei *Weddiau* iddo ef ddim, er mor

ddifrifol

ddifrifol ac er amled fyddont. Fe ddywed y Sul. 5.
*Psalmydd* iddo na chaiff ef moi wrando, *Psal.* 66. 18. *Os edrychaf ar Anwiredd yn fynghalon ni wrendy 'r Arglwydd arnaf.* Jë, fe ddywed *Solomon* etto yn waeth, nad yw *Gweddi* y cyfryw ún yn unic yn *ofer*, ond yn *ffiaidd*, *Dihar.* 15. 8. *Aberth yr annuwiol fydd ffiaidd gan yr Arglwydd.* Ac i gael fal hyn droi 'n *Gweddiau* ni i *Bechod* yw ûn o'r pethau tostaf a all ddychwelyd i ûn dyn: ni a welwn i bód hi gwedi ei gosod ar lawr yn y rhól honno o *felldithion* *Psal.* 109. 7. Na fyddwn gan hynny mor greulon i ni ein hunain ai dynnu ef ar ein pennau ein hunain, yr hyn yr ydyni yn ddiammeu yn ei wneuthur, os nyni a offrymmwn i fynu ein *Gweddiau* o *galon ammhur.*

24. Yn *ddiweddaf*, rhaid i ni gyfarwyddo ein *Gweddiau* i *Ddibennion* uniawn; ac hynny naill ai o herwydd y *Weddi* ei hun, neu ynteu'r pethau y boni yn gweddio am danynt; yn gyntaf, rhaid i ni *Weddio* nid i ennill *clód* o *Ddwywolder* ymysg dynion, fal y *Rhagrithwyr* hynny, Math. 6. 5. Nag ychwaith yn unic er mwyn *cymdeithas*, neu arfer o wneuthur fal y gwna eraill: ond y mae 'n fefyll arnoni ei chyflawni hi, yn *gyntaf* megys gweithred o *Addoliant* i Dduw; yn *ail* megys cydnabyddiaeth mae efe yw'r ffynnon fawr honno, o ba ún yn unic y mae i ni ddisgwyl *pób daioni*; ac yn *drydydd*, er ennill cyflawniad o'n holl angenrheidiau ein hunain a rhai eraill. Yna o herwydd y *Pethau* y boni yn *gweddio* am danynt; rhaid i ni edrych yn ofalus na bo gennini ddim amcanion drwg arnynt hwy; gwiliwn ofyn pethau fal y *treuliom ni hwynt ar ein Trachwantau*, *Jaco* 4. 3. Megys y gwnâ y rhai

I Ddibennion uniawn.

Dos. 5. sydd yn gweddio am *Olud*, modd y gallont fyw mewn *glwthineb* a *gormodedd*, ac am *Awdurdod* fal y gallont *ddrygu* ei *Gelynion*, neu'r cyffelyb. Ond rhaid yw i'n diben ni yn y cwbl fód, yn gyntaf, *gogoniant* Duw, ac ar ól hynny, ein *Hiechydwriaeth* ein hunain a rhai eraill, a phób peth arall sydd raid i gymmeryd i mewn yn unic fal y byddont yn *tueddu* at y pethau hynny, yr hyn ni's gallant byth mo'i wneuthur, os nyni a'i camarferwn hwynt i bechod. Fe ddarfu i mi bellach am y rhan *gyntaf* honno o *Addoliant*, sef honno o'r *Enaid*.

Addoliant y Corph.

25. Y llall yw *Addoliant* y *Corph* ac nid yw hynny ddim ond y cyfryw *ymddygiad gostyngedig*, ac *anrhydeddus* yn ein dynessáad at Dduw, ac a ddengys allan barch yr Enaid oddifewn, ac a dalo hefyd iddo ef béth teyrnged oddiwrth ein *Cyrph*, a pha rai y mae'r Apostol yn gorchymyn i ni Ogoneddu Duw, yn gystal ac a'n *Heneidiau*; a rheswm da, gan ddarfod iddo ef greu a phrynu y naill yn gystal a'r llall: pa bryd bynnag yr offrymmi di dy *weddiau* i Dduw, bydded mewn cwbl ostyngeiddrwydd yn gystal y Corph a'r meddwl, yn ól cyngor y *Psalmydd*, Psal. 95. 6. *O deuwch addolwn, syrthiwn i lawr a gostyngwn ger bron yr Arglwydd ein gwneuthurwr*.

Ll...nth 28 Feb. 702
Llanina 8 July 705

Edifeirwch.

26. Y *Nawfed* Ddled-swydd i Dduw ydyw Edifeirwch: fe a'n dyscir gan yr Apostol fód hon yn *Ddled-swydd* i Dduw, *Act.* 20. 21. lle wrth draethr am *Edifeirwch*, y mae ef yn ei galw hi yn *Edifeirwch* tu ag at Dduw. Ac y mae rheswm da ar fód hon yn Ddled-swydd iddo ef, gan nad oes ûn pechod yr ydyni yn ei wneuthur

Act. 20. 21. Gan d. tystiolaethu ir Iddewon ac ir Groegiaid hefyd yr Edifeirwch sydd tuac at Dduw, ar ffydd sydd tuac at ein Harglwydd Iesu Grist.

wneuthur nad yw ryw fódd neu 'i gilydd yn ei erbyn ef. Canys er bód pechodau yn ein herbyn ein *hunain* a'n *cymydygion*, etto gan ei bód hwynt gwedi di gwahardd gan Dduw y maent hefyd yn *Drosseddiadau* o'i Orchymynion ef, ac felly yn *bechodau* yn ei erbyn ef. Mewn gair, nid yw'r *Edifeirwch* hwn ddim ond troi oddiwrth Bechod at Dduw, a thaflu ymmaith ein holl Bechodau o'r blaen, ac yn ei lle hwynt arferu yn ddibaid yr holl *Ddled-swyddau Christianogawl* hynny y mae Duw yn ei ofyn ar ein dwylo ni. Ac y mae hon yn Ddled-swydd mor angenrheidiol, ac y dersydd am danoni yn ddiammeu hebddi hi, y mae i ni *Air* Crist am hyn, Luc. 13. 5. *Onid edifarheuwch, dersydd am danochchwi oll yn yr ûn môdd.*

Sul. 5.

27. Y cyfarwyddiad i gwplhau'r amryw rannau o'r Ddled-swydd hon, a osodwyd ar lawr yn barod yn y Paratóad i swper yr Arglwydd, ac yno yr wyf yn cyfeirio 'r Darllenydd. Yn unic mi a'i coffhâf ef ymma nad yw hi yn *Ddled-swydd* i'w *harferu* yn unic wrth dderbyn y *Cymmun*. Canys gan fód hyn yn unic feddiginiaeth yn erbyn gwenwyn pechod, rhaid yw i ni ei hadnewyddu hi cyn fynyched ac yr ailgyrchoni ein pechodau, hynny yw, Beunydd. Sef, rhaid i ni *bob dydd* Edifarhau am bechodau y Dydd hwnnw, canys y peth y mae Crist yn ei ddywedyd am ddrygau eraill, sydd yn wîr hefyd am hyn, *digon yw i'r Diwrnod ei ddrwg ei hun*; y mae gennini Bechodau ddigon bób dydd i arferu edifeirwch beunyddiol, ac am hynny rhaid yw i bób dŷn fal hyn ei alw ei hun beynydd i gyfrif.

Amserau i'r Ddled-swydd hon.

Bob dydd.

 28. Ond

Dos. 5.

Ar amserau gosodedig.

28. Ond megys ac y mae mewn *cyfrifon* sydd gan y neb a osodo yn ddyfal ar lawr ei *draul feunyddol*, ryw amser gosodedig i fwrw'r cwbl i fynu ynghyd, megys ar ddiwedd yr *wythnos*, neu 'r *mîs*; felly hefyd y dyle fód ymma, ni a ddylen osod heibio rhyw amser i'n hymddarostwng ein hunain yn gyhoedd ger bron Duw am ein Pechodau, nid o'r *dydd* hwnnw yn unic, ond o'n holl fywyd. A pho *mynychaf* y bo'r amserau hynny *goreu* sydd. Canys po mynychaf fal hyn y bwrion ni i fynu ein *cyfrifon* gyda Duw, ac edrych pa ddyledion mawr y rhedason ni iddynt, mwy *isel* a *gwael* y tybiwn ni o hononi ein hunain, ac ni a hiraethwn yn fwy am ei *Drugaredd* ef, a'r ddau hyn yw 'r prif bethau sydd yn rhaid ein cymmhwyso ni i'w *bardwn* ef. Y mae ef gan hynny yn cymmeryd cwrs *ragorol* ar lés ei Enaid, yr hwn a'i gesyd ei hún ún dŷdd yn yr wythnos yn bennodol i'r pwrpas hwn. Neu os bydd cyflwr bywyd rhyw ddŷn mor drafferthus, fal nad allo ef wneuthur hyn cyn fynyched, deued cyn nessed at y mynychdra hwnnw ac y bo possibl iddo, gan gofio yn wastad, na ddichon yr ûn o'i negeseuau bydol ef ddwyn i mewn iddo y fifed ran o'r *Budd* ar a ddŵg yr ún Ysprydol ymma, ac am hynny y mae 'n hwsmonaeth ddrwg iawn gynllwyn y rhai hyn trwy esgeuluso 'r llall.

Yn amser cystudd a Thrallod.

29. Heblaw 'r amserau pennodol hyn, y mae hefyd amserau damweiniol i gwplhau'r *Ddledswydd* hon, y cyfryw rai yn enwedig yw Amserau *cystudd* a *Thrallod*; canys pan ddychwelor cyfryw i ni, ni a ddylen edrych arno megys

cennad

cennad gwedi i anſon o'r néf i'n galw ni i'r Sul. 5.
*Ddled-ſwydd* hon, ac am hynny gwiliwn un amſer ei heſceuluſo hi pan i'n rhybuddir ſal hyn i'w chwplhau hi, rhag i ni ſód o niſer y rhai a *ddirmyga Goſpedigaethau'r Arglwydd*, Heb. 12. 5.

30. Y mae etto amſer arall o *Ediſeirwch*, yr hwn yn ymarſer dynion a aeth ar ſuddugoliaeth ar y lleill i gyd, ac hwnnw yw amſer marwolaeth, yr hwn, gwir yw, ſydd yn amſer trachymwys i *adnewyddu* ein *Hediſeirwch*, nid iw ddechreu ef; canys yntydrwydd tra-greſynol yw ei oedi ef tan hynny. Oblegid i ddywedyd y goreu am hynny, y mae ûn trwy hyn yn *peryglu* ei *Enaid* ar y ſáth *betruſder reſynol* ar na ſeiddie gŵr ſynhwyrol ymddiried y pêth *gwaelaf* arno. Canys yn *gyntaf*, mi a chwennychwn oſyn i ryw ûn ſydd yn bwriadu ediſarhau ar *amſer Marwolaeth*, pa ſodd y gŵyr ef y ceiff ſo awr o amſer i hynny? Onid ydeni beunydd yn gweled cippio ymmaith rhai dynion mewn munydyn? A phwy a all ddywedyd nad hynny a ſydd ei gyflwr ei hun? Ond yn *ail*, bwriwch iddo gael marwolaeth mwy *araſaidd*, ſef, i ryw ddolur ei rybuddio ſo ſód Angeu yn neſſau, etto yſgatſydd ni ddealla ef mor rhybudd hwnnw, eithr parhau i'w wenheithio ei hun trwy obaith o ſywyd hyd y diwedd, ſal y gwná rhai cleifion yn dra-mynych: ac felly ſe all ei farwolaeth ef ſód yn ddiſymmwth iddo, er iddo ddyſod trwy raddau araf iawn. Ond trachefn, yn *drydydd*, os eſe a ddirnad ei *Berigl*, etto pa ſódd y mae ef yn ſiccr y dichon ef y prŷd hynny ediſarhau? *Rhódd raſol* Duw yw *Ediſeirwch*, nid wrth ein harchiad ni; ac y mae 'n gyfiawn ac yn arſerol

Ar amſer marwolaeth.

Dos. 5. gyda Duw, gwedi i Ddynion yn hîr o amser wrthod a dirmygu y Grâs hwnnw, wrthwynebu ei holl alwad a'i wahoddiadau ef i Edifeirwch a Gwellháad buchedd, ei rhoddi nhw i fynu o'r diwedd i galedwch ei Calonnau ei hunain, heb ganiadhau iddinhw ddim anghwaneg o'r *Grâs* hwnnw a ddirmygason'hw cyhyd. Etto bwriwch, yn *bedwerydd*, i Dduw o'i anfeidrol ammynedd barhau etto i gynnyg i ti y *Grâs* hwnnw, etto fe ddarfu i ti ei wrthwynebu ef ysgatfydd *ddêg ar hugain*, *deugain*, neu *ddengmhlynedd a deugain* o'r ûn tû, pa fódd y gwyddosti y gelli di fwrw heibio yn *ddisymmwth* y *ddull arferol* honno o wrthwynebiad, a gwneuthur Defnydd o'r *Grâs* a gynnygir iti? Y mae'n siccr fód genniti lawer mwy o achlysur tu ag at wneuthur hynny yr awrhon nag a fydd genniti y prŷd hynny.

31. Canys yn gyntaf, po hwyaf y cadwodd pechod feddiant yn dy galon di, annhawsach a fydd ei fwrw ef allan. Gwir yw, pe bydde *Edifeirwch* ddim ond *gorphwys* presennol oddiwrth weithredu pechod, y Clâf-wely a fydde gymhwysaf i hynny, canys yr amser hynny nid ydyni yn abl i weithredu y rhan fwyaf o Bechodau; ond mi a ddangosais i chwi o'r blaen fód *Edifeirwch* yn cynnwys llawer mwy na hynny, rhaid yw bód ynthi hi *gasineb di-ragrithiol* o bechod, a *chariad* o Dduw. Yn awr pa gyffelybrwydd sydd iddo ef, yr hwn yn ei holl fywyd oedd yn *caru* pechod, yn ei gyfleiddio ef yn ei fynwes, ac yn y gwrthwyneb oedd yn llwyr-gashau Duw a daioni, newid yn ddisymmwth ei *anwydau*, a chashau 'r pechod hwnnw

yr oedd ef yn ei *garu* a charu Duw a *daioni*, y Sul. 5.
rhai yr oedd ef o'r blaen yn hollawl yn ei gashau?

32. Ac yn *ail* fe fydde y penydau Corphorawl ar dy gláf-wely yn dy rwystro di ac yn dy wneuthur yn anghymmwys iawn i'r weithred o *Edifeirwch*, yr hon sydd yn beth mor bwysfawr ac anhawdd, ác y gesyd hi dy holl nerth a'th egni di ar waith, ië pan foch di gryfaf ac iachaf.

33. Ystyria y *rhwystrau* hynny a pha rai y bydd raid i ti ymdrechu yr amser hwnnw, ac yna dywed i mi pa obaith sydd y gwnei di y pryd hynny y peth ni wnei di yr awrhon pan yw hawsach o lawer iti. Ond yn *drydydd*, y mae *perigl* etto yn ól tu hwynt i'r rhain i gyd, sef na bydd yr *Edifeirwch* hwnnw i ba ûn y llithia Angeu di yn wir *Edifeirwch*; canys y mae 'n eglur yn y cyflwr hwnnw mae ofn *Uffern* yn unic sydd yn dy osod ti ar waith, yr hyn er ei fod yn ddechreuad da, lle y byddo amser ar ôl hynny i'w *berffeithio* ef, etto lle ni bo ond hynny yn unic ni thyccia fo byth er *Iechydwriaeth*. Yn awr y mae 'n rhy debyg mae o'r cyfryw fáth yn unic, gan mynychaf, ydyw yr Edifeirwch diweddar ymma ar y cláf-wely, os ystyrir, fôd llawer o ddynion a gymmerasant arnynt *Edifarhau*, pan oeddynt yn tybied ei bôd yn agos at *angeu*, y rhai gwedi i Dduw weled yn dda ei hadferu nhw drachefn i'w *Hiechyd*, fuant cynddrwg, ysgatfydd yn waeth nag erioed o'r blaen; yr hyn sydd yn dangos yn eglur nad oedd ynddynt ddim gwir gyfnewidiad, ac yna yn ddiammeu pe buse 'r cyfryw ûn farw yn yr *Edifeirwch*

Dos. 5. *ragrithiol* hwnnw, ni buasei Duw, *yr hwn sydd yn chwilio yr galon*, yn derbyn y cyfryw *Edifeirwch* amherffaith. Pan osodir y peryglon hyn i gyd yn yr ûnlle, fe ymddengys yn eglur mae Rhysyg tra-gresynol yw i un dyn ymddiried i *Edifeirwch Clâf-wely*. Ac nid yw hi ychwaith ddim llai er siampl y *Leidr Edifeiriol* ar y Groes, *Luc*. 23.43. yr hyn y mae llawer cymmaint yn hyderu arno. Oblegid diammeu yw fód ei gyflwr ef a'n heiddo ni yn rhagori yn ddirfawr; ni chlywsei ef erioed sôn am Grist o'r blaen, ac felly nid ellid disgwyl dim ychwaneg gantho ef na'i gyfleidio ef cyn gynted ac y cynnygwyd ef iddo: ond fe 'i cynnygwyd ef i ni, ië ac fe fued yn *daer* arnoni o'n *mebyd* am ei dderbyn ef, ac etto nyni a'i *gwrthodasom* ef. Ond pe bae y Rhagoriaeth ymma heb fód, nid yw hi ond gobaith *egwan* yr hon a adeiledir ar ûn esampl yn unig, ac ni welwn ni yr ûn arall yn yr holl *Scrythrl ân*. Yr ydyni yn darllen fód yr *Israeliaid* yn cael ei porthi a *Manna*, o'r *néf*, etto oni welwchwi fo'n ynfyd iawn, yr hwn trwy ddisgwyl y cyffelyb peth, a esgeulusei baratoi ymborth iddo i hûn? Etto y mae'n gwbl mor rhesymmol hyderu ar y naill *Esampl* ac ar y llall. Mi ddibendaf y cwbl a geiriau 'r gŵr Doeth, *Preg*. 12. 1. Cofia dy Greawdr yn nyddiau dy Ieuengtid cyn dyfod y dyddiau drŵg arnat ti.

Ympryd. 34. At y Ddledswydd ymma o *Edifeirwch* fe *fydd yn* gymmwys iawn gyssylltu *Ympryd*. Y mae 'r Scrythur yn fynych yn ei cwplhysu nhw ynghyd; Ymysg yr *Iddewon* yr oedd rhaid cadw'r dydd mawr o *iawn* gyda'g *Ympryd*, fal y mae i weled wrth gyffelybu, *Levit*. 16. 31. ac

*Isai*.

*Isai.* 58. 5. a hyn trwy gyhoeddus Orchymyn Duw i hún. Ac yn y Prophwydi pan elwir ar y Bobl i *Eddifarhau*, ac i'w *hymddarostwng* ei hunain, fe elwir hefyd arnynt hwy i *Ymprydio*. Fal hyn y mae, *Joel*, 2. 12. *Am hynny yr awr hon medd yr Arglwydd, dychwelwch attafi a' ch holl galon, mewn Ympryd, ac mewn wylofain*, &c. Ie mor briodol y cyfrifid *Ympryd* i *Ddarostyngeiddrwydd*, a bó *Ahab ddrŵg* yn ei harferu hi yn ei *Ymddarostyngiad* ef, Bren. 21. 27. A'r *Ninifeaid Digred* yn ei Hedifeirwch hwythau. *Jonah*, 3. 5. Nag ydyw hi lai cymmwys na llai cymmeradwy er amser Crist, nag o'r blaen. Oblegid ni a welwn ei fôd ef yn ei bwriadu hi yn *Ddled-swydd* weithian i'w chwplhau, pan yw ef yn rhoddi cyfarwyddiad i ochelyd *gwâg Orfoledd* ynthi hi, *Math*, 6. 6. Ac y mae efe hefyd yn ein siccrhau ni os cwplheir hi fal y dylid, nid i foddhau *Dynion* ond *Duw*, y caiff hi yn ddiammeu ei gwobru gantho ef. Ac felly y gwelwn ni fód y *Seinctiau* yn ei harferu hi. Yr oedd *Anna* Luc. 2. 37. yn gwasanaethu Duw mewn *Ympryd* a Gweddi: lle y mae i'w nodi, ei bôd hi yn cael ei chyfrif megys gwasanaeth i Dduw yn gymmwys i'w chysylltu gydá *Gweddi*. Ac yr oedd y *Prif Gristianogion* gynt yn gyffredinol yn *arferu Ympryd* yn fynych. Yn awr er bôd Ympryd yn bendifaddeu yn berthynasol i amser o *ymddarostwngeiddrwydd*, etto nid ydyw hi felly gwedi i hattal, ná ddichon hi fôd yn *gyfaddas* pa bryd bynnag y bo gennini ryw beth *rhagorol*, i'w erfyn gan Dduw. Fal hyn pan ydoedd *Esther* yn ymegnio ymwared i'w phobl rhag dinistr, fe gadwodd hi a'r holl *Iddewon ympryd cyhoeddus*, Est. 4. 16. Fal hyn hefyd pan ydoedd *Paul* a

Dos. 5. sydd yn gweddio am *Olud*, modd y gallont fyw mewn *glwthineb* a *gormodedd*, ac am *Awdurdod* fal y gallont *ddrygu* ei *Gelynion*, neu'r cyffelyb. Ond rhaid yw i'n diben ni yn y cwbl fód, yn gyntaf, *gogoniant* Duw, ac ar ól hynny, ein *Hiechydwriaeth* ein hunain a rhai eraill, a phób peth arall sydd raid i gymmeryd i mewn yn unic fal y byddont yn *tueddu* at y pethau hynny, yr hyn ni's gallant byth mo'i wneuthur, os nyni a'i camarferwn hwynt i bechod. Fe ddarfu i mi bellach am y rhan *gyntaf* honno o *Addoliant*, sef honno o'r *Enaid*.

Addoliant y Corph.

25. Y llall yw *Addoliant* y *Corph* ac nid yw hynny ddim ond y cyfryw *ymddygiad gostyngedig*, ac *anrhydeddus* yn ein dynessáad at Dduw, ac a ddengys allan barch yr Enaid oddifewn, ac a dalo hefyd iddo ef béth teyrnged oddiwrth ein *Cyrph*, a pha rai y mae'r Apostol yn gorchymyn i ni Ogoneddu Duw, yn gystal ac a'n *Heneidiau*; a rheswm da, gan ddarfod iddo ef greu a phrynu y naill yn gystal a'r llall: pa bryd bynnag yr offrymmi di dy *weddiau* i Dduw, bydded mewn cwbl ostyngeiddrwydd yn gystal y Corph a'r meddwl, yn ól cyngor y *Psalmydd*, Psal. 95. 6. *O deuwch addolwn, syrthiwn i lawr a gostyngwn ger bron yr Arglwydd ein gwneuthurwr.*

Ll...nth 28 Feb. 702 / Llamina 8 July 705

Edifeirwch.

26. Y *Nawfed* Ddled-swydd i Dduw ydyw Edifeirwch: fe a'n dyscir gan yr Apostol fód hon yn *Ddled-swydd* i Dduw, *Act.* 20. 21. lle wrth draethr am *Edifeirwch*, y mae ef yn ei galw hi yn *Edifeirwch* tu ag at Dduw. Ac y mae rheswm da ar fód hon yn Ddled-swydd iddo ef, gan nad oes ûn pechod yr ydyni yn ei wneuthur

Act. 20. 21. Gan d. Ffiolathu ir Iddewon ac ir Groegiaid hefyd yr Edifeirwch sydd tuag at Dduw, ar ffydd sydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist.

wneuthur nad yw ryw fódd neu 'i gilydd yn ei erbyn ef. Canys er bód pechodau yn ein herbyn ein *hunain* a'n *cymydygion*, etto gan ei bód hwynt gwedi di gwahardd gan Dduw y maent hefyd yn *Drosseddiadau* o'i Orchymynion ef, ac felly yn *bechodau* yn ei erbyn ef. Mewn gair, nid yw'r *Edifeirwch* hwn ddim ond troi oddiwrth Bechod at Dduw, a thaflu ymmaith ein holl Bechodau o'r blaen, ac yn ei lle hwynt arferu yn ddibaid yr holl *Ddled-swyddau Christianogawl* hynny y mae Duw yn ei ofyn ar ein dwylo ni. Ac y mae hon yn Ddled-swydd mor angenrheidiol, ac y dersydd am danoni yn ddiammeu hebddi hi, y mae i ni *Air* Crîst am hyn, Luc. 13. 5. *Onid edifarheuwch, dersydd am danochwi oll yn yr ûn môdd.*

Sul. 5.

27. Y cyfarwyddiad i gwplhau'r amryw rannau o'r Ddled-swydd hon, a osodwyd ar lawr yn barod yn y Paratóad i swper yr Arglwydd, ac yno yr wyf yn cyfeirio 'r Darllenydd. Yn unic mi a'i coffhâf ef ymma nad yw hi yn *Ddled-swydd* i'w *harferu* yn unic wrth dderbyn y *Cymmun*. Canys gan fód hyn yn unic feddiginiaeth yn erbyn gwenwyn pechod, rhaid yw i ni ei hadnewyddu hi cyn fynyched ac yr ailgyrchoni ein pechodau, hynny yw, Beunydd. Sef, rhaid i ni *bob dydd* Edifarhau am bechodau y Dydd hwnnw, canys y peth y mae Crist yn ei ddywedyd am ddrygau eraill, sydd yn wîr hefyd am hyn, *digon yw i'r Diwrnod ei ddrwg ei hun*; y mae gennini Bechodau ddigon bób dydd i arferu edifeirwch beunyddiol, ac am hynny rhaid yw i bób dŷn fal hyn ei alw ei hun beynydd i gyfrif.

Amserau i'r Ddled-swydd hon.

Bob dydd.

Dos. 5. *Barnabas* i'w *Hurddo* yn *Apostolion*, yr oedd *Ympryd* gwedi i gyssylltu at *Weddi*, Act. 13. 3. Ac felly y bydd yn dra-chymmwys i ninnau, pa-brŷd bynnag y bo arnoni eisieu rhyw gyfarwyddiad *ragorol*, neu gymmorth gan Dduw, naill ai' ynghylch ein perthynasau *amserol* neu *Ysprydol*, fal hyn gynnhyrfu ein Gweddiau trwy *Ympryd*. Ond uchlaw pób *Achosion*, fe ofyn amser *ymddarostyngeiddrwydd* hynn y ar ein dwylo ni, canys heb law 'r achlysur o *gynneu* ein Zél ni, yr hyn nid ydyw ún amser mor angenrheidiol a phan foni yn gweddio am *Faddeuant pechodau*, y mae Ympryd yn cynnwys ynddi hi beth dial, yr hyn a gyfrifir megys yn rhan *enwidegol* o Edifeirwch, 2 *Cor*. 7. 11. Canys trwy naccau i'n cyrph ein hymborth arferedig, yr ydyni yn gosod *Gospedigaeth* arnoni ein hunain am ein *gormodedd* o'r blaen, neu am ba Bechodau bynnag eraill yr ydyni y prŷd hynny yn ein cyhuddo ein hunain o'i plegid, yr hyn yw ffrwyth briodol y digllonrhwydd hwnnw a ddyle fód gan bob pechadur yn ei erbyn ei hun. Ac yn wir y mae 'r neb sydd mor dyner o hono i hûn, ac na chlyw fo un amser ar ei galon omeddu *prŷd* o *fwyd*, mewn módd o *Gospedigaeth* am ei *feiau*, yn dangos nad ydyw ef gwedi syrthio allan fawr ac efó i hun, am ei gwneuthur hwynt, ac felly y mae fo 'n ddiffygiol o'r digllonrhwydd hwnnw yr hwn y mae yr Apostol yn y Testyn rhagddywededig yn i wneuthur yn rhan o wir *Edifeirwch*.

35. Nid oes ammeu nad ydyw 'r cyfryw *ddial Sanctaidd* arnoni ein hunain am ein pechodau yn *gymmeradwy* iawn gan Dduw; Er hynny gwi-

liwn

liwn dybied y dichon hyn, na dim arall ar a wneloni, wneuthur iawn am ein camweddau ni, canys nid oes dim ond *Gwaed Grist* a ddichon hynny. Ac am hynny ar hwnnw yn unic, ac nid ar yr un o'n gweithredoedd ein hunain mae i ni hyderu am faddeuant. Etto gan na chaiff nêb y budd o'r *gwaed* hwnnw ond pechaduriaid edifeiriol, y mae 'n gymmaint yn sefyll arnoni ddwyn allan holl ffrwythau o Edifeirwch, a phe bae ein Gobaith ni yn sefyll arnynt hwy yn unic.

Sul. 5.

36. Nid ydyw'r *Scrythur* yn un lle yn ein *cyfarwyddo* ni *fynyched* y bydd rhaid i ni gwplhau 'r *Dledswydd* hon o *Ympryd*. Rhaid ydyw trefnu hynny gan *Dduwioldeb* dynion, yn ôl fal y bo ei *Iechyd* neu *Achosion* eraill yn rhoddi cennad. Ond megys ac y mae mewn *ymddarostyngeiddrwydd*, po mynychaf y gosodoni amser neillduol iddo, goreu yw; felly hefyd y mae mewn *Ympryd*, po mynychaf, *goreu*, trwy na bo hynny yn niweidiol i'n *Hiechyd* ni, neu i ryw *Ddledswydd* arall a ofynnir gennin i. Ie, ysgatfydd, fe all *Ympryd* helpio rhai dynion i ychwaneg o'r amserau hynny o *Ddarostyngeiddrwydd*, nag a ennillenhw oni bae hynny: oblegid fôd rhai ysgatfydd, nad allant, heb rwystr ddirfawr i'w *Galwedigaeth*, osod heibio *Ddydd* cyfan i'r gorchwyl hwnnw, etto fe all y cyfryw ûn o'r lleiaf osod hebio yr *amser* hwnnw a dreulia fe yn *Bwyta*: Ac felly fe fydd *Ympryd* ddwy ffordd yn fuddiol tu ag at *Ymddarostyngiad* y cyfryw ûn, yn gystal trwy ei gynnorthwyo fo yn y *Dleddswydd*, a thrwy ennill iddo ef *Amser* i'w chwplhau hi.

Amserau o Ympryd-dio.

37. Mi

Dos. 5.

Yr ail gaingc o'n Dlêd-swydd i Dduw.

37. Mi a dreiddiais bellach y rhan *gyntaf* o'n *Ddledswydd* i *Dduw*, sef, ei gydnabod ef i fód yn Dduw. yr *ail* yw *na bo i ni gymmeryd yr ún arall.* Am ba un nid rhaid i ni ddywedyd fawr, megys ac y mae 'n waharddiad o'r fáth waethaf hynny o *Eulyn-addoliaeth Baganaidd*, addoli *delwau* yr hyn er ei fód unwaith yn gyffredinol yn y bŷd, etto sydd yr awrhon mor anaml, nad ydyw gyffelyb y bydd néb a ddarllenno 'r *Llyfr* hwn yn euog o hono. Yn unic rhaid i ni ddywedyd, fód talu *Addoliant* perthynol i *Dduw*, i un *Creadur*, bydded yn *Sainct* neu *Angel*, iê neu *Ddelw Crist* i hûn, en *drosseddiad* o'r ail rhan ymma o'n *Dledswydd* i *Dduw*, gan fôd hynny yn rhoddi *cyfran* i'r *Creadur* o'r peth sydd yn unic yn ddledus i *Dduw*, ac am hyny fe ddylid yn llwyr-ddwys ymwrthod ac ef.

Eulyn-addoliaeth oddifewn.

38. Ond y mae máth arall o *Eulyn-Addoliaeth*, o ba ún yr ydyni oll yn gyffredinol yn euog, sef, pan foni yn talu yr ún o'r anwydau hynny o *Gariad*, *Ofn*, *Hyder*, a'r cyffelyb i ún Creadur mewn Grâdd uwch nag i *Dduw*: canys nid yw hynny ddim llai na gosod i fynu hwnnw, pa beth bynnag a fytho, yn Dduw i ni. Ac y mae 'r fath ymma o *Eulyn-addoliaeth oddifewn* yn annog Duw i eiddigedd yn gystal ac Addoli *Delw oddiallan*, Mi a allwn ehangi llawer ar hyn, ond oblegid i mi grybwyll am amryw rai o honynt yn y *Traethawd* o'r blaen, yr wyfi 'n meddwl nad yw hynny angenrheidiol; mi a áf ymlaen gan hynny yr awrhon at yr *ail Pwngc* o **Ddled-swydd**, sef ein *Dlêd* tu ag attom ein **Hunain.**

adrodd

5. Iaco 4. 6. y mai Duw yn gwrthwynebu'r beilchion on yn rhoddi gras i'r rhai gostyngedig



# DOSPARTHIAD, VI.

Llan..th 11 Apr. 703 Lanna 5 Aug. 705

*Dledswydd i ni ein Hunain; am Sobrwydd; Gostyngeiddrwydd; y Pechod mawr o Falchder; am wâg-Ogoniant, a'i Berigl, a'i Ffoledd; y moddion i'w ochelyd ef: am Addswynder, &c.*

1. Y Ddledswydd hon tu ag attom ein Hunain a grynhoir gan St. *Paul* Tit. 2. 12. Yn yr *ûn* Gair hwn [yn sobr] trwy ba *Air* deallir ein cadw ein *Hunain*, o fewn y Tersynau dledus hynny y rhai a osododd Duw i ni. Fy mwriad i gan hynny a fydd traethu i chwi beth yw'r rhannau neillduol o'r *Sobrwydd* hwn, a hynny yn *gyntaf*, Oblegid yr *Enaid*; yn *ail* oblegid y Corph: Y mae *sobrwydd* yr *Enaid* yn sefyll mewn iawn *lywodraethiad* ei *Anwydau* a'i *Affeithiau* ef, ac i'r diben hwn y mae amryw *Rinweddau* yn angenrheidol. Mi a'i dangosaf nhw ymma i chwi yn neillduol. Dledswydd tu ag attom ein Hunain.

2. Y cyntaf o honynt hwy yw *Gostyngeiddrwydd* yr hon a haedda yn dda y lle cyntaf nid yn unic oblegid godidogrwydd y *Rhinwedd*, ond hefyd oblegid mor ddefnyddiol ydyw hi tu ag at *ddysod i hyd* i'r *lleill* i gyd: gan fôd hon yn Gostyngeiddrwydd.

sylfaen

Dos. 6. Sylfaen ar ba ún y bydd raid adeiladu yr holl rai eraill. A'r neb a obeithio ei hennill hwynt heb hon a fydd tebyg i'r Adeiladwr ffól ynfyd hwnnw y mae Crist yn sôn am dano, *Luc.* 6. 49. *Yr hwn a adeiladodd ei dy ar y tywod.* Am *Ostyngeiddrwydd* tu ag at Dduw mi a draethais yn barod, ac a ddangosais mor angenrheidiol ydoedd. Rhaid i mi 'r awrhon draethu am *Ostyngeiddrwydd* megys ac y mae 'n perthyn i ni ein hunain, yr hon a geir ei weled i fód mor angenrheidiol ar llall.

3. Y mae 'r *Ostyngeiddrwydd* ymma o ddau fáth, y *cyntaf* yw bód gennini dyb isel a gwael o honom ein hunain, yr *ail* yw bodloni i eraill hefyd feddwl felly amdanoni. Y cyntaf sydd wrthwyneb i *Falchder*, a'r llall i *wâg-orfoledd.* Y mae yn y mrŷd i ddangos i chwi yr awrhon fód pób ûn o'r rhain yn gwbl angenrheidiol i Gristianogion; yr hyn, yr wy 'n meddwl, a wneir oreu trwy osod o'ch blaen chwi yn *gyntaf*, y *pechod*, yn *ail* y Perigl, yn *drydydd* y beiau gwrthwyneb iddynt.

Y pechod mawr o Falchder.

4. Ac yn *gyntaf*, am Falchder; y mae fo 'n Bechod cymmaint ac y taflodd ef yr i *Angylion* allan o'r *nef*; ac am hynny os gallwn ni farnu o Bechod wrth y *gospedigaeth*, nid oedd ef yn unic y *cyntaf* ond y pechod mwyaf y bu *Diafol* i hun erioed yn euog o honaw. Ond nid rhaid i ni wrth well profedigaeth o'i echryslonrhwydd ef na dirfawr gasineb Duw tu ag atto ef, yr hyn (heb law'r Esampl o gospi 'r Cythrel) a welwn ni yn fynych yn y *Scrythyrau*, Dihar. 16. 5. *ffiaidd gan yr Arglwydd bób dyn uchel galon.* A thrachefn,

thrachefn, *Pen.* 6. 16. lle y crybwyllir am amryw bethau ſydd ffiaidd gan yr Arglwydd, a *llygaid beilchion* a oſodir yn gyntaf o honynt: felly Jac. 4. 6. *Duw ſydd yn gwrthwynebu 'r Beilchion*; ac amryw fannau eraill ſydd i'r unrhyw bwrpas, y rhai ſydd yn dangos yr atgaſrwydd mawr ſydd gan Dduw i'r pechod hwn o Falchder. Yn awr gan mae ſiccr yw, nad yw Duw yr hwn ſydd gwbl ddaioni, yn caſhau dim ond fal y mae ef yn ddrŵg, eglur yw, mae lle y mae Duw yn caſhau mewn meſur cymmaint, fód yno feſur mawr iawn o Ddrygioni. Sul. 6.

5. Ond yn *ail*, nid ydyw **Balchder** yn unic yn dra-phechadurus, ond yn Beryglus iawn heſyd; a hynny yn *gyntaf*, oblegid ein denu ni i *Bechodau* eraill; yn *ail*, ein bradychu ni i *boenau*. Yn *gyntaf*, y mae *Balchder* yn ein denu ni i bechodau eraill, ymmha beth y mae yn ei ddangos i hún yn uniawn yngwrthwyneb i *Oſtyngeiddrwydd*; canys megys ac y mae hwnnw yn Wreiddin pób *Rhinwedd* felly y mae hwn o bób Drŵg. Oblegid y mae 'r Balch yn ei oſod ei hun i fynu, megys yn Dduw iddo i hun. Y mae 'r annuwiol medd y Pſalmydd, *mor falch nad yw ef yn meddwl am Dduw*, Pſal. 10. 4. lle y gwelwch chwi mae ei *Falchder* ef ſydd yn gwneuthur iddo ddirmygu Duw. A chwedi i ddyn ddyfod unwaith i hynny y mae fo'n barod i wneuthur pób rhyw *Bechod*. Mi a allwn adrodd i chwi liaws o bechodau neillduol ſydd yn naturiol yn tarddu allan o'r Pechod hwn o Falchder; megys yn *gyntaf*, *Llid*, yr hwn y mae'r Gŵr Doeth yn ei oſod ar lawr megys ffrwyth *Balchder*, Dihar. 21. 24. gan ei alw ef *Digllondeb* Y Perigl.

Dos. 6. *balch*; yn *ail cynnen* ac *ymryson*, yr hyn y mae efe hefyd yn ei nodi i fod yn heppil *Balchder*, Dihar. 13. 10. *Trwy Falchder yn unic y cyffru cynnen.* Ac yn wir y mae'r ddau hyn yn ffrwythau *Naturiol* o *Falchder*: canys y mae'r neb sydd yn tybied yn dra-uchel o hono 'i hun yn disgwyl llawer o Ostyngeiddrwydd ac Anrhydedd gan rai eraill, ac am hynny ni fedr ond ymgynddeiriogi a chwerylu pa brŷd bynnag y tybia fo nad yw efo 'n cael digon o barch. Fe fydde annherfynol i mi draethu am holl ffrwythau 'r gwreiddyn chwerw hwn: ni henwa'i ond ún ychwaneg, sef nad yw *Balchder* yn unic ein bradychu ni i lawer o bechodau, ond hefyd yn ei gwneuthur hwynt yn anfeddiginiaethol ynom ni, canys y mae 'n rhwystro gweithrediad pób cymmorth a diwygiad.

6. Rhaid yw i'r *meddiginiaethau* hynny ddyfod naill ai oddiwrth Dduw, neu Ddŷn; os oddiwrth Dduw, rhaid iddynt hwy fod naill ai mewn módd o Laryeidd-dra ac addfwynder, neu ynteu o yscymmundra a chospedigaeth. Yn awr os bwriada Duw trwy ei ddaioni ddenu dŷn balch i Edifeirwch, y mae ef yn hollawl yn camgymmeryd meddwl Duw, ac yn tybied nad yw 'r holl Drugareddau y mae ef yn ei dderbyn ond gwobr ei haeddedigaeth ei hûn, a thra 'i parháo ef felly siccr yw na thybia fo bŷth fód arno ef eisieu Edifeirwch. Ond os Duw o'r tu arall a'i harfera ef yn arwach ac a esyd drallodau a chospedigaethau arno ef, ni weithia' rhai hynny mewn Calon falch ond gwrwgnach a chassineb o Dduw, megys pe bae ef yn gwneuthur ac efo gam yn y Cospedigaethau hynny. Am y *meddi-*

*giniaethau*

*giniaethau* a ellir ei harferu gan ddynion, rhaid Sul. 6.
iddynt hwythau hefyd fód naill ai mewn môdd o *Gerydd* neu o *Gyngor*; ac yn ddiammeu ni weithia ceryddon oddiwrth ddynion ddim mwy ar galon falch, nag y gwná y rhai hynny gan Dduw, canys y néb a ddichon dybied fód Duw yn anghyfiawn ynddynt hwy, a greda hynny yn fwy o lawer gan ddŷn. Ac fe a wná cynghorion hefyd cyn lleied. Canys er mor llaryaidd a chariadus yr argyoeddir gŵr balch, efe a edrych ar hynny megys yn ddirmyg: ac am hynny yn lle *cyffessu* neu ddiwygio ei fai, efe a syrth ar enllibio ei argyoeddwr megys dŷn rhodresgar, neu farnus, ac am y weithred werthfawr ragorol honno o addfwynder, a edrych arno ef megys gelyn. Ac y mae 'n rhaid i'r neb a fo fal hyn mor gyndyn yn gwrthwynebu pób moddion o Feddiginiaeth, fód mewn cyflwr tra-pheryglus.

7. Ond heb law'r perigl hwn o bechod mi a ddywedais i chwi fod ún arall hefyd o *gospedigaeth*; ac nid rhaid fawr boen i brofi hyn pan ystyrir fód Duw yn elyn cyhoedd i'r dŷn balch, a'i fód ef yn ei gasáu ac yn ei wrthwynebu ef, megys ac y mae 'n eglur yn y mannau rhagddywededig: Ac yna yn ddiammeu rhaid yw i'r neb sydd gantho elyn mor alluog fód yn siwr o ofidio yn ddirfawr am hynny. Etto heb law'r rheswm cyffredinol hwn, fe sydd yn gymwys ddodi ar lawr rai o'r lleoedd hynny yn neillduol y sydd yn bygwth y pechod hwn, megys Dihar. 16. 18. *Balchder sydd yn myned o flaen dinistr, ac uchelder yspryd o flaen cwymp.* Trachefn, Dihar. 16. 6. *ffiaidd gan yr Arglwydd bôb dyn uchelgalon: er maint fydd ei gymmorth, ni bydd efe*

Dos. 6. *dieuog*. Y mae 'r ordinháad gan hynny yn anghyfnewidiol, mae ofer yw'r holl foddion a arferir i gadw'r balch, canys *ni bydd efe dieuog*. Ac y mae hyn yn hynod iawn yn histori *Nebuchodonosor*, *Dan*. 4. Yr hwn er ei fód yn Frenin mwyaf yn y bŷd, etto a *yrrwyd* am ei Falchder *oddiwrth ddynion*, i gyfanneddu, ac i ymborthi gydá bwystfilod. Ac fe a welir yn fynych, fód y pechod hwn yn cyffwrdd a barnedigaethau tra-echryslon, ie yn y bŷd hwn. Ond os hynny ni ddychwelei, na thybied y *dyn balch* iddo ddiangc *dial Duw*, canys diammeu yw y bydd cyfrif gresynol yn y bŷd a ddaw; oblegid os ni arbedodd Duw yr Angylion am y pechod hwn, eithr ei taflu nhw i Uffern, na edryched neb arall am ddiangc yn well.

Y Ffoledd 8. Yn *drydydd* mi a ddangosaf i chwi ddirfawr *ffoledd* y pechod hwn; ac er mwyn hyn fe fydd angenrheidiol ystyried yr amryw bethau y bydd dynion arferol o fód yn falch o honynt; y rhai ydynt o dri máth, naill ai 'r rhai yr ydyni yn ei alw yn *Ddâ natur*, neu *Ddâ cyfoeth*, neu *Dda Grâs*.

Dá natur. 9. Trwy *Ddâ natur* yr wyf yn meddwl *Wyneb-pryd*, *Nerth*, Synwyr, a'r cyffelyb, ac *ynfydrwydd* dirfawr yw bód yn falch o'r ûn o'r rhain: canys yn *gyntaf* yr ydyni yn barod iawn i gamgymmeryd, ac i'n tybio ein hunain yn hawddgar neu yn Synhwyrol pan na boni, ac yna nid all bód mwy *ffoledd* na bód yn falch o'r péth nid oes gennim ni; ac fal hyn y tybia pób dŷn mewn ûn arall, er nad yw ef yn meddwl felly yn ei gyflwr ei hun, ac felly nid yw ef ún amser

yn

yn dirnad hynny yntho'i hún. Ac am hynny Sul. 6.
nid oes dim yn fwy dirmygus ymysg dynion na Ffwl Balch; etto nid oes neb y sydd gantho dŷb uchel o'i Synwyr i hun nad yw yn debyg i gael fal hyn ei Siommi, gan y dyle ddŷn hyderu leiaf i'w farn ei hun am dano' i hun. Ond yn *ail*, bwriwch i ni farnu yn uniawn, etto pa beth sydd yn yr ún o'r holl gynneddfau *natúriol* hyn a dâl bód yn falch o'i plegid, gan nad oes nemmawr o honynt nad ydynt mewn rhyw greadur neu 'i gilydd mewn grâdd fwy na mewn dŷn? Pa faint y mae gwynder y *Lili*, a chochder y *Rhosyn* yn rhagori ar wyn a chóch y wynebpryd glanaf? Pa nifer o Greaduriaid sydd yn myned tu hwynt o lawer i ddŷn mewn *nerth* a *chyflymder?* Ac y mae amryw rai eraill y rhai cymmhelled ac y perthyn i ryw ddiben defnyddiol iddynt ei hunain, sydd yn gweithredu yn llawer synhwyrolach na'r rhan fwyaf o honom ni; ac am hynny a osodir i lawr yn fynych yn y Scrythur megys yn *Esampl* i ni. Y mae gan hynny yn anrhesymmol iawn i ni dybied yn uchel o honom ein hunain am y cyfryw bethau ac sydd yn gyffredinol i ni ac i fwystfwylod a phlannhigyn. Ond yn *drydydd* pe byddent hwy mor rhagorol ac yr ym ni yn ei ffansio hwynt, etto nid ydynt yn barhaus, eithr yn ddarfodedig ac yn golledig trwy amryw foddion; *Cynddaredd* a ddinistria 'r Synwyr godidoccaf; *Clefyd* a lygra 'r wynebpryd glánaf, a'r crysder mwyaf, neu pa un bynnag fe wná *henaint* y cwbl. Ac am hynny o herwydd hyn hefyd ynfydrwydd ydyw ymfalchió o honynt. Ond yn *ddiweddaf*, pa beth bynnag ydynt, ni roesoni mo honynt hwy i ni ein hunain. Nid all néb dybied ddarfod iddo ef wneu-

Dos. 6. thur dim tu ag at achosio ei wynebpryd, neu 'i Synwyr naturiol ei hun, ac felly nid all ef mewn Rheswm roi bri arno ef ei hún am danynt.

Dá Ffortun-

10. Y *ail* y mae'n gymmaint ynfydrwydd ymfalchio o ran *Dâ Ffortun*; megys *Gólud*, *Anrhydedd*, a'r cyffelyb; canys diammeu yw nad ydyw y rhai hyn yn adroddi dim at wîr Odidowgrwydd dŷn, nhw a allan ei helpu fo i beth rhwysg ac ardderchowgrwydd oddiallan, ond nid yw hynny yn gwneuthur cyfnewidiad yn y byd yn y dŷn. Chwi a ellwch lwytho *Assyn* ac arian, neu 'i harddu ef ac *Addurnau* gwerthfawr, etto ni wnewch chwi mo hono ef ddim yn fáth anrhydeddusach o anifail trwy yr ún o'r rhain. Trachefn, yn *ail*, y mae y rhain yn bethau nad oes gennini ddim siccrwydd o honynt, y maent hwy yn diflannu yn ddisymmwth; fe all ún a fo yn gyfoethog heddyw fód yn dlawd y foru, ac yna po balchaf yr oedd ef pan ydoedd yn oludog, lleiaf o dosturi a fydd gan bawb iddo ef yn ei dlodi. Yn *drydydd* nid ydyw'r cwbl gennini ond megys gan *Oruchwil-wyr* i'w gosod allan i elw ein *Meistr*; ni a ddylen gan hynny yn hyttrach feddwl, pa fódd i wneuthur ein cyfrifon, nag ymffrostio o'r pethau yr ydyni yn ei dderbyn. Yn *ddiweddaf* pa beth bynnag o'r rhain sydd gennini, nid ydynt hwy yn ddledus, mwy na'r lleill, i ni ein hunain: oblegid os cafwyd hwynt yn gyfreithlon, yr ddyni yn rhwymedig am danynt i Dduw yn unic, Bendith pwy ún sydd yn cyfoethogi, Dihar. 10. 22. Os yn anghyfrethlon, yr ydyni yn ei perchennogi nhw ar y cyfryw dermau, nad oes i ni ond achos

fechan

ſechan i ymffroſtio o honynt. Ac fal hyn y gwelwch chwi yn ar amryw ffyrdd hyn *Ffoledd* yr *ail* ſáth ymma o Falchder. Sul. 6.

11. Y *drydydd* ſáth yw oblegid *Dá Grâs*, hynny yw, rhyw rhinwedd a fo gan ddŷn. Ac ymma nid alla 'i ddywedyd nad yw'r pethau yn werthfawr iawn gan i bód yn odidoccach o aneirif na'r holl fŷd, er hynny i gyd y mae hwn yn fwy ynſydrwydd na'r lleill i gyd : a hynny nid yn unic o herwydd y Rheſymmau o'r blaen, nad ydynt hwy yn dyfod trwom ein hunain (oblegid y mae Duw ei hûn uchlaw pób péth yn gweithredu grâs ynom ni ; ) ond yn enwedig yn hyn, mae bód yn falch o Râs yw'r ffordd ſiccr i'w golli ef. Duw, yr hwn ſydd yn rhoddi Grâs i'r Goſtyngedig, a'i dwg ef ymmaith oddiar y balch. Canys os *dygwyd y dalent oddiarno ef* fal y gwelwn ni yn y ddammeg, *Math.* 25. 28. yr hwn yn unic ni roddes mo honi allan yn llóg, pa fódd y diſgwyl ef i mwynhau hi rhag llaw yr hwn a'i harferodd hi cyn-ddrŵg, ac yn lle marchnatta a hi tros *Dduw*, a farſiandiodd a hi tros *Satan ?* Ac megys ac y cyll ef y *Grâs* rhag llaw, felly y cyll ef yr holl *wobr* o honi hi am yr amſer a baſſiodd. Canys er maint o weithredoedd dâ a wnaeth dŷn, etto os efe a fydd Balch o honynt, fe gyfrifir y balchder hwnnw iddo ef i'w ddiniſtr, ond ni chofir byth mor daioni er gwobr iddo. Ac y mae hyn yn yn dangos mae ffoledd tra-echryſlon yw ymfalchió o Râs. Y mae 'n debyg i *blant* y rhai a dynnan yn dippian y pethau a fo mwyaf hôff ganddynt, ond yn waeth o lawer na hynny, canys nid ydyni yn unic yn colli 'r peth (a hynny

Dâ Grâs.

Dos. 6. yn beth gwerthfawroccaf yn y bŷd ) ond rhaid i ni hefyd gael ein Cospi'n dragywydd am wneuthur felly, gan nad oes dim y bydd cyfrif tostach am dano yn y bŷd a ddaw, nag am gam-arferu *Grâs*, ac yn ddiammeu nid all bôd mwy camarfer o hono na'i wneuthur ef i wasanaethu i ddiben mor hollawl yn wrthwynebus i hwnnw er mwyn pa ûn y rhoddwyd ef, canys fe'i rhoddwyd ef i'n gwneuthur ni yn ostyngedig, nid yn falch ; i fawrygu Duw, nid ni ein hunain.

Moddion o Ostyngeiddrwydd.

12. Yn awr gan ddarfod i mi ddangos i chwi gymmaint am y Pechod hwn, yr wyf yn meddwl yr ymddengys fôd yn dra-angenrheidiol ei ochelyd ef ; ac er mwyn hynny fe sydd yn fuddiol, yn *gyntaf*, ystyried pa béth a draethwyd yn barod am dano ef, a hynny mor ddifrifol ac i weithredu ynom ni nid yn unic rhyw anfodlonrhwydd ysgoewan iddo, eithr casineb dirfawr annhyhuddol o'r pechod : yn *ail*, bod yn wiliadwrus iawn ar dy galon rhag iddi achlesu ûn dechreuad o hono ; a gochelyd ûn amser gynnwys i'th ffansi fysyrio ar dy haeddedigaeth dy hûn ; ond pa brŷd bynnag y cysyd y cyfryw feddwl ynoti, cura ef i lawr yn ebrwydd, trwy gôffhau rhai o'th ffoledd, a'th Bechodau o'r blaen, ac felly y gwna 'r cynnhyrfiad ymma i *Falchder*, yn achlysur o *Ostyngeiddrwydd*. Yn *drydydd*, na chystadla mo honot dy hûn ûn amser a'r rhai y tybioch di ei bod yn ffolach neu yn annuwiolach na thi dy hun, môdd y galloch di fâl y *Pharisæad*, Luc. 18. 11. dy fawrygu dy hún am fód yn well ; eithr os chwennychi di ymgystadlu, gwna hynny a'r Doeth ac a'r Duwiol, ac yna y cei di weled dy

fód

fôd cymmhelled or ôl, ac y bydd iti achos i'th teymddarostwng dy hun, ac i dynnu i lawr y tebygoliaeth uchel honno o honot dy hûn. Yn *ddiweddaf*, Bydd ddifrifol iawn mewn Gweddi, ar fôd i Dduw ddiwreiddio allan pôb grâdd o'r Pechod hwn ynoti, a'th wneûthur di yn ûn o'r rhai *Tlodion* hynny *yn yr Ysprŷd*, Math. 5. 3. i ba rai yr addewir y fendith o Deyrnas nêf ei hûn. Sul. 6.

13. Yr ail péth gwrthwynebus i *Ostyngeidd-rwydd* mi a ddywedais i chwi oedd *Gwag-orfoledd*; hynny yw, sŷched dirfawr am Glôd gan ddynion. Ac yn *gyntaf* nid rhaid i mi ddim pellach i brofi fôd hwn yn Bechod na geiriau ein Hiachawdr ei hûn, *Jo*. 5. 44. *Pa fôd y gellwch chwi gredu, y rhai ydych yn derbyn gogoniant gan ei gilydd?* lle y mae 'n eglur nad ydyw ef yn unic yn bechod, eithr yn gyfryw un ac sydd yn rhwystro derbyn Crîst i'r galon, canys felly y mae *credu* yno yn arwyddoccáu. Y mae hyn gan hynny yn yr *ail* man yn dangos i chwi hefyd Enbydrwydd y Pechod hwn, oblegid os yw ef yn gyfryw ac sydd yn cadw Crist allan o'r galon, diammeu yw ei fôd ef yn dwyn anneirif o *Beryglon*, gan fôd ein holl ddiogelwch ni, a'n holl Obaith o ochelyd y digofaint a ddaw yn sefyll ar ei dderbyn ef. Ond heb law awdurdod y Testyn hwn, y mae cyfarwyddyd cyffredinol yn dangos, mae pa le bynnag y bô gan y Pechod hwn feddiant, ei fod ef yn peryglu dynion i syrthio i amryw bechodau eraill. Canys y nêb sydd felly yn ystyried clôd gan ddynion, na chyll ef moni hi mewn ûn môdd, pa brîd bynnag y daw 'r Pechodau mwyaf i barch ac arfer (megys

Gwagorfoledd.

Y Pechod.

Y Perygl.

Dos. 6. y gŵyr Duw fod llawer yn y dyddiau hyn ) efe a sydd yn siccr o'i gwneuthur hwynt yn hyttrach na chymmeryd arno 'r anghlód o fod yn unig ac yn bendant; yr wyf' yn meddwl fod llawer o gydwybodau a ddichon dystiolaethu 'r gwirionedd ymma, fal nad rhaid i mi ddywedyd dim anghwaneg i brofi *perigl* y pechod hwn.

Y Ffoledd.

14. Y *Trydydd* peth i mi i'w ddangos yw ei *ffoledd* ef; a hynny a ymddengys yn *gyntaf*, trwy ysteried beth ydyw'r hyn yr ydyni fal hyn yn ei chwennych mor ddirfawr, dim ond ychydig *awel*, *chwŷth*, ac *Anadl* dynion, nid yw yn dwyn i ni ddim gwir-fûdd: Canys nid wyf na doethach na gwell er i ddynion ddywedyd fy môd yn ddoeth neu yn dda. Heb law hynny, os canmolir fi, rhaid i hynny fód naill ai o flaen yngwyneb, neu yn ôl fynghefn; os y cyntaf, y mae hynny gan mywyaf yn weniaith ac yn fwyaf Cam a ellir ei gynnig i mi, ac yna nid wyfi ond ffôl iawn ymfodloni ac efo. Ond os y tû ól i'm cefn, nid oes gennifi cymmaint a'r plefer o wybod hynny; ac am hynny, ynfydrhwydd rhyfeddol yw fal hyn gynllwyn péth mor anfuddiol. Ond yn *ail*, nid yw hynny yn unig yn anfuddiol, ond yn boenus ac yn anhywedd hefyd. Nid yw 'r néb sydd yn chwennych clód yn ddirfawr yn feister arno 'i hun, Ond rhaid iddo gynnhwyso 'i holl weithredoedd i'r diben hwnnw, ac yn lle gwneuthur y péth y bo 'i reswm a'i gydwybod ( iê ac ysgatfydd ei gyfleusdra bydol ) yn ei gyfarwyddo ef, rhaid iddo ofalu am wneuthur y péth a ddŵg iddo *ganmoliaeth*, ac felly ei wneuthur ei hûn yn gaethwâs i bôb dŷn a fo gantho dafod i'w ganmol ef. Ië, y mae yn hyn etto

ymmhellach

ymmhellach gythrwblaeth mwy, ac hynny yw, pan ballo'r cyfryw ddŷn o'i amcanion, a methu cael *Clód*, iè ac ysgatfydd yn lle hynny cael dirmyg a gogan, (yr hyn nid yw yn dychwelyd i néb yn fynychach nag i'r gwag-orfoleddus, gan nad oes dim yn gwneuthur dŷn mwy dirmygus) yna pa aflonyddwch a chythryfwl meddwl y mae efe tano? ,Y mae i ni Esampl ragorawl am hyn yn *Achitophel*, 2 Sam. 17. 23. Yr hwn pan *welodd Absalom yn dirmygu ei gyngor ef*, a ddewisodd ymwrthod a'r gwradwydd hwnnw trwy ei *grogi* ei hûn. A diammeu fód y penyd hwn sydd yn dilyn y Pechod ymma yn brawf ddigonol o'i *ffoledd* ef. Etto nid hyn yw'r cwbl, y mae fo etto yn niweidiol iawn. Canys os bydd y Gwâg-ogoniant ymma ynghylch rhyw Weithred ddaionus, neu Gristianogawl, y mae'n diddynnu 'r holl ffrwyth o honi hi; rhaid yw i'r néb a fo 'n *Gweddio*, neu 'n *rhoddi Elusen* er mwyn i weled gan ddynion, gymmeryd hynny megis yn wobr iddo, Math. 6. 2. *Yn wir meddaf i chwi y maent yn derbyn ei gwobr*; na ddisgwylian ddim gan Dduw ond cyfran y Rhagrith-wyr hynny y rhai sydd yn *caru Clôd gan ddynion yn fwy na Chlôd gan Dduw*. Ac nid yw ond *ffoledd* gresynol wneuthur y cyfryw gyfnewid. Y mae 'n debyg i'r *Cî yn y Chwedl*, yr hwn pan gansu yn y dwfr gyscod y bwyd a oedd gantho ef yn ei safn, a geisiodd gipio'r cyscod, ac felly a ollyngodd ei fwyd i golli. Y cyfryw *Gwn*, y cyfryw greaduriaid anrhesymmol ydyni pan foni fal hyn yn gwllwng ymmaith wobr tragywyddol yn y nêf i ymgais ac ychydig eiriau têg gan ddynion. Ac etto, nid ydyni yn unic yn colli 'r llawenydd

Sul. 6.

trag-

Dos. 6. tragwyddol hwnnw, eithr o'r tu arall yn dwyn arnom ein hunain drueni tragywyddol, yr hyn yn ddiammeu yw'r râdd uchaf o *ffoledd* ac ynfydrwdd. Ond y mae'r Gwâg-Orfoledd ymma yn niweidiol iawn, os ni bydd hi ynghylch rhyw Weithred rinweddol, eithr rhyw beth diduedd yn unic; canys y mae gwâg-ogoniant yn bechod yr hwn pa le bynnag y gosodir ef, a berygla ein cyflwr tragywyddol ni yr hyn yw'r drŵg mwyaf a áll fód. Ië ac yn y cyfamser fe ellir Ystyried fod hwn, yn anad pechod yn y bŷd, yn sefyll fwyaf yn ei oleuni ei hún, ac yn ei rwystro'i hun o'r peth hwnnw y mae'n i gynllwyn. Canys nid oes nemmawr o rai ar sydd fal hyn yn dyfal geisio *Clôd*, nad ydys yn dirnad ei bôd nhw felly, ac yna fe leihá hynny lawer ar béth bynnag a wnelon'hw yn ganmoladwy, ac a ddŵg wradwydd arnynt hwy yn lle Clód ac Urddas. Ac yna mor gyfiawn y gellwni euog-farnu'r pechod hwn o *ffoledd* yr hwn sydd cyn-ddrŵg yn trefnu ei arfaeth ei hún.

15. Chwi a welwch mor echryslon yw'r Pechod hwn o *Wâg-orfoledd* yn yr amryw ffyrdd hyn, dyfal Ystyriad pa ûn, a ddichon fód yn ûn modd rhagorawl i'w orchfygu ef, ac at hynny fe fydd yn angenrheidiol anghwanegu, yn *gyntaf*, wiliadwriaeth ddiesceulus trosom ein hunain; Ystyria 'n fanwl a wyti mewn ûn *Ddled-swydd Gristianogawl* yn edrych am Glôd gan ddynion, ac Ystyria hefyd a wyti mewn ún weithred ddiduedd yn ei chwennych hi yn ddirfawr, ac os canfyddi di dy fód yn tueddu at y ffordd honno, bydd wiliadwrus iawn arnat dy hûn, a phan gynnhyrfo hyn ynoti, gwrthládd ac attal ef yn

Cymmorth yn erbyn Gwag-orfoledd.

Sul. 6.

chrwydd ac na oddefa i hynny fód yn ddiben o'th weithredoedd di: Ond mewn pób péth a berthyn i Grefydd bydded dy Ddled-swydd yn unic Annogaeth i ti; mewn pób péth annhueddol a berthyn i'th fywyd gád i'th Reswm dy gyfarwyddo di; ac er i gelli di yn y pethau hynny Ystyried tŷb dynion cymmhelled ac i ddal sulw ar y rheolau o *weddeidd-dra cyffredinol*, etto na thybia un amser y tâl ûn g'ód a ddychwel i ti yn y môdd hynny ymdrech am dano: yn *ail*, gosod i fynu *amcan a diben arall* i ti dy hûn, sef, bwriad o *foddhau* Duw, pan fóch di yn myned ynghylch rhyw béth Ystyria ydyw'r péth yn gymmeradwy gantho ef, ac yna ni bydd genniti mor ennyd i feddwl pa Glôd a gei di gan *ddynion* oddiwrth hynny. Ac yn ddiammeu pwy bynnag a ddyfal Ystyria o ba faint gwerthfawroccach yw bodloni Duw, yr hwn a ddichon roddi i ni wobr tragywyddol, na dynion, geir da pa rai ni all byth wneuthur i ni lesháad, yn ddiammeu fe a dybia 'n rhesymmol iawn ofalu yn unic am y cyntaf. Yn *drydydd*, os canmolir di ûn amser, na lawenhá ormod oblegid hynny, ac na thybia ddim gwell o honot dy hûn; ond cofia os am *Rinwedd* i'th clodforir, mae Duw a'i gweithredodd ef ynoti, a dyro iddo ef y Gogoniant, heb dybied ûn amser fód ûn rhan o hono ef yn perthyn iti: os am ryw *Weithred annhueddol*; yna cofia na haedda hi mor Glôd, gan nad oes dim daioni ynthi hi: Ond os am ryw *Weithred ddrwg* (megis ac y mae 'n gyffelypaf i'r cyfryw rai gael ei canmol y mysg dynion) fe ddyle hynny dy osod ti i arswydo 'n ddirfawr yn lle llawenychu, canys yna y mae 'r Gwae hwnnw o eiddo ein Hiachawdr yn perthyn iti, *Luc.* 6. 26. *Gwae chwi*

Dos. 6. *chwi pan ddywedo pôb dyn dda am danoch, canys felly y gwnaeth ei Tadau hwynt i'r gau-brophwydi*; *ac nid oes ûn* arwydd mwy o galon galed, na phan allo dynion wneuthur ei Pechodau yn achos o'i Gorfoledd. Yn *ddiweddaf* bydded dy *Weddi* yn gymmorth iti yn yr ymdrech ymma a'th Lygredigaeth.

Llaryeidd dra.

16. Yr ail **Rhinwedd** yw **Llaryeidddra**, hynny yw tawelwch a llonyddwch Yspryd, yngwrthwyneb i gynddeirogrwydd ac aflonyddwch Digofaint. Fe a ellir arferu 'r *Rhinwedd* ymma naill ai o herwydd *Duw* neu'n *Cymydog*. Mi a draethais yn barod am yr hwn a berthyn i *Dduw* tan y pwngc o *Ostyngeiddrwydd*; ac am yr hwn a berthyn i'n Cymydog mi a draethaf rhag llaw. Cymmaint ac sydd gennif i ymma i'w draethu am dani hi, yw, pa fódd y mae hi yn Ddled-swydd i ni ein hunain; ac y mae hi felly oblegid y *Bûdd* mawr yr ydyni yn ei gael oddiwrthi hi; yr hyn, o wîr garedigrwydd i ni ein hunain, sydd raid i ni edrych am dano. Ac er mwyn profi fôd hwn yn dwyn i ni *Fûdd* mawr, nid rhaid i mi ddywedyd dim ychwaneg na darfod i Grist addaw Bendith i'r Addfwynder hwn, *Mat.* 5. 5. *Gwyn eu byd y rhai addfwyn*, nid yn unic yn y bŷd a ddaw, ond yn hwn hefyd, canys *hwy a feddiannant y Ddaiar*. Yn wîr nid oes néb ond y rhai *addfwyn* yn gwîr feddiannu dim yn y bŷd, oblegid fôd y rhai ffromm digllon yn debyg i bobl gleifion, y rhai nid ydynt yn mwynhau'r hawddfyd mwyaf: canys er tecced a fo pób péth oddiallan nhw a godan gythryfwl oddifewn ei mynwes ei hunain. Ac yn ddiammeu pwy bynnag a ddalio

Sulw

Sulw ar aflonyddwch y wŷn ymma o Ddigllon- Sul. 6.
rhwydd naill ai yntho ei hun, ai mewn rhai eraill, nid all ef lai na chydnabod mae péth hyfryd iawn yw *Llaryeidd-dra.*

17. Heb law hynny y mae ef yn béth traanrhydeddus, oblegid wrth hynny 'r ydyni yn yn Tebygu i Grîst, *Dyscwch gennifi*, medd ef, *am fy mód yn fwyn ac yn ostyngedig o galon*, Mat. 11. 29. Trwy hwn hefyd yr ydyni yn cael yr oruchafiaeth fwyaf ac anrhydeddusaf. Yn *ddiweddaf*, hwn sydd yn gwneuthur i ni ein hymddwyn ein hunain fal dynion, lle y mae digofaint yn ein gwneuthur ni yn nawswyllt ac yn greulon fal Bwystfilod Gwylltion. Ac yn ól hynny y mae 'r naill yn cael parch a Chariad, a'r llall Gasineb ac atgasrwydd, gan fód pawb yn gochelyd dŷn gŵyllt fal anifail cynddeiriog.

18. Trachefn, *Addfwynder*, yw Sobrwydd y meddwl, ond digllonrhwydd yw llŵyr gynddeiriogrwydd; y mae 'n hollawl yn gosod Dŷn allan o'i allu' i hûn, ac i wneuthur y cyfryw bethau ac y bo arno' i hûn yn sobr gywilydd o'i plegid; pa sawl ûn a wnaeth y cyfryw bethau yn ei cynddeiriogrwydd, am ba rai y bu edifar ganddynt tros ei holl fywyd ar ól hynny? Ac am hynny yn ddiammeu y mae'r Rhinwedd ymma o *Addfwynder* yn myned tu hwynt mewn *Anrhydedd* i Ddigllonrhwydd, cymmaint ac y mae dŷn yn anrhydeddusach nag anifail, neu ûn sobr pwyllog na meddwyn cynddeiriog.

19. Heb law hyn y mae *Addfwynder* yn gwneuthur pob cyflwr yn hawdd ei oddef. Y

mae

Dos. 6. mae 'r néb sydd yn cyd-ddwyn a thrueni yn llaryaidd, yn ei ddifinio ef fal na allo mo'i archolli ef; ond y mae 'r néb a fo yn brawychu ac yn ymgynddeiriogi am hynny, yn ei hogi ef, ac yn ei wneuthur ef yn llymmach nag y bydde fo; jë, mewn rhai pethau y mae 'n gwneuthur hynny felly, yr hyn oni bae hynny ni bydde felly ddim, megys *Geiriau gwradwyddus*, y rhai ni ddichon wneuthur i ni ddim niwed ynddynt ei hunain, nid ydynt nag yn briwo'n Cyrph ni, nac yn lleihau ein Golud, yr unic ddrŵg a allant ei wneuthur i ni yw ein gwneid ni yn ddigllon, ac yna fe ddichon ein Digllonrhwydd ni wneuthur i ni lawer o ddrŵg ychwaneg. Ond nid yw'r néb a bassio heibio iddynt yn *addfwyn* ddim gwaeth erddynt, jë yn hyttrach yn well; canys fe a gaiff wobr gan Dduw am yr *Ammunedd* hwnnw. Llawer ychwaneg a ellid ei draethu er mwyn canmol y Rhinwedd hon i ni, oblegid ein *Bûdd presennol ein hunain*, ond yr wyfi'n meddwl fód hyn yn ddigon i annog dynion i dybied yn barchus o honi hi. Anhawsach o lawer yw ei dwyn hwynt i'w harferu hi y rhai sydd yn lledrithio ryw Rwystrau yn ardymmyr naturiol y Corph, a'r cyffelyb; etto yn ddiammeu nid oes néb o dymher mor *Nawswyllt*, na welei fo, os efe a osodai yn ddiwyd ynghylch hynny, nad yw ammhossibl mewn rhyw fesur da eu gorchphygu hi: ond rhaid iddo fôd yn ddiesceulus yn arferu'r moddion i'r diben hwnnw. Y mae amryw o'r moddion hynny, ni thraetha'i ond am ychydig o honynt.

20. Me-

Sul. 6.

20. Megys, yn *gyntaf*, argraphu 'n ddwys yn ein Calonnau a'n meddyliau brŷdferthwch a Bûdd Llaryeidd-dra, ynghyd ac anharddwch a drŵg Digofaint. Yn *ail* gosod Siampl Crist o'n blaen, yr hwn a oddefodd bôb dirmyg, iê ac arteithiau yn ammuneddgar iawn, yr hwn a *arweinwyd fal Dafad i'r lladfa*, Esai 53. 7. *Yr hwn pan ddirmygwyd, ni ddirmygodd eilwaith, pan ddioddefodd, ni fygythiodd*, 1 Pet. 2. 23. Ac os dioddefodd *Arglwydd y Gogoniant* fal hyn yn Addfwyn ac yn anghyfiawn gan ei greaduriaid ei hûn, a pha wyneb y gallwn ni bŷth gwyno am ûn cam a wnelir i ni? Yn *drydydd* bôd yn wiliadwrus iawn i ragflaenu dechreuad Digofaint, ac i'r diben hwnnw marwhau pób *cyndynrhwydd* ac *anynadrwydd* y meddwl, yr hwn sydd yn bechod yntho'i hûn, er nad elo ddim pellach, eithr a fydd siwr, os achlesir ef, o dorri allan i ffrwythau hynod o Ddigofaint. Pan ganfyddoch di gan hynny ei gynnhyrfiad lleiaf ef ynoti, bydd mor bryssur i'w ysdwrdio ac i'w attal ef ac a fydditi i ddiffodd Tân yn dy dû; ond edrych yn ddyfal rhag dwyn o honot danwydd atto ef, trwy groesawu dim meddyliau a ddichon ei anghwanegu ef. Ac yn enwedig ar y cyfryw amser cadw wiliadwraeth gaeth ar dy dafod, rhag iddo dorri allan i ryw eiriau digllon, canys fe chwytha'r Awel hwnnw'r Tân, nid yn unic yn dy wrthwynebwr, ond ynot dy hún hefyd; am hynny er bôd dy galon yn boeth oddifewn, taga'r fflamm, ac na âd iddo dorri allan; a pho mwyaf a fo'r Brofedigaeth, derchafa yn fwy difrifol dy galon at Dduw ar fód iddo ef dy gymmorth di i'w gorchfygu hi.

Yn

Prfedgaeth

Doſ. 6. Yn *bedwerydd*, Cofia yn fynych pa goſpedigaethau trymmion a haeddodd dy Bechodau di, ac yna byddant oddiwrth Dduw neu ddŷn, ti a gydnabyddi ei bód hwynt yn fyrr iawn o'th Haeddedigaeth, ac am hynny a gywilyddi fód yn anfoddog o honynt.

June 13.703. Haggai. 1. 7. fel hyn y dywed Argl. y lluoedd ystyriwch eich ffyrdd.
[illegible] 7. Octob. 705

Yſtyriaeth.

21. Y *drydydd Rinwedd* yw Yſtyriaeth; a hon mewn môdd enwedigol ſydd yn ddledus arnoni i'n Heneidiau. Canys héb hyn ni a'i rhuthrwn hwynt, ſal y bydd pobl chwidr byrrbwyll yn arfer o wneuthur, i beryglon aneiriſ. Y mae'r *Yſtyriaeth* ymma naill ai o'n *Hyſtâd* neu o'n *Gweithredoedd*. Trwy'r gair hwn (*Yſtâd*) yr wyſ yn meddwl béth yw ein cyflwr ni tu ag at Dduw, pa ûn ydyw ef ai bôd yn gyfryw ac y gallwn ni ddywedyd mewn Rheſwm ein bód ni yn ei ffafor ef. Y mae'n ſefyll arnoni yn ddirfawr Yſtyried a phrofi hyn, a hynny nid trwy'r rheolau hawdd hynny y bŷdd Dynion yn barod i'w cymmhwyſo iddynt ei hunain, megys, pa ûn ai Credu ddarfod i Griſt farw tros ei pechodau hwynt, neu a ydynt hwy o niſer yr Etholedigion, ac a fyddant yn ddiammeu yn gadwedig; os y rhai hyn neu 'r cyffelyb fydde 'r cwbl a ddiſgwylid i'n goſod ni mewn ffafor Duw, ni bydde néb allan o hono ef oddigaeth rhyw ûn athriſt meddylgar; Canys yr ydyni yn gyffredinol yn barod iawn i gredu yn gyſſurus am danom ein hunain. Ond y Rheolau a roddodd Duw i ni yn ei Air yw y rheini trwy ba rai y bŷdd raid ein profi ni y dŷdd diweddaf, ac am hynny yn ddiammeu yw'r unic rai ſiccr i ni i'n profi ein hunain wrthynt yr awrhon. A Sylwedd y rhai hynny yw mae pwy bynnag a

O'n Hyſtâd.

Deut. 32. 29. O na baent ddoethion, na ddeallent, nad ystyrient eu diwedd.

barháo

barháo mewn *unrhyw Bechod o'i wirfodd*, nid yw hwnnw yn ei ffafor ef, ac os bydd efe *marw* felly, nid gwiw iddo ef ddisgwyl am ûn drugaredd ar ei law ef. Sul. 6.

22. Yn awr y mae 'n dra-angenrheidiol i ni ystyried beth yw ein cyflwr ni oblegid hyn; canys gan nad yw'n bywyd ni ddim ond Awel o wynt yn ein ffroenau, yr hwn am a wyddoni addygir oddiarnoni y munudyn nessaf, fe a berthyn i ni yn ddirfawr wybod pa fòdd yr ydyni gwedi ein paratoi tú ag at fŷd arall, fal os oes arnoni eisiau yr awrhon yr Olew hwnnw yn ein Llusernau, a pha ûn y bydd raid i ni gysarfod y Priod-fad, *Math*. 25. 8. y bo i ni ei geisio ef mewn prŷd, ac nid o'i ddiffyg ef cael fel y morwynion angall ein Cau allan am bŷth o'i bresennoldeb ef. Esgeluso 'r *Ystyriaeth* ymma a ddistrywiodd lawer o Eneidiau, rhai trwy gredu yn rhy hygoel ei bôd mewn cyflwr dá, heb ystyried na 'i Profi ei hunain wrth y Rheol o'r blaen either rhysygu naill ai ar ryw weithred wael oddiallan, neu ar y cyfryw gau ffydd ac a draethais i am dani yr awrhon; eraill trwy fyned ymlaen yn ddiofal, heb gymmaint ac ymoralw beth yw ei cyflwr, ond yn gobeithio y dichwel iddynt yn gystal ac i'w Cymydogion, ac felly heb edrych bŷth ymmhellach; yr hwn ddiofalwch echryslon a ddestrywia 'r cyflwr Ysprydol, cyn siccred ac y gwna 'r cyffelyb i'r amserol; etto yn y cyflwr amserol ymma y mae pôb dŷn yn abl doeth i ragweled, fòd y nêb nid yw ûn amser yn cymmeryd cyfrifon o'i gyflwr i weled a ydyw ef yn talu dim neu beidio, yn siccr o fòd yn garddotyn o'r diwedd. Ond yn y péth ymma

Hoel

Yrofi

Dos. 6. ma sydd fwy pwysfawr o lawer ni a fedrwn yn gyffredinol fód yn ddiofal ac yn esgeulus.

Ein Gweithredoedd.

23. Yr *ail* péth i ni i'w *Ystyried* yw ein *Gweithreddodd*, a hynny naill ai *cyn* neu *Gwedi* eu gwneuthur hwynt. Yn *gyntaf*, rhaid i ni ysteried ymlaen llaw, na wneloni ddim yn ehud nag yn fyrbwyll; ond yn*gyntaf* ymgynghori a'n Cydwybodau a ydw 'r peth yn gyfreithlawn i'w wneuthur, canys, y nêb a ddilyno ei ffansi a'i ogwygddiad ei hûn, ac a wnelo bôb péth y bo hwnnw yn ei gynnhyrfu ef iddo, a fydd siccr o syrthio i liaws o Bechodau. Am hynny ystyriwch yn ddifrifol, a byddwch siccr o fôd y péth yn gyfreithlon cyn i chwi feiddio i wneuthur ef. Fe a gyfrifir yr ymgynghoriad hwn mewn pôb pethau bydol yn ran ö Ddoethineb mor angenrheidol, nad ydys yn cyfrif neb yn ddoeth hebddi hi; yr ydyni yn edrych ar ddŷn byrbwyll megys y rádd nessaf at ûn gwallgofus: Ac etto yn ddiammeu, nid oes gymmaint o achos i edrych o'n Cwmpas mewn dim ac yn y peth a berthyn i'n Heneidiau, a hynny nid yn unic o herwydd ei prîs mawr hwynt uchlaw pôb pethau eraill, ond hefyd oblegid y Perigl mawr y maent yntho, fal y dangoswyd yn helaeth yn nechreu 'r Traethawd.

cyn ei gwneuthur.

Gwedi ei gwneuthur hwynt.

24. Yn *ail*, rhaid i ni hefyd *Ystyried* ein Gweithredoedd gwedi iddynt *fyned heibio*, hynny yw, rhaid i ni holi ac ymofyn a oeddynt hwy, yn gyfryw ac sydd yn gymmeradwy trwy Gyfreithiau Crist. Y mae hyn yn dra-angenrheidiol pa ûn bynnag fyddont ai da ai drŵg; os da fyddant, y mae ei hailgoffháad hwynt yn ein helpu

helpu ni i gyssur *Cydwybod dda*, ac y mae 'r Sul: 6.
cyssur hwnnw drachefn yn rhoi calon ynom ni i wneuthur felly rhag-llaw; ac heb law hyn, y mae hynny yn ein cyffroi ni i roddi diolch i Dduw, trwy râs pa ûn yn unic i'n nerthwyd i'w cwplhau hwynt. Ond os drwg ydnt, yna yn enwedig y mae 'n angenrheidiol i ni fal hyn ein profi ein hunain, oblegid heb hynny ammhossibl yw i ni byth wellhau; canys oddigaeth i ni ddal fulw ei bôd hwynt ar fai, ni thybiwn ni byth yn angenrheidiol i ni wellhau, ond ni a redwn ymlaen yn wastad o'r *naill ddrygioni i'r llall*, yr hyn yw 'r felldith fwyaf a ddichon fôd ar ûn dŷn.

25. Po mynychaf gan hynny yr arferoni yr *Ystyriaeth* ymma goreu a fydd, oblegid anghyffelypaf a fydd i'r ûn o'n Pechodau ni ochelyd ein gwybodaeth ni. Peth dymunol iawn yw fôd i bôb dŷn fal hyn *brofi bôb nôs weithredoedd y Dydd*, môdd y gallo ef os gwnaeth ef ddim ar fai yn ebrwydd ei geryddu ei hûn am dano, a llawnfwriadu yn ei erbyn ef, héb gynnwys iddo gynyddu i gynnefindra ac arfer: ac er mwyn iddo hefyd erfyn maddeuant gan Dduw mewn prŷd, yr hwn po cyntaf y gofynnir hawfaf y ceir, gan fôd pôb oediad o hynny yn anghwanegu 'r pechod yn ddirfawr. Ac yn ddiammeu pwy bynnag fydd yn amcanu cymmeryd cyfrif o hono ei hûn a genfydd mai hon yw'r môdd esmwythaf, gan fôd yn hawsach gwneuthur hynny fesur ychydig o'r unwaith. Yn awr os ystyrir fôd yn rhaid edifarhau yn neillduol am bôd pechod rhyfygus cyn y maddeuir ef, mi debygwn y dyle ddynion arswy-

Dos. 6. do yn fawr gyscu heb yr edifeirwch hwnnw; canys pa siccrwydd sydd gan ûn dŷn ar sydd yn gorwedd yn ei wely y cysyd ef byth drachefn? ac yna mor beryglus yw cyflwr y dŷn hwnnw yr hwn sydd yn cysgu mewn pechod heb edifarhau am dano? Twysystyried yr amryw Annogaethau hyn a ddichon fôd, trwy fendith Duw, yn foddion o'n dwyn ni i ymarfer y Ddled-swyd hon o *Ystyriaeth* yn ei holl Rannau hi.

DOS-

1 Tim. 6. 6. Elw mawr yw ~~bodlonrwydd~~ duwioldeb gyda bodlonrwydd.



# DOSPARTHIAD, VII.

*Am Foddlonrhwydd, a'r pethau Gwrthwyneb i hynny; Gwrwgnach, Traha, Cybydd-dod, Cenfigen: Cymmorth i Foddlonrhwydd; am Ddledswyddau a berthyn i'n Cyrph; am Ddiweirdeb, &c. Cymmorth i hynny; am Gymmedrolder.*

1. Y Bedwerydd *Rinwedd* yw *Bodlonrhwydd*, ac y mae hon yn Ddledswydd sydd yn ddledus arnom tu ac attom ein hunain, gan nad yw bossibl i ni fôd yn ddedwydd hebddi hi. Y *Rhinwedd* ymma yw cwblfodlonrhwydd i'r cyflwr hwnnw, béth bynnag fytho, y gwelodd Duw yn dda ein sysydlu ni yntho, heb wrwgnach wrth ein cyflwr, eithr croesawu 'n ewyllysgar pa beth bynnag a ddansono Duw. Fe ellir gwelled mor *fawr* ac mor *hyfryd* yw 'r Rhinwedd ymma wrth ystyried cynnifer o feiau dirfawr a phoenus y mae hi yn ei gwrthwynebu; yn gymmaint a lle y bo hon gwedi ei gwreiddio yn y Galon, nid yw hi yn unic yn gorchfygu rhyw ûn pechod neillduol, eithr lliaws o honynt o'r unwaith Bodlonrhwydd.

2. Ac yn gyntaf, y mae hi 'n wrthwynebus i

Dos. 7. yn wrthwinebus i Wrwgnach. bôb *Gwrwgnach* yn gyffredinol, yr hwn sydd yn bechod câs iawn gan Dduw, fel y mae'n eglur trwy ei gospedigaethau *tôst* ef ar yr *Israeliaid* yn yr anialwch, am dano ef, megys y mae i chwi i ddarllen mewn amryw fannau o Lyfr *Exodus* a *Numeri*. Ac yn ddiammeu y mae ef hefyd yn flîn iawn, ac yn ofidus i ddyn ei hûn, oblegid os, fal y dywed y *Psalmydd*, *pêth hyfryd a llaweni'w talu diolch*, y mae 'n hynod iawn o'r tu arall mae péth trîst ac anhyfryd yw *gwrwgnach*; ac nid wyfi 'n ammeu na chadarnhá pód dŷn trwy ei wybodaeth ei hûn y Gwirionedd hwn.

3. Yn *ail* y mae 'r *Rhinwedd* ymma yn wrthwynebus i *Draha*; y mae 'r dŷn trahaus yn wastad yn *anfodlon* i'w gyflwr presennol, a hynny a wná iddo mor awyddus geisio yn uwch, ond y mae 'r néb sydd yn fodlon i'w gyflwr ei hûn yn gorwedd yn llonydd ac yn heddychol allan o lwybr y brofedigath hon. Yn awr nid yw *Traha* yn unic yn bechod mawr ynth' i hûn, eithr y mae 'n gosod dynion ar lawer o rai eraill; nid oes dim mor echryslon, na feiddia 'r neb, a fo'n dra-chwannog yn ceisio Mawredd, ei wneuthur; dywedyd Celwydd, tyngu anudon, llofruddio, neu ûn drŵg arall a wná fo 'n hylaw, os bydd hynny tebyg i dueddu tu ag at ei Dderchafiad ef: ac y mae ei flinder ef yn gyffattebol i'r Pechod, hyn ni ammheua néb os ystyria fe pa liaws o arswydau, eiddigeddau, gofalon a chythryddau sydd en dilyn *Traha* 'n wastad, heb law 'r adwyth a'r tramgwyddiadau dirfawr a chyhoeddus a sydd gan mwyaf yn dychwelyd iddo ef yn y diwedd. Yn ddiammeu gan hynny y mae Bodlonrhwydd oblegid hyn yn gystal yn Ddedwyddwch ac yn Rhinwedd.

i Draha.

4. Yn

Sul. 7. i Gybydd-dod.

4. Yn *drydydd* y mae ef yn wrthwynebus i *Gybydd-dod*; hyn y mae 'r Apostol yn ei dystiolaethu, *Hebr.* 13. 5. *Bydded eich ymarweddiad yn ddiserch i arian, gan fôd yn fodlon i'r hyn sydd gennych*; lle y gwelwch ei fód ef yn gosod Bodlonrhwydd yn union yngwrthwyneb i Gybydddod. Ond o hyn nid rhaid wrth ûn profiad ymmhellach na chyfarwyddid cyffredinol; canys ni a welwn nad yw 'r Cybydd ûn amser yn gweled fód gantho ddigon, ac am hynny ni ddichon fŷth ymfodloni; oblegid nid ellir dywedyd fôd néb felly a'r sydd yn hiraethu am ryw beth nid oes gantho. Yr awrhon er mwyn i chwi weled mor rhagorol ac angenrhediol yw 'r *Rhinwedd* ymma yr hon sydd yn ein diogeli ni yn erbyn Cybydd-dod, fe sydd yn gymmwys ystyried ychydig natur y Pechod hwn.

5. Yn ddiammeu y mae hwn yn fai dirfawr, oblegid ei fód ef yngwrthwyneb i sylfaen pôb buchedd dda; séf y *tair Ddled-swydd dirfawr* hynny, i *Dduw*, i ni ein *Hunain*, a'n *Cymydogion*. Yn *gyntaf*, y mae ef mor wrthwynebus i'n Dledswydd i *Dduw*, a bód Crist ei hún yn dywedyd i ni *Luc.* 16. 13. *nad allwni wasanaethu Duw a Mammon*: rhaid yw i'r néb a osodo ei Galon ar olud, ei thynnu hi ymmaith oddiwrth Dduw. Ac hyn a welwni beunydd yn ymarfer y *cybydd*, y mae efo mor dra-chwannog ac awyddus i ennill Cyfoeth, nad oes gantho ddim amser na gofal am gwplhau ûn Ddledswydd i Dduw; os daw ond marchnad dda yn ei ffordd ef, neu ryw odfa o elw, rhaid yw esgeuluso

Dos. 7. *Gweddi* a phòb Dledswyddau Crefyddol er mwyn cynllwyn hynny. Ië, os bydd ef tebyg i ennill neu i safio dim iddo ei hun trwy wneuthur y pechod mwyaf yn erbyn Duw, y mae ei serch ef i olud yn ebrwydd yn ei annog ef i hynny.

6. yn *ail*, y mae 'r pechod hwn yn wrthwynebus i'r Ddlêd sydd arnoni i ni ein *Hunain*, a hynny yn gystal i'n Heneidiau ni ac i'n Cyrph. Y mae 'r Cybydd yn diystyru ei Enaid ac yn ei werthu ef am ychydig ffiloreg gwael i ddinistr tragywyddol: canys felly y mae pawb yn gwneuthur ar sydd yn ceisio trwy ryw foddion anghyfreithlon ei gyfoethogi ei hunain; ië, er na wnelo fo hynny trwy foddion anghyfreithlon, etto os efe unwaith a osododd ei galon ar olud, efe yw 'r Cybydd hwnnw am ba ûn y traethodd yr Apostol, *na chaiff ef feddiannu Teyrnas Dduw*, 1 Cor. 6.10. Ac nid ydyw ef yn unic yn trosseddu yn erbyn ei Enaid, ond ei Gorph hefyd; oblegid y mae ef yn fynych yn neccau iddo ef ei gynhaliaeth angenrheidiol, er mwyn pa ûn (yn gymmaint ac y perthyn iddo ef) y rhoddwyd iddo 'i olud. Y mae hyn mor ddibaid yn arfer y cribddeiliaid cyfoethogion nad rhaid i' mi mo brofi hyn i chwi.

7. Yn *drydydd*, y mae *Cybydd-dod*, yn wrthwynebus i'r Ddlêd arnoni i'n *Cymydogion*. A hynny yn y ddwy Ran o honi hi, sef Cyfiawnder a Chariad: y néb sydd yn Caru arian yn anghymmedrol, ni waeth gantho ef pwy a dwyllo ac a siommo, am y dycco ef Elw iddo ei hún: ac o hyn y mae 'n tarddu 'r amryw ddichellion

hynny

hynny o dwyll a hocced ar sydd mor gyffredinol yn y bŷd. Ac am *Gariad* nid yw ei béth i'w ddisgwyl gan Gybydd, yr hwn sydd yn arswydo yn fwy leihau ei bentwrr ei hún na newynnu ei frawd anghenus. Chwi a welwch pa bechod dirfawr yw hwn, fal y gallwn ni ddywedyd yn dda gyda 'r Apostol, 1 Tim. 6. 10. *Mae gwreiddin pób drwg yw arian-garwch.* Ac nid yw ef fawr lai anesmwyth na drŵg, oblegid rhwng y gofal yn ceisio ar ofn o golli, nid yw'r Cybydd yn mwynhau ún awr o Esmwythdra. Y mae 'n sefyll yn fawr gan hynny ar bob dŷn, megys ac y mae ef yn disgwyl dedwyddwch naill ai yn y bŷd hwn ai'r nessaf, ei amddiffyn ei hún rhag y pechod hwn, yr hyn ni ddichon ef mewn módd yn y bŷd ei wneuthur ond trwy feddiannu ei galon a'r Rhinwedd ymma o Fodlonrhwydd.

Sul. 7. Cymmorth i Fodlonrhwydd.

8. Yn *bedwerydd*, y mae'r Rhinwedd ymma yn wrthwynebus i *Genfigen*, canys nid oes gan y néb sydd yn fodlon i'w gyflwr ei hún, ûn tentasiwn i *genfigennu* eraill: Mi a ddangosaf rhag llaw mor anghristianogaidd yw'r pechod hwn o *Genfigen*: yn y cyfamser, nid rhaid i mi ddywedyd dim ychwaneg, na'i fôd ef hefyd yn ún tra-anesmwyth, y mae ef yn cnoi ac yn cythruddo calon y néb a'i llocheso ef. Ond po gwaethaf yw'r pechod hwn, mwy rhagorol fŷth yw'r grâs ymma o Fodlonrhwydd, yr hwn sydd yn ein rhyddhau ni oddiwrtho ef. Yr wyti 'n meddwl ddarfod i mi draethu digon i wneuthur i chwi dybied hwn yn Rhinwedd hawddgar a dymunol. Ac yn ddiammeu ni bydde ammhossibl i neb ei hennill hi ar a Ystyria ond yr ychydig reolau hyn. syn canlyn yrhai 9. Yn a adroddaf i chwi rhyw amser arall.

I Genfigen.

Dos. 7. *Gweddi* a phob Dledswyddau Crefyddol er mwyn cynllwyn hynny. Ie, os bydd ef tebyg i ennill neu i safio dim iddo ei hun trwy wneuthur y pechod mwyaf yn erbyn Duw, y mae ei serch ef i olud yn ebrwydd yn ei annog ef i hynny.

6. yn *ail*, y mae 'r pechod hwn yn wrthwynebus i'r Ddlêd sydd arnoni i ni ein *Hunain*, a hynny yn gystal i'n Heneidiau ni ac i'n Cyrph. Y mae 'r Cybydd yn diystyru ei Enaid ac yn ei werthu ef am ychydig filoreg gwael i ddinistr tragywyddol: canys felly y mae pawb yn gwneuthur ar sydd yn ceisio trwy ryw foddion anghyfreithlon ei gyfoethogi ei hunain; ie, er na wnelo fo hynny trwy foddion anghyfreithlon, etto os efe unwaith a osododd ei galon ar olud, efe yw 'r Cybydd hwnnw am ba ûn y traethodd yr Apostol, *na chaiff ef feddiannu Teyrnas Dduw*, 1 Cor. 6.10. Ac nid ydyw ef yn unic yn trosseddu yn erbyn ei Enaid, ond ei Gorph hefyd; oblegid y mae ef yn fynych yn neccau iddo ef ei gynhaliaeth angenrheidiol, er mwyn pa ûn (yn gymmaint ac y perthyn iddo ef) y rhoddwyd iddo 'i olud. Y mae hyn mor ddibaid yn arfer y cribddeiliaid cyfoethogion nad rhaid i' mi mo brofi hyn i chwi.

7. Yn *drydydd*, y mae *Cybydd-dod*, yn wrthwynebus i'r Ddlêd arnoni i'n *Cymydogion*. A hynny yn y ddwy Ran o honi hi, sef Cyfiawnder a Chariad: y néb sydd yn Caru arian yn anghymmedrol, ni waeth gantho ef pwy a dwyllo ac a siommo, am y dycco ef Elw iddo ei hún: ac o hyn y mae 'n tarddu 'r amryw ddichellion hynny

hynny o dwyll a hocced ar sydd mor gyffredinol yn y bŷd. Ac am *Gariad* nid yw ef bêth i'w ddisgwyl gan Gybydd, yr hwn sydd yn arswydo yn fwy leihau ei bentwrr ei hún na newynnu ei frawd anghenus. Chwi a welwch pa bechod dirfawr yw hwn, fal y gallwn ni ddywedyd yn dda gyda 'r Apostol, 1 Tim. 6. 10. *Mae gwreiddin pób drŵg yw arian-garwch.* Ac nid yw ef fawr lai anesmwyth na drŵg, oblegid rhwng y gofal yn ceisio ar ofn o golli, nid yw'r Cybydd yn mwynhau ún awr o Esmwythdra. Y mae 'n sefyll yn fawr gan hynny ar bob dŷn, megys ac y mae ef yn disgwyl dedwyddwch naill ai yn y bŷd hwn ai'r nessaf, ei amddiffyn ei hún rhag y pechod hwn, yr hyn ni ddichon ef mewn módd yn y bŷd ei wneuthur ond trwy feddiannu ei galon a'r Rhinwedd ymma o Fodlonrhwydd.

Sul. 7.

8. Yn *bedwerydd*, y mae'r Rhinwedd ymma yn wrthwynebus i *Genfigen*, canys nid oes gan y néb sydd yn fodlon i'w gyflwr ei hún, ûn tentasiwn i *genfigennu* eraill : Mi a ddangosaf rhag llaw mor anghristianogaidd yw'r pechod hwn o *Genfigen* : yn y cyfamser, nid rhaid i mi ddywedyd dim ychwaneg, na'i fôd ef hefyd yn ûn tra-anesmwyth, y mae ef yn cnoi ac yn cythruddo calon y néb a'i llocheso ef. Ond po gwaethaf yw'r pechod hwn, mwy rhagorol fŷth yw'r grâs ymma o Fodlonrhwydd, yr hwn sydd yn ein rhyddhau ni oddiwrtho ef. Yr wyti 'n meddwl ddarfod i mi draethu digon i wneuthur i chwi dybied hwn yn Rhinwedd hawddgar a dymunol. Ac yn ddiammeu ni bydde ammhossibl i neb ei hennill hi ar a Ystyria ond yr ychydig reolau hyn. syn canlyn yrhai 9. Yn adrodaf i chwi rhyw amser arall.

1 Genfigen.

Llanarth 20 June 703
Llanina Dos 7th Nov 705.

Cym-morth i Fodlon-rhwydd.

9. Yn *gyntaf*, Ystyried, beth bynnag yw'n stâd a'n cyflwr ni, mae hynny a ordeinwyd i ni gan Dduw, a chan hynny sydd yn ddieu yn oreu i ni, gan y dichon ef yn well farnu trosoni, na nyni troson ein hunain, ac am hynny anfodloni i hynny yw cystal a dywedyd ein bôd ni yn ddoethach nag efo. Yn *ail*, Ystyriwch yn ddyfal wagedd pob pethau bydol, leied sydd ynddynt tra y bytho hwynt gennimni, ac mor annilys ydyni o'i cadw hwynt; eithr uwchlaw'r cwbl, leied a dalan'hw i ni yn nŷdd Angeu neu'r farn, ac yna nid elli di dybied y tál yr ún o honynt ei dymuno, ac felly ni byddi di anfodlon, oblegid bôd arnati ei heisiau hwynt. Yn *drydydd*, na oddefa i'th feddwl redeg ar y pethau nid oes genniti: y mae llawer gwedi ei gosod ei hunain allan o gariad ar peth sydd ganddynt, yn unic wrth feddwl am y peth nid oes ganddynt. Y mae'r néb a welo ryw béth ym meddiant ei gymydog nad oes gantho ef i hún yn barod i feddwl mor ddedwydd a sydde ef, pe byddei ynghyflwr y dŷn hwnnw, ac yn y cyfamser heb feddwl am swynhau ei eiddo 'i hûn, yr hwn ysgatfydd mewn amryw ffyrdd sydd yn ddedwyddach na'r cyflwr hwnnw o eiddo'i Gymydog, yr hwn y mae fo cymmaint yn rhyfeddu o'i blegid. O herwydd nid ydyni yn edrych ond ar y *tu allan* o gyflwr rhai eraill, ac y mae gan lawer dŷn yr hwn a genfigennir gan ei gymydogion megys ûn dedwydd anfeidrol, ryw *gythryfwl dirgel*, yr hwn a wná iddo dybied yn amgen o lawer am dano ei hún. Am hynny na chystadla ún amser mo'th gyflwr mewn dim a'r rhai a dybioch di ei bôd yn fwy llwyddiannus na

thi

thi dy hún, eithr yn hyttrach gwna hynny a'r rhai a wyddosti ei bôd yn fwy annedwydd, ac yna ti a gansyddi achos i ymorfoleddu oblegid dy gyfran dy hûn. Yn *bedwerydd*, Ystyria cymmhelled yr wyti oddiwrth haeddu dim dá gan Dduw, ac yna nid elli lai na chydnabod gydá *Jacob*, Gen. 32. 10. *Nad wyti deilwng o'r lleiaf o'r Trugareddau hynny yr wyti 'n ei mwynhau*, ac yna yn lle gwrwgnach nad ydynt hwy yn ychwaneg, ti a gansyddi achos i ryfeddu ac i foliannu haelioni Duw, ei bôd nhw yn gymmaint. Yn *bummed*, Mysyria yn fynych am y llawenydd a osodwyd i fynu i ti yn y nefoedd; edrych ar Nêf megys dy gartref, ac ar y bŷd hwn ond yn unic megys *Lletty*, lle y mae 'n rhaid i ti gymmeryd i fynu yn dy ymdaith; ac yna megys na ddisgwylia Trafailiwr y rún cyfleusdra mewn Lletty ac yn ei gartref, felly y mae i tithau achos i ymfodloni i ba letteugarwch bynnag a geffych di ymma, gan wybod dy fód ar dy daith i le o *happusrwydd annherfynol*, yr hwn a dál hyd adref am yr holl anesmwythdra a'r helbul a elli di ei ddioddef ar y ffordd. Yn *ddiweddaf* Gweddia ar Dduw, oddiwrth pa ún y mae pób péth da yn dyfod, ar fód iddo ef anghwanegu at ei holl Fendithion eraill, hon o feddwl bodlongar, heb ba ún nid elli di byth archwaethu y rûn arall fal y dylech. Sul. 7.

10. Y *Bummed* Ddled-swydd yw **Diwydrwydd**, yr hon a wneir i fynu o ddwy ran, sef *Gwiliadwraeth*, a *dyfalwch*, ac y mae pób ûn o'r rhain yn ddledus arnoni i'n Heneidiau. Diwydrwydd.

2. Pet. 1. 5. Gan roddi cwbl ddiwydrwydd chwanegwch at eich ffydd 11. Yn rinwedd.

Dos. 7.

Gwiliadwraeth yn erbyn Pechod.

11. Yn gyntaf *Gwiliadwraeth*, yn Ystyried pób peryglon a'i Bygythia hwynt. Yr awrhon, yn gymmaint nad oes dim a ddichon beryglu ein Heneidiau ni ond Pechod, rhaid yw arferu'r *Wiliadwraeth* hon yn bennaf yn erbyn hwnnw: Ac megys mewn *Dinas warchaedig*, yno y mae'n angenrheidiol cadw'r Wiliadwraeth gadarnaf, lle y bo'r rhan wannaf; felly y mae ymma pa le bynnag a gweli di fôd dy dueddiadau di gyffelypaf i'th fradychu di i bechod, yno yn enwedig y mae'n sefyll arnati fôd yn *Wiliadwrus*: Ystyria gan hynny yn ddiwyd i ba *bechodau*, y mae naill ai'th dymmer naturiol, dy gyfeillach, neu dy ddull o fuchedd yn neillduol yn dy ddenu di, a *gwilia* arnat dy hûn yn fanwl iawn yn y rhai hynny. Etto na osod felly mo'th holl ofal ar y rheini, megys ac i'th adael dy hún yn agored i rai eraill, canys fe a rydd hynny gymmaint mantes i *Satan* o'r tu arall; eithr bydded dy *Wiliadwraeth* yn gyffredinol, yn erbyn pób rhyw bechod, er yn fwy enwedigol yn erbyn y cyfryw rai ac a fo tebyg i'th gynllwyn di fynychaf.

Dyfalwch yn anghwanegu Doniau.

12. Yr ail rhan o *Ddiwydrwydd* yw *Dyfalwch* neu *Lafur*, ac hyn hefyd sydd yn ddledus arnoni i'n Heneidiau, oblegid heb hyn nhw a ffynnant cyn lleied a gwinllan y dŷn diog, am ba ún y traetha *Salomon*, *Dihar*, 24. 30. Canys y mae hwsmonaeth o'r Enaid, yn gystal ac o'r Estâd, a diben y naill, megys ac o'r llall, yw anghwanegu ei golud. Yr awrhon y mae golud yr Enaid naill ai yn Naturiol, ai yn Ddisynyddiol. Y Naturiol yw Grym a gallu Rheswm, megys Synwyr, côf, a'r cyffelyb; y Disynyddiol yw

yw Grasau Duw, y rhai ni pherthynant i'r Enaid trwy Natur, eithr a roddir gan Dduw ei hún; ac y mae'n rhaid i ni ofalu am wneuthur y defnydd goreu o bób ún o'r rhain, gan ei bód hwynt yn Dalentau a ymddiriedwyd i ni i'r diben hwnnw. Sul. 7.

13. Y ffordd i wellhau rhai *Naturiol*, yw trwy ei harferu hwynt yn y módd a ddygo fwyaf ô ogoniant i Dduw; ni wasanaetha i ni adael iddynt orwedd yn Segur yn ein hymyl trwy Syrthni, nag ychwaith ei gorchfygu hwynt trwy Anghymmedrolder, a phleserau anifeiliaidd, ond rhaid i ni i harferu hwynt a'i gosod nhw ar waith. Ond gwiliwn rhag bôd hynny yngwasanaeth y Cythrael; fal llaweroedd, y rhai fydd yn unic yn arferu ei fynwyr i halogi Enw Duw, neu i dwyllo ei Cymydogion, neu i lenwi ei coffadwraeth a'r cyfryw aflendid na ddyle fôd unwaith yn ei meddyliau; fe a ddyle ein harfer ni o honynt fód yn gyfryw ac a fo tebyccat i ddwyn mwyaf o ogoniant i Dduw, mwyaf o Fudd i'n Cymydogion, ac a'n cymhwysa ni oreu i wneuthur ein cyfrifon, pan ddelo Duw i gyfrif a ni am danynt. Natûr.

14. Ond y mae y rhan arall o gyfoeth yr *Enaid* yn werthfawroccach etto, sef, *Grâs*, am ba ûn y mae 'n rhaid i ni fôd yn bendifaddeu yn ofalus, ar ei hwsmonaethu ai anghwanegu ef. Dled-swydd yw hon a orchymynnir i ni yn bendant gan yr Apostol, 2 *Pet*. 3. 18. *Cynnyddwch mewn Grâs*, a thrachefn, *Pen*. 1. 5. *Rhoddwch bób Diwydrwydd i gyssylltu att ffydd Rinwedd, att rinwedd Wybodaeth*, &c. Yn awr arferu Grâs.

Dos. 7. feru Grâs yw'r modd oreu i'w anghwanegu ef, a hynny nid yn unic oblegid yr esmwythdra, y mae arfer o ryw béth yn ei dwyn tú ac at ei wneuthur ef, ond yn enwedig, megys y mae iddo addewid Duw, yr hwn a addawodd, *Math.* 25. 29. *i bób ûn y byddo ganddo* (hynny yw, a wnelo ddeunydd o'r péth sydd ganddo) *y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd.* Y neb a arfero yn ddiwyd ac yn ffyddlon y déchreuad cyntaf o *Râs* a gaiff etto anghwaneg, ac felly yr hwn hefyd a hwsmonaetho'r anghwaneg hynny, a gaiff râdd mwy drachefn; yn gymmaint a bôd y péth a ddywed *Solomon* am olud amserol, yn wîr hefyd am yr Ysprydol, *llaw y diwyd a gyfoethoga.*

15. Pa brŷd bynnag gan hynny y canfyddi di ûn cynhyrfiad da yn dy galon, cofia mae dena'r odfa i'r hwsmonaeth Ysprydol ymma; Os bŷdd dy gydwybod di ond yn dy gyhuddo am ryw bechod y bôch di yn byw yntho, gyrr hynny ymlaen nes iddo ddyfod i gassineb; ac yna y cassineb hwnnw, nes iddo ddyfod i lawn fwriad, ac yna o'r llawn fwriad hwnnw dôs ymlaen i ryw ymegniad yn ei erbyn ef. Gwnâ hyn yn ffyddlon ac yn ddiragrith, ac yna yn ddiammeu ti a gei weled y cynnorthwya Grâs Duw dydi, nid yn unic ymmhôb ûn o'r graddau hyn, ond i'th dderchafu di etto yn uwch nes i ti ddyfod i gael y fuddugoliaeth arno ef. Er hyn i gŷd edrych yn ofalus am adroddi at y Diwydrwydd hwn dy *Weddiau* hefyd, gan fôd addewid y *rhydd Duw'r Yspryd glan i'r sawl a'i gofynant ef*, *Matth.* 7. 11. Am hynny nid oes reswm i'r rhai nid ydynt yn ei ofyn ef, mo'i

ddisgwyl

ddisgwyl ef. Ond rhaid yw osyn ef ar cyfryw ddifrifwch ac a fo mewn rhyw fódd yn gyffattebol i odidowgrwydd y péth, yr hwn gan ei fôd ô aneirif yn werthfawroccach na'r holl fŷd, yn gystal o herwydd ei brîs ei hûn, a'i lés i ninnau, rhaid yw i ni eiriol am dano ef a llawer mwy o zêl a difrifwch, nag am bób Bendithion amserol, neu ni a ymddangoswn yn ddirmygwyr o hono ef. Sul. 7.

16. Gan ddarfod i mi eich cyfarwyddo chwi i'r moddion o *anghwanegu Grâs*, mi a adroddaf, er mwyn eich cyffroi chwi i hynny, y *Perigl* mawr o'r gwrthwyneb. Ac nid yw hynny, megys mewn pethau eraill, yn unic yn golled o'r graddau uwch hynny, y rhai a gawson ni trwy ein Diwydrwydd, ond y maé hefyd yn golled o'r pethau sydd gennini yn barod; *Canys oddiar yr hwn nid oes ganddo* (hynny yw ni wnaeth Ddefnydd o'r peth sydd ganddo) *y dygir oddiarno yr hyn sydd ganddo, Matth.* 25. 29. Fe ddŵg Duw ymmaith y Grâs, yr hwn a welo fo fal hyn ei esgeuluso, megys y gwelwn ni yn y ddammeg honno, lle y *cymmerwyd y Dalent oddiwrtho ef, yr hwn yn unic a'i cuddiase hi mewn cadach*, ac ni dyygodd i mewn ddim elw i'w *Arglwydd*. Ac y mae hyn yn gospedigaeth tra-gresynol, ië 'r fwyaf a all ddychwelyd i ûn dŷn, cyn myned o hono i Uffern, ië yn wîr y mae hŷn yn rhyw fáth o rag-archwaethiad o honi hi, nid yw ddim llai na rhoddiad ûn i fynu i allu'r Cythrel, a'i yrru ef ymmaith o olwg Duw, y rhai nid ydynt y rhan leiaf o drueni y Damnedig. Ac y mae hyn hefyd yn rwymiad dŷn i fynu i gyflwr mwy echryslon yn y bŷd a

ddaw;

Dos. 7. ddaw; canys dena eithaf barn y *gwâs anfuddiol*, *Math.* 25. 30. *Bwriwch y gwas anfuddiol i'r tywyllwch eithaf, yno y bydd wylofain a Rhingcian dannedd.* Chwi a welwch nad *peryglon* gwael sydd yn dilyn yr esgeulustra ymma o Râs, ac am hynny os oes gennini ddim cariad, ie na thosturi cyffredinol i'n Heneidiau, rhaid i'ni ymosod ein hunain i'r Diwydrwydd ymma. Fe ddarfu i mi bellach a'r *Rhinweddau* hynny, y rhai a berthyn i'n Heneidiau, yr wyfi 'n dyfod yr awrhon at y rhai a berthyn i'n Cyrph.

Llanarth 27. June. 703

Diweid-rwydd. 17. Y *cyntaf* o ba rai yw Diweirdeb neu Burdeb, yr hon a ellir yn dda ei osod yn Nhalwyneb y Dledswyddau hynny sŷdd yn ddledus arnoni i'n Cyrph, gan fód yr Apostol, 1 *Cor.* 6. 18. yn gosod y gwrthwyneb megys yn bechod dirfawr yn ei herbyn hwynt, *yr hwn a wnâ odineb sydd yn pechu yn erbyn ei Gorph ei hûn.*

18. Yn awr y mae'r Rhinwedd ymma o *Ddiweirdeb* yn sefyll mewn perffaith ymattal rhag pób máth a'r aflendid; nid yn unic rhag godineb a phutteindra, ond pób rhyw fáth annaturiolach o hono ef a wneir naill ai a ni ein hunain, neu gyda rhyw ún arall. Mewn gair, y mae pób rhyw Weithred o'r cyfryw fáth yn hollawl yn erbyn *Diweirdeb*, oddieithr yn unic mewn *Priodas gyfreithlon.* Ac yno hefyd ni wasanaetha i ddynion dybied ei bód hwynt yn rhydd i foddhau ei gwyniau anifeiliaidd, ond y mae'n rhaid iddynt ei cadw ei hunain o fewn y cyfryw Reolau o Gymmedrolder ac a gyttuna a dibennion Priodas, sef ennill *Plant*, ac ymgadw rhag *Putteindra*; ni ddylid gwneuthur dim ara

rwystra

ſwyſtra y cyntaf o'r dibennion hyn; a chan fód yr ail yn unic yn tueddu at orchfygu trachwant, a chadw dynion oddiwrth y ffrwythau pechadurus o hono ef, y mae'n wrthwynebus iawn i'r diben hwnnw wneuthur Priódas yn achlyſur o'i anghwanegu, a'i enynnu ef. Sul. 7.

19. Ond nid yw'r Rhinwedd ymma o *Ddiweirdeb* yn cyrraedd i wahardd y weithred yn unic, ond hefyd i bób rhyw raddau îs; y mae 'n goſod gwiliadwraeth ar ein *Llygaid* ni, *Mat.* 5. 28. *Pwy bynnag a edrycho ar Wraig i'w chwennychu hi, y mae fo gwedi gwneuthur euſus a hi odineb yn ei galon*; ac ar ein *Llaw*, megys y mae 'n eglur wrth y péth a ddywed Criſt ymmhellach yn y lle hwnnw, *Os dy law ddehau a'th rwyſtra, torr hi ymmaith*; felly hefyd ar ein *Tafodau* na thraethant hwy ddim geiriau anfoeſol neu ffiaidd, *Na ddened ún ymadroedd llygredig allan o'ch genau chwi*, Eph. 4. 29. Ië ymmhellach ar ein meddyliau ni a'n ffanſi, rhaid i ni wiliad croeſawu ún deiſyfiad brwnt a ffiaidd, nag ychwaith cymmaint a meddwl am y cyfryw béth. Yr hwn ſydd gan hynny yn ymgadw oddiwrth y weithred, ac yn cynnwys yntho'i hûn y rán o'r rhain, fe ellir ammeu mae rhyw rwyſtr oddiallan ſydd yn ei gadw ef rhagddo, yn hyttrach na chydwybód o'r pechod. Onid-é, fe a gadwai hwn ef rhag y rhain hefyd, gan ei bód hwythau hefyd yn bechodau, ac yn rai dirſawr iawn yngolwg Duw. Heb law hyn y mae'r nêb ai cynnhwyſa ei hún yn y rhai hyn, yn ei oſod ei hún mewn enbydrwydd tramawr o'r llall, gan fód yn hawſach o lawer ymgadw oddiwrth y cwbl, nag oddi-

Dos. 7. wrth y naill, pan gynnhwysir y llall. Ond uwchlaw 'r cwbl, y mae i'w ystyried fôd hyd yn oed y graddau lleiaf hyn yn gyfryw ac a wná dynion yn ffiaidd iawn gngolwg Duw, yr hwn sydd yn canfod y Galon, ac heb garu nêb ond y rhai sŷdd bûr yno.

Drygioni Aflendid.

20. Nid rhaid gosod allan Brydferthwch y Rhinwedd ymma o *Ddiweirdeb* yn well na thrwy ystyried ffiaidd-dra a drygioni y Pechod sydd yngwrth-wyneb iddo ef, yr hwn sydd yn *gyntaf*, yn anifeiliaidd iawn; nid yw 'r deisyfiadau hynny ond yr unrhyw ac sydd gan Anifeiliaid, a pha cyn belled gan hynny y mae rheini gwedi suddo îslaw Natur dynion, y rhai a ymffrostiant o'r cyfryw bechodau a hyn megis o'i godidowgrwydd pennaf? Pan yw *Bŵch* (os dena 'r mesur) yn odidoccach creadur. Ond yn wîr nid yw 'r nêb a fo 'n dilyn yn ddyfal y rhan ymma o Anifeiliaidd-dra yn gadael iddynt ei hunain

i'r Enaid. gan mwyaf ond ychydig, heblaw ei gŵedd ddynol, i'w rhagori hwynt oddiwrth anifeilaid. Y mae 'r pechod hwn felly yn cymylu 'r dealltwriaeth, ac yn gwrthuno 'r Enaid Rhesymol. Y mae *Solomon* gan hynny yn gosod ar lawr yn rhagorol ddull y gŵr ieuangc yn myned i dŷ 'r buttain, *Dihar* 7. 22. *Y mae fo yn ei chalyn hi, fel yr ŷch yn myned i'r lladfa.*

i'r Corph. 21. Ac yn *ail* nid yw 'r ffrwythau o hyn yn well i'r Corph nag i'r Enaid. Y mae 'r amryw ddoluriau brwnt a ffiaidd (heb law *poenus*) y rhai sydd yn fynych yn dilyn y pechod hwn, yn tystiolaethu yn hynod mor ddrŵg ydyw ef i'r *Corph*. Ac och, faint sydd y rhai fal hyn a'i

gwnae-

gwnaethant ei hunain 'yn *ferthyron* i'r *Cythrel*? Sul. 7.
A ddioddefasant y cyfryw benydiau wrth ddilyn y pechod hwn, na fedre 'r gorthrymmwr creulonaf ddychymygu mo'r cyffelyb? Yn ddiau y rhai a dâl mor ddrûd am ddamnedigaeth nhw a haeddant yn dda feddiannu 'r pwrcas.

22. Ond yn *drydydd* heblaw 'r ffrwythau naturiol o'r pechod hwn, y mae Barnedigaethau mawr echryslon oddiwrth Dduw yn ei ddilyn ef; y farnedigaeth greulonaf a rhyfeddaf a ddychwelodd erioed i ún lle, sêf *Tân a Brwmstan o'r Nêf ar Sodoma a Gomorra* oedd am y pechod hwn o Aflendid. A fe ellir gweled amryw siamplau o ddial Duw ar Ddynion neillduol am y pechod hwn. Fe gostiodd trais *Amnon* iddo ei fywyd; 2 *Sam.* 13. *Zimri* a *Chozbi* a laddwyd ar y weithred, *Num.* 25. 8. ac nid oes gan néb ar a fo 'n gwneuthur y cyffelyb péth, ficcrwydd yn y bŷd na ddychwel felly iddo ynteu. Canys er mor ddirgel y gwnelir hynny, nid ellir mo 'i guddio ef oddiwrth Dduw, yr hwn fydd yn ddialwr dilys pób cyfryw anwiredd. Ië, fe fygythiodd Duw yn dra-neillduol y pechod hwn, 1 *Cor.* 3. 17. *Os llygra nêb Deml Dduw, Duw a lygra hwnnw.* Y mae 'r pechod hwn o Aflendid yn fáth ar gyssegr-Yspeiliad, llygriad y Cyrph hynny y rhai a etholodd Duw yn Demlau iddo ei hún, ac am hynny nid rhyfedd os Cospir ef fal hyn yn drwm.

23. Yn *ddiweddaf*, y mae 'r pechod hwn yn ein cae ni allan o Deyrnas Nêf, lle nid all dim aflan fyned i mewn. Ac ni welwn ni ún amser ún Rhôl o'r pechodau hynny, y rhai fydd yn

Dos. 6. llestr dynion oddiyno, nad oes gan y pechod hwn o Aflendid le hynod yn ei mysg hwynt: Fal hyn y mae *Gal.* 5. 19. ac felly drachefn, 1 *Cor.* 6. 9. Os nyni fal hyn a'n halogwn ein hunain, nid ydyni yn gymdeithas gymwys ond i'r Ysprydion aflan hynny yn unic, y Cythrel a'i Angylion; ac am hynny rhaid i ni ddisgwyl ein cyfran gydá hwynt, lle y dibenna ein fflammau o *drachwant* mewn fflammau o *Dân*.

Gym-morth i Ddiwir-deb.

24. Y mae hyn i gyd wrth ei gosod yn yr ûnlle yn canmol y Rhinwedd *o Ddiweirdeb*, er mwyn cynnal pa ûn, rhaid i ni fôd yn ofalus iawn, yn *gyntaf*, i attal *dechreuad* y Brofedigaeth, ac i fwrw ymmaith trwy lidiogrwydd y *ffansi gyntaf* o Drachwant; canys os chwychwy un waith a ymrŷ i ymsisial ac i ymddiddan ac efo, efe a ennill yn wastad ychwaneg arnochwi, ac yna fe fydd yn anhawsach ei wrthwynebu ef; Am hyny 'r ffordd i chwi yn y Brofedigaeth ymma yw ffó yn hyttrath nag ymladd ac efo. Y mae hyn yn angenrheidio liawn, nid yn unic er mwyn i ni ochelyd y Perigl o fyned ymlaen i weithred y pechod, eithr hefyd oblegid y bai presennol o groesawu y cyfryw feddyliau, y rhai o honynt ei hunain, er nad elont hwy ddim pellach, sydd, fal y dangoswyd o'r blaen, en ffieidd-dramawr o flaen Duw. Yn *ail*, byddwch ofalus iawn am *seguryd*, yr hwn yw 'r tîr priodol i'r cyfryw sothach i dyfu yntho, a chadw dy hûn yn wastad yn ofalus mewn rhyw negesenau diniwed a rhinweddol canys yna ni bydd y meddyliau hyn mor barod i'w cynnyg ei hunain. Yn *drydydd*, na oddefa iti dy hûn ailgyrchu i'th feddwl trwy hyfrydwch ûn weithred aflan o'th fuchedd o'r blaen, oblegid y mae hynny yn gweithredu 'r pechod

pechod

pechod trachefn drosto, ac efe a gyfrifir felly ger- Sul. 7.
bron Duw; iê ysgatfydd, fe all meddwl am dano
ef fal hyn trwy bwyll a chyngor fôd yn fwy
euogrwydd na gweithredu yr pechod yn fyrb-
wyll: Canys y mae hyn yn dangos fôd dy galon
di gwedi ei gosod ar ffieidd-dra, ac y mae hynny
hefyd yn baratôad i wneuthur ychwaneg o'r cy-
ffelyb. Yn *bedwerydd*, gochela gymdeithas y cy-
fryw rai nwyfus ac anllad ac a ddichon fôd naill
ai trwy ffieidd-dra ei hymadrodd, neu ryw foddi-
on eraill, yn fagl i ti. Yn *bummed*, gweddia
'n ddifrifol ar i Dduw roddi iti Yspryd *Purdeb*,
yn enwedig ar amser rhyw brofedigaeth bresen-
nol. Dŵg y *Cythrel aflan* at Grist i'w *fwrw
allan* fal y gwnaeth y Dŷn yn yr Efengyl. Ac oni
fwrir ef allan trwy *Weddi* yn unic, adrodda *Ym-
pryd* hefyd; ond gwilia er, ddim gynnal i fynu
'r flamm trwy ryw ymborth uchel anghymme-
drol. Y Cymmorth *diweddaf*, os y lleill a brifia
'n ofer, yw *Priodas*, yr hon a ddychwel i fôd yn
Ddledswydd i' nêb ni ddichon fyw yn ddifeius
hebddi hi. Ond rhaid yw cymmeryd gofal
ymma hefyd, rhg i'r péth a ddyle fôd er daioni,
ddychwelyd i fôd yn achos o dramgwydd o eisieu
sobrwydd yn amser Priodas. Ond mi a drae-
thais am hyn o'r blaen, ac am hynny nid rhaid i
i mi addroddi dim ychwaneg, ond deisyfiad di-
frifol, ar fôd i ddynion ystyried yn ddigellwair
fryntni a pherigl y pechod hwn o Aflendid, ac na
bo iddynt ei gashau ef ddim lai oblegid ei gy-
ffredinoldeb, eithr yn hyttrach oblegid hynny
ffieiddio digywilydd-dra ~~trahy~~ 'r bŷd, yn gwneu-
thur cyn lleied cyfrif o'r pechod hwn, yn erbyn pa
ún y cyhoeddodd Duw y cyfryw felldithion trwm;
*y Putteinwŷr a'r rhai godinebus a farna Duw*,

Dos. 7. Heb. 13. 4. ac felly yn ddiammen y gwná ef a phób rhyw sáth o ddynion aflan.

Llanarth Aug. 1. 1703

Cymmedrolder.

25. Yr *ail Rhinwedd* ar a berthyn i'n **Cyrph** ni yw **Cymmedrolder** : Ac y mae amryw ffyrdd o'i ymarferu ef, megys yn gyntaf *Cymmedrolder* yn *Bwyta* ; yn ail, yn *Yfed* ; yn drydydd, yn *Cysgu* ; yn bedwerydd, yn *Esmwythyd* ; yn bummed, mewn *Ymwisciad*. Mi a draetha am danynt ôll yn neillduol, ac yn *gyntaf*, am *Gymmedrolder* yn *Bwyta*. Y *Cymmedrolder* hwn a gedwir pan fo ein *Bwyta* ni yn gyfattebol i'r dibennion hynny er mwyn pa rai yr Ordeinwyd Bwyta gan Dduw a Natur, y rhai yw, er mwyn i'n Cyrph, yn gyntaf, *fôd* ; yn ail, fôd yn *dda*.

yn Bwyta.

26. Y mae Dŷn o'r cyfryw Ddull a bod *Bwyta* yn angenrheidiol iddo ef er mwyn cynnal ei Fywyd, gan fôd Newyn yn glŵyf naturiol, yr hwn, onis rhagflaenir, a brifia 'n farwol ; a'r unic feddiginiaeth iddo ef yw *Bwyta*, yr hwn gan hynny a ddaeth i fôd yn fôdd angenrheidiol i'n cadw ni yn fyw. A dena 'r diben cyntaf o Fwyta ; Ac megys ni bydd dynion arferol o gymmeryd Pysygwraeth er Pleser, ond llesháad, felly hefyd ni ddylent fwyta.

27. Ond yn *ail* yn mae Duw mor haelionus a pharatoi nid yn unic i Fywyd, ond hefyd i Hawddfyd ein Cyrph ni, ac am hynny nid ydyni gwedi ein rhwymo i'r cyfrw dwysder, nad allwn ni fwyta dim ond yn union a'n cadwo rhag llewygu, ond ni allwn hefyd fwyta naill ai mewn rhyw, neu faintioli, pa béth bynnag a fo goreu i'n Hiechyd a'n hawddfyd : yn awr y

mae

mae'r Ymborth yr hwn sydd gydsynniol a'r dibennion hyn, o fewn tersynau *Cymmedrolder*, megys o'r tu arall y mae béth bynnag sydd yngwrthwyneb iddynt yn drosseddiad yn ei erbyn ef; y neb gan hynny o osodo iddo ei hún ddibennion eraill o Fwyta, megys naill a'i boddhau 'r archwaeth, neu (yr hyn sydd etto yn waeth) yn Porthi mwythau i'w Gorph er mwyn iddo wasanaethu ei drachwant yn well, y mae efe yn union yn gwrthwynebu ac yn croesu 'r dibennion hyn o eiddo Duw; oblegid y mae 'r nêb sydd gantho 'r amcanion hynny yn gwneuthur yr hyn sydd yn dra-gwrthwhwynebus i Iechyd, ië, i Fywyd hefyd, fal y mae 'n eglur trwy 'r amryw glefydau, a'r Marwolaethau disymmwth hynny y rhai y mae syrthni ac Aflendid yn ei dwyn beunydd ar ddynion. Sul. 7.

28. Rhaid yw gan hynny i'r néb a arfero 'r Rhinwedd ymma o *Gymmedrolder*, na bwyta cymmaint, nag o'r cyfryw rywogaethau o Fwyd (os efe a ddichon gael péth arall) ar a wnelo niwed i'w Iechyd ef; ammhossibl yw gosod ar lawr beth yw 'r rhywogaethau neu 'r maentioli, canys y maent hwy yn rhagori yn ôl amryw gyflwr dynion; fe a ddichon rhai dynion trwy *Gymmedrolder* fwyta llawer iawn, oblegid fód ei Cylla yn gofyn hynny, pan fo ûn arall yn euog o *Angbymmedrolder* yn bwyta ond yr hanner cymmaint, oblegid ei fód yn fwy nag sydd yn arferol iddo. Ac felly hefyd am y Rhywogaeth o fwyd fe ddichon fód yn fwythusder ac yn drythyllwch i rai fód yn rhodresgar yn y pethau y rhai mewn rhyw fesur sydd *angenrheidiol* i wendid Cylla glwysus, yr hon nid o fwythusder ond o gle- Rheolau Cymmedrolder yn Bwyta,

Dos. 7. fyd ni ddichon fwyta bwydydd garwach. Ond yr wyfi 'n tybied y gellir dywedyd yn gyffredinol, mae 'r bwydydd mwyaf cyffredin sydd iachusaf gan mwyaf i Gyrph iachus, ond rhaid yw gadael i bób dyn farnu o hóno 'i hûn yn hyn, ac er mwyn iddo wneuthur hyn yn iawn, bydded yn ofalus na oddefo fo iddo 'i hûn fód yn gaethwas i'w Enau, canys fe sydd hwnnw 'n siccr o'i fodloni ei hun, béth bynnag a ddychwelo i'r Iechyd, neu i'r hoedl.

29. Er mwyn ei siccrhau fo 'n well, ystyried yn *gyntaf*, mor anrhesymol yw i'r holl gorph fód yn ddarostyngedig i'r ûn synwyr ymma o *Archwaethiad*, a mentrio pób peth yn unic i foddhau hwnnw. Ond y mae 'n fwy o lawer etto, fôd i'r rhan oreu, yr *Enaid*, gael fal hyn ei gaethiwo; etto fal hyn y mae mewn dyn annhymmerus; rhaid iddo aberthu hyd yn oed ei Enaid i'r trachwant anifeiliaidd hwn: oblegid y Pechod hwn o *Anghymmedrolder*, er bôd y Corph yn unig yn ei weithredu ef, rhaid i'r Enaid hefyd fôd yn cyfrannog o'i gospedigaeth tragywyddol ef. Yn *ail*, ystyria mor fyrr iawn a darfodedig yw 'r pleser hwn, y mae 'n dibennu mewn munudyn, ond y mae 'r penydiau a ddychwel am dano ef yn fwy parhaus o lawer, ac ynanidyw 'n cyttuno a'n rheswm ni, megys yr ym ni yn ddynion, osod ein Calonnau arno ef. Ond etto yn *drydydd*, y mae 'n cyttuno 'n waeth a thymmer *Cristion*, yr hwn a ddyle fód a'i galon gwedi ei buro a'i lanhau felly trwy ddisgwyliad a gorfoledd mwy ysprydol hynny yn y býd a ddaw, fal y dylei ddirmygu 'n ddirfawr y Pleserau gwael *anifeiliaidd* hyn, y rhai y mae

N 3 bwy-

bwystfilod mor gyfaddas o honynt a ninnau, ac Sul. 7.
iddynt hwy y dyleni fód yn fodlon i'w gadael hwynt, gan na ddichon ei naturiaetth hwynt gyrrhaeddid ddim uwch; ond am danom ni y rhai sydd gennnim *obaith* mwy *rhagorol* o lawer, cywilydd anfeidról yw i ni ei cyfrif hwynt megys ûn rhan o'n dedwyddwch. Yn *ddiweddaf*, y mae 'r pechod o *Lwthineb* yn gymmaint ac mor *bergylus* a darfod i Grist dybied yn gymmwys roddi siars arbennig y ei erbyn ef, *Edrychwch arnoch eich hunain, rhag gorchfygu eich Calonnau a glwthineb*, &c. *Luc.* 11. 34. Ac chwi a wyddoch béth oedd diben y *glwth* goludog, *Luc.* 16. Yr hwn oedd yn cymmeryd ei fwyd yn *ddain eiddiol beunydd*, oedd arno eisieu o'r diwedd *ddroppyn o ddwfr i oeri ei dafód.* A hyn am y fáth gyntaf o *Gymmedrolder*, sef, am Fwyta.

Cymmed-rolder yn Yfed.

2. Pet. 1. 6. Chwanegwch at wybodaeth gym-medroldeb, ac at gymedroldeb ammynedd &c

DOS:

1 Thessal. 5. 6, 7, 8. Gwiliwn a byddwn sobr canys y rhai a gysgant y nos y cyscant, a rhai y meddwant y nos y meddwant, Eithr yn ni gan ein bod o'r dydd, byddwn sobr.

Llanina 9 Xbr. 705.

# DOSPARTHIAD. VIII.

*Am Gymmedrolder yn Yfed, Gau Ddibennion o Yfed, sef Cymdeithas dda, bwrw ymmaith Ofalon, &c.*

Cymmed-rolder yn Yfed.

1. YR *Ail* yw *Cymmedrolder* yn *Yfed*, a chan mae'r unrhyw gan mwyaf yw'r Dibennion o *Fwyta* ac *Yfed*, nid alla'i roi ûn Rheol arbennig yn hwn mwy nag a rois i yn y llall, sef, na bo i ni Yfed nag o'r cyfryw rywogaethau o ddiodydd, nag i'r cyfryw faentioli ac na chyttuna ar *iawn ddibennion o Yfed*, sef cynnal ein bywyd a'n hiechyd: Yn unic fe fydd angenrheidiol ymma osod ar lawr ûn *Gocheliad*; oblegid gan fôd ein Dealltwraeth ni mewn mwy o berigl o gael ei ddrygu trwy Yfed na thrwy Fwyta, rhaid i ni yn hyttrach fôd yn ofalus am gadw hwnnw yn ddiogel, a dewis yn hyttrach beidio ac *Yfed*, ond a fytho angenrheidiol i'n Hiechyd, os bydd Yfed yn debyg i annhymmeru ein rheswm. Hyn yr wyfi 'n ei ddywedyd oblegid fe allei fôd mennyddiau rhai mor egwan na ddichon ei pennau hwynt ddwyn mo'r maentioli cyffredinol hynny o ddiod, yr hyn ni wnai ddim niwed i'w Cyrph hwynt. A phwy bynnag fydd o'r tymmer hwn, rhaid iddo ef ymgadw'n fanwl oddiwrth y maentioli hynny, neu'r rhywogaeth hynny o *Ddiod*, yr hyn a wêl ef a wná niwed iddo, ié er i hynny ymddangos i fôd oblegid rhyw bethau eraill nid

yn

yn unic yn ddiogel, eithr yn fuddiol i'w iechyd. Canys er bód yn rhaid i ni gynnal ein Hiechyd, etto ni ddylen ni wneuthur mo hynny trwy bechod, megys y mae meddwdod yn ddiammeu. Sul. 8.

Gau Ddibennion o Yfed.

2. Ond och! o'r holl liaws o *Feddwon* y sydd yn y bŷd, nid yw hyn ond cyflwr ychydig iawn, gan fôd y rhan fwyaf o honynt yn myned tû hwynt i'r péth y bo ei hiechyd yn ei ofyn, nag a ddichon ef ychwaith ei ddwyn, ié hyd yn oed ei lwyr ddinistr ef. Ac am hynny y mae'n eglur fód dynion wedi gosod i fynu iddynt ei hunain rhyw *Ddibennion* amgenach o *Yfed*, na'r rhai cyfreithlon hynny o'r blaen; ny fydde anghymmwys eglurhau ar fyrr béth ydynt hwy, a dangos hefyd mor anresymmol ydynt.

Cymdeithas ddâ.

3. Y *cyntaf* a'r mwyaf yw *Cymdeithas dda*; y naill ddŷn a ŷf i gadw cyfeillach i ûn arall. Ond mi a ofynnwn i'r cyfryw ûn, pe bydde 'r dŷn hwnnw yn Yfed pûr wenwyn a barchai fe ef o wîr gymdeithas? Os dywed efe na wnai, rhaid i mi ddywedyd iddo ef, mae trwy'r *unrhyw* neu *well rheswm*, y dylei fo ochelyd gwneuthur hyn. Oblegid Yfed yn *anghymmedrol* yw'r gwenwyn hwnnw; Ysgatfydd ni weithia fo yn wastad farwolaeth yn erbrwydd (etto y mae i ni lawer o siamplau o hynny, a darfod i laweroedd farw ynghanol ei *meddwdod*) ond y mae'n hynod iawn fod yr ymarfer o'r pechod hwn gan mwyaf yn dwyn dynion i'w diwedd, ac am hynny er bód y gwenwyn yn gweithio'n araf, etto y mae fo 'n wenwyn. Ond pa ûn bynnag y mae fe yn y cyfamser yn gweithio'r péth a gasha gwr Synhwyrol yn fwy nag Angeu; sef Cynddaredd,

Dos. 8. ddaredd, ac y mae gwallgof yn troi dŷn yn anifail, trwy foddi 'r Rhesswm hwnnw yr hwn a ddyle ei ragori ef ac anifail. Yn ddiammeu y mae y ffrwythau o yfed yn gyfryw, a phe buasid ar y cyntaf yn ordeinio meddwdod megys yn gospedigaeth, ni a'i tebygasem ef yn Orthrymmwr creulon yr hwn a'i dychymmygasei ef.

Cynnal Caredigrwydd.

4. Yr *ail* diben o *Yfed*, meddant, yw cynnal Caredigrwydd, a chymwynasgarwch ymysg dynion. Ond y mae hyn yn anresymmol ryfeddol, i ddynion wneuthur y péth hynny er mwyn cynnal Caredigrwydd, yr hyn yn wir yw'r drŵg mwyaf a ellir ei wneuthur i ûn dŷn. A dybiodd ûn erioed ddangos Caredigrwydd i ddŷn trwy ei helpu fo i ddestrywio 'i olud, ei Enw dá, a'i fywyd? Etto y mae'r néb a yfo fal hyn gydá dŷn yn gwneuthur hynny, ac ychwaneg o lawer, y mae fo'n dinistrio 'i reswm ef, ié, ei Enaid, ac etto rhaid yw galw hyn yn fódd i gynnal Caredigrwydd; y mae hyn yn béth mor ynfyd-ffól ac y tybiei ûn, nad oes néb ond ún yn ei feddwdod a fyddei o'r meddwl hwn. Ond o'r tú arall ni a welwn yn gyffredinol fód hyn yn gymmhwysach i wneuthur cwerylon nag i gynnal cymmwynasgarwch, megys y tystiolaetha'r amryw *gynnhennau* a welwn ni beunydd, ynghyd a'r archollion, ac weithiau'r *llofruddiau* a fydd yn ei dilyn hwynt.

Llonni'r Galon.

5. Y *Trydydd* diben, meddant, yw llonni'r *Galon*, ei gwneuthur hi yn llawen ac yn hyfryd. Ond diammeu na thâl y llawenydd hwnnw fawr, yr hwn y bydd raid troi Rhesswm tros y drŵs cyn iddo ddechreu; fe all ûn ddywedyd

gydá

gydá *Solomon*, *Preg.* 2. 2. *Chwerthin y cyfryw ffyliaid sydd ynfydrwydd*, ac yn ddiammeu y rhai a fyddant feddw er mwyn ei gosod ei hunain yn y tymmer hwn, fe sydd yn hyfryd ganddynt hefid *Wallgôf*, am y byddant siccr ei fód ef yn ûn llawen. Ond ychydig y mae'r cyfryw rai llawen yn ei feddwl pa dristwch y maent yn y cyfamser yn ei dryssori iddynt ei hunain, yn fynych yn y býd hwn, pan fo'nt trwy chwareu rhyw *gampau* ynfyd-ffôl, yn dwyn niwed arnynt ei hunain, ond pa ûn bynnag yn ddiammeu yn y bŷd a ddaw, lle y bŷdd yn rhaid rhoddi cyfrif gresynol am y Llawenydd ymma. Sul. 8.

Llan[th]. 8 Aug. 703.

**Bwrw ymmaith Ofalon.**

6. Y *pedwerydd* diben, meddant, yw *bwrw heibio Gofalon*; ond mi a ofynnaf beth yw'r *Gofalon* hynny? A ydyn hw'n gyfryw rai ac y dylid ei bwrw hwynt heibio? fe allai mae rhyw dymmhigiad a chyhuddiad *Cydwybod* ydynt hwy, y rhai sydd raid fal hyn ei tynghedu. Ac yr wyfi'n ofni ddarfod i hyn weithio cymmhelled gydá llawer ac i osod ei Cydwybodau hwynt i gyscu. Ond dena'r ynfydrwydd annuwiolaf yn y býd; oblegid onid wyti'n tybied fód rhyw béth dirfawr yn y cyhuddiadau hyn, pa ham y maent yn dy gythrwblio di? Ond os ydwyti, ammhossibl i ti ddisgwyl y dichon hyn dy ddiogeli yn hîr rhagddynt. Ti a elli fal hyn ei distawu nhw dros dro, ond nhw a gróch-lefan yn uwch rhyw ddydd am hynny. Bwriwch y gwyddei *Leidr* neu *Lofrudd* fód rhai yn ei gynllwyn ef i'w ddwyn i dderbyn Cyfiawnder, a syrthiei fo, debygechwi, i yfed, er mwyn bwrw ymmaith yr ofn o gael ei grogi, ac yn y cyfamser esgeuluso'r moddion i ddiangc? neu oni

Dos. 8. thybiechwi fo'n ynfyd resynol os gwnai fo hynny? Etto dena'r uniawn gyflwr ymma; y mae dy gydwybod yn traethu i ti dy berigl, y bydd rhaid dy ddwyn di ar fyrder ger bron *gorsedd-faingc* Duw; ac onid ynfydrwydd yw i ti yn lle ymegnio i geisio dy bardwn, yfed allan bôb coffa o'th Berigl? Ond yn *ail* bwriwch fôd y *Gofalon* hyn yn rhai bydol, ac yn gyfryw ac y bydde'n gymwys iawn ei bwrw hwynt ymmaith; yna rhag cywilydd na ammharcha cymmaint ar dy Reswm, a'th Gristianogrwydd, nad allant hwy fôd mor abl i'r diben hwnnw ac ychydig ddiod. Fe ddywed dy Reswm iti mae ofer yw Gofalu, lle ni bo gofal yn fuddiol: ac fe a gyfarwydda dy Gristianogrwydd di at Un, ar ba ûn y gelli di yn *ddiogel fwrw dy Ofalon, canys y mae efe yn gofalu trosoti*, 1 *Pet*. 5. 7. Ac am hynny oddigaeth dy fód ti yn amcanu gwadu dy fôd nag yn Ddŷn nac yn Gristion, na arfera bŷth mor fáth ddichell Ystrowgar wael i'th waredu di o'th Ofalon. Ond heb law hynny ni wná hyn mor gwaith ychwaith; canys er y dichon hyn yn y cyfamser, tra 'i bóch di ynghanol dy feddwdod mwyaf, dy gadw di rhag bôd yn deimladwy o'th Ofalon, etto gwedi yr elo hynny heibio, nhw a ddychwelan drachefn a mwy o nerth; ac nhw a ddygan, os oes genniti ddim Cydwybod, *ofal newydd* gyda hwynt, sef, yr hwn a dardda allan o euogrwydd pechod mor ffiaidd.

Bwrw'r Amser heibio.

7 Y *pummed* diben, meddant hwy, yw i *fwrw heibio 'r Amser*. Er bôd hyn mor anresymmol a'run o'r lleill, etto fe a wasanaetha i argyoeddi feguryd, yr hwn sydd, chwi a welwch,

welwch, yn béth mor helbulus, ac y dewisir yr *Arfer ffieiddiaf* hon o'i blaen hi. Ond nid yw hyn mewn llawer ond escus celwyddog. Canys y maent hwy yn fynych yn treulio Amser yn y dafarn nid yn unic pan na bo ganddynt ddim arall i'w wneuthur, esthr hefyd i esgeuluso ei negeseuau mwyaf angenrheidiol. Pa ûn bynnag, nid yw hyn ond escus anrhesymmol ymmhób dŷn, canys nid oes néb na ddichon gael rhyw béth neu'r gilydd i'w ymdrafferthu i hún yntho. Os nid oes gantho ef ond ychydig negeseuau bydol o'i eiddo 'i hûn, efe a all wneuthur rhyw béth er llesháad i eraill; ond pa ún bynnag nid oes néb nad oes gantho Enaid, ac os efe a edrych yn ddiwyd at hwnnw, nid rhaid iddo mor achwyn o *eisieu Neges*; lle y mae cynnifer o *lygredigaethau* i'w *marweiddio*, cynnifer o ffyrdd i'w *gwilio*, cynnifer o Brofedigaethau (o ba rai nid yw hwn o feddwdod yn lleiaf) i'w *gwrthwynebu*; *Grasau* Duw i'w cynnhyrfu a'i anghwanegu ynom ni, a'r esgeulusdra o hyn o'r blaen i'w *alaru* am dano, yn ddiammeu nid all fód ar néb eisieu negesau ûn amser; oblegid fôd pób ûn o'r rhain yn gofyn amser, fal y caiff pób dŷn ddeall ar awr Angeu; canys y rhai a fu tros ei holl fywyd yn edrych pa fódd i dreulio ei hamser, a roddai'r holl fŷd y prŷd hynny i brynnu'r unrhyw. Ac y mae Duw yn ddiammeu yn disgwyl i'r rhai a fod yn cael mwyaf o ennyd gan ei negesau bydol, dreulio mwy o Amser mewn Dledswyddau Ysprydol. Ond nid yw gyffelybus y bydd y rádd waelaf o ddynion (i ba rai yr amcenir y Llyfran hwn) o'r nifer hynny, y rhai ni wyddant pa fódd i dreulio ei hamser, ac am hynny ni Sul. 8.

Dos. 8. ni safa'i ddim pellach ar hyn, ond yn unic adrodd hyn yma, sód yn sefyll arnynt hwy a phawb dreulio hynny o Ennyd a gánt er llesháad i'w Heneidiau, ac nid i'w dinistr hwynt, megys y gwná y rhai hynny y rhai sydd yn ei dreulio et i Yfed.

Gochelyd gwradwydd.

8. Y *chweched* Diben, meddant, yw i ochelyd y gwradwydd a'r dirmyg, yr hwn a deflir gan y bŷd ar y rhai a fo yn fwy twys-bwyllog yn hyn ymma na'i Cymydogion. Ond i atteb hyn, mi a ofynnaf yn gyntaf, pa niwed a wna'r cyfryw wradwydd? Ni ddichon ef gystadlu'r lleiaf o'r drygau hynny y mae meddwdod yn ei ddwyn arnoni. Ië os coeliwn ni eiriau ein Hiachawdr, y mae hynny yn ddedwyddwch i ni, *Gwyn eich byd*, medd ef, *pan eich cablo dynion, a dywedyd pób rhyw ddrygair am danoch er fy mwyn i, Matth*. 5. 11. Ac y mae St. *Petr* yn dywedyd i ni, 1 *Pet*. 4. 14. *Os dirmygir chwi er mewn Enw Crist, dedwydd ydych*; ac yn ddiammeu cael ein gwradwyddo er mwyn *Ufydd-dod* i'w Orchymyn ef, yw ein gwradwyddo er mwyn ei *Enw* ef. Yn *ail*, cofiwn i ni yn ein Bedydd ymwrthod a gwâg-orfoledd y bŷd; ac ydyw mor hóff gennini 'r awrhon y bŷd, ac rhag ofn ychydig watwor, y rhedwn ni'n fyrbwyll ar yr holl ddrygau amserol hynny y treuthais i am danynt; a'r hyn sydd waeth o lawer digofaint Duw a dinistr tragywyddol? Ond yn *Drydydd*, os ydych yn ofni Gwradwydd, pa ham yr ydych yn gwneuthur y péth a ddŵg wradwydd arnochwi oddiwrth bób dŷn da Synhwyrol, barn pa ûn yn unig a haeddai ei Ystyried? Yr hyn yn ddiammeu a wná meddwdod. A'th gyffuro-dy hûn

hûn yn erbyn hyn, trwy dybied dy fód yn cael Sul. 8.
Clôd gan ynfydion a'r fáth waethaf o ddynion, nid yw ddim amgen na phe bae'r hóll *ddynion gwallgofus* yn y bŷd yn cydsynio i'w cyfrif ei hunain yn unic yn rai Sobr, a phawb eraill yn ynfydion; ac etto ni wná hyn moninhw fŷth yn lai gwallgofus, na'r lleill yn llai Sobr. Yn *ddiweddaf* Ystyria pa farn echryslon a adroddodd Crist ar y rhai a fo cywilydd ganddynt ef, ac felly y gwná pawb a wrthodant ufyddhau iddo rhag ofn gwradwydd, *Marc.* 8. 38. *Pwy bynnag a fo cywilydd ganddo fi a'm geiriau, yn yr odinebus a'r bechadurus genhedlaeth hon: bydd cywilydd gan fâb y dyn yntef hefyd, pan ddêl yngogoniant ei Dâd gyda 'r Angelion Sanctaidd.* Fe chwennych pawb y dydd hwnnw fód mewn ffafor gyda Christ: ond pwy bynnag ni chyffessant mono ef ymma; hynny yw, ni lwyr-ufyddháant i'w Orchymynion ef, er maint gwatorgerdd, iê, erledigaeth y bŷd, a fwrir ymmaith yn ddiammeu y prŷd hynny ganddo yntef. Ac ni haedda'r nêb a ddewisa fal hyn faintumio ei Enw da ymysg rhai ynfyd a gwallgofus ddim gwell damwain iddo: Ond gwedi'r cwbl nid ydyw sicer y diystyra 'rhain dydi am dy Sobrwydd, fe allai mae cymmeryd arnynt wneuthur felly y byddant er mwyn dy frawychu di allan o hono ef: ond pe chwilid ei Calonnau nhw, fe welid ei bôd nhw yn rhoddi parch dirgel i ddynion Sobr megys o'i hanfodd, ac nad ydynt hwy yn gwradwyddo nag yn dirmygu néb fwy na'r rhai sy'n *rhedeg gyda hwynt i'r unrhyw ormodedd a thrythyllwch*; oblegid y néb ni arbeda ei hûn feddwi, etto efe a chwardda am ben ûn arall a welo fo felly.

Dos. 8.

Plefer y Ddiod.

9. Y *Seithfed* diben, yw'r plefer y maent yn ei gymmeryd yn y *ddiod*, yr hyn fydd rŷ hynod mewn llaweroedd, er bód yn gywilydd gand-dynt gydnabod hynny; ond yr wyf yn cyfaddef nad ydyw gymwys draethu llawer wrth y rhai hyn: oblegid y rhai fydd gwedi dyfod i'r râdd refynol hon o drythyllwch, nid ydynt hwy de-byg ei dderbyn llês oddiwrth ddim ar a ddy-wedir wrthynt: etto hyn a ddywedai wrth y cyfryw ddŷn, fód iddo ef fwy o foddion i ddir-nad ei fai na rhai eraill; oblegid gan fód hyn yn gyfryw ddiben o Yfed na fyn nêb mo'i gyd-nabod y mae efe gwedi ei euog-farnu gantho 'i hunan; iè, a chan ei hóll *gyd-feddwon* hefyd; oblegid gan ei bód nhw yn gwadu hyn, arwydd hynod yw, ei bod nhw yn cydnabod hynny yn béth tra-ffiaidd. Ac os gelwid *Esau* yn ddŷn halogedig, *Heb.* 12. 6. am *werthu* ond ei *ane-digaeth-fraint am faig o gawl*, a hynny hefyd pan oedd newyn arno ef; pa henw digon gwrad-wyddus a geir i'r néb a wertho ei Jechyd, ei Synwyr, ei Dduw, a'i Enaid am *gwppaned o ddiod*, a hynny pan fo ef cymmhelled oddi-wrth fod arno ei heifiau hi, ac yfgatfydd fód gantho yn barod fwy nag a allo fo i gynnwys o'i fewn? Ni ddywedai ddim anghwaneg wrth y cyfryw ddynion, ond gadewch i mi ry-buddio y rhai ôll fydd yn myned ymlaen yn y pechod hwn âr y run o'r dibennion eraill, mae ychydig amfer a'i dŵg nhw i hyn ymma y maent hwy yn proffeffu cymmaint ei ffieiddio, gan ein bôd ni beunydd yn gweled fod y rhai a dden-wyd i'r pechod hwn ar y cyntaf o Gariad i *gym-deithas*, yn parhau yntho ef o'r diwedd o gariad i'r *Ddiod*.

10. Ni

10. Ni fedrai feddwl am ûn Diben anghwaneg ond ûn, sef *Bargenio*. Rhai a ddywed mae angenrheidiol iddynt hwy Yfed wrth farchnatta a'i Cymydogion, gan fôd yn gymwys iawn ddibennu *Bargennion* ar y cyfryw ymgyfarfod. Ond y mae hyn etto yn waeth Diben na'r lleill i gyd, oblegid amcan hyn ymma yw bwriadu *Siommi* a *thwyllo* eraill; yr ydyni yn tybied y gallwn ni yn hawsach fyned troftynt hwy, pan fyddont mewn Diod; ac y mae hyn yn anghwanegu'r pechod o *dwyll* a *hocced* at Feddwdod. Yr awrhon y mae 'n eglur mae hyn yn unig yw ei bwriad nhw, oblegid pe byddent yn unig yn amcanu pryffuro ei *marchnad*, nhw a ddewifent yn hyttrach gymmeryd dynion a'i Synwyr o'i cwmpas; am hynny ei cymmeryd nhw pan fo Diod gwedi ei annhymmeru nhw nid yw ddim ond i graffu ar fantes arnynt. Etto fe ddychwel hyn yn fynych i fôd yn ynfydrwydd mawr yn gyftal ac yn bechod; canys y mae'r nêb a yfo ag ûn arall ar fedr ei fiommi ef, yn prifio yn fynych yn fwy penchwiban, ac felly meddwi yn gyntaf, ac yna 'mae fe 'n rhoi y run odfa i'w dwyllo 'i hûn ar a fwriadodd ef i fiommi 'r llall: Yr awrhon y mae'r Diben hwn o Yfed cymmhelled oddiwrth efcufodi a'i fôd ef yn gwneuthur y pechod yn fwy o lawer; oblegid os ni ddyleni Yfed yn anghymmedrol ar achos yn y bŷd, llai o lawer ar y cyfryw ûn drŵg ag yw *twyllo* a fiommi ein brodyr. Bargenio.

11. Yr awrhon yr wyfi'n meddwl ddarfod i mi ddangos mor anrefymmol yw'r Annogaethau hynny y rhai a ddygir i mewn gan mwyaf i

Dos. 8. escusodi 'r pechod hwn. Rhaid i mi ddywedyd i chwi ymmhellach, mae nid y mesur *eithaf* hynny o *Feddwdod* yn unig, yr hwn sy'n gwneuthur i ddynion sethu rhodio a siarad, sydd i'w gysrif yn bechod, eithr pób rhyw Râdd îs, yr hwn a weithia ar y synwyr naill a'i i'w bylu ef ai wneuthur yn anghymwys i unrhyw neges, neu iw wneuthur ef yn rhŷ ysgafn, yn hyblyg i ddisyrrwch gwâg ynfyd, neu yr hyn sydd waeth, yr hwn a ennynna ddynion i gymddeiriogrwydd a gwylltineb. Y rhai'n neu ba rai bynnag eraill a wnâ gysnewid yn y bŷd mewn dŷn a gysrifir yn y pechod hwn o *Feddwdod*: Ié, ymmhellach, Yfed tu hwynt i'r dibennion naturiol o yfed, hynny yw, tu hwynt i Gymmedrolder gweddus, sydd yn bechod, er trwy nerth pen dŷn nid yw hynny yn newid mo'i dymmer ef yn y mesur lleiaf, ac am hynny y mae y rhai sydd heb fod yn gwbl-feddw, etto a ddichon dreulio Dyddiau cyfan, neu ryw ran ystyriol o honynt yn Yfed, cymmhelled oddiwrth fôd yn ddieuog, a bôd y wae fwyaf honno yn perthyn iddynt, a adroddir, *Esa.* 5. 22. Yn erbyn y rhai sydd *nerthol i Yfed*. Oblegid er y dichon y cyfryw ûn, ond odid, gadw ei Synwyr, etto ni wasanaetha'r cyfryw Synwyr ond i ychydig bwrpas, gan ei fôd ef yn treulio'i amser yn yr ûn módd ar meddwyn anifeiliaidd, hynny yw, i dywallt i wared ddiod.

finis 9. xbr. 705

12. Ié, y mae'r dŷn hwnnw yn euog o fwy o afradlonrhwydd; yn *gyntaf*, o greaduriaid da Duw: y *ddiod* yr hon a amcenir trwy Ragluniaeth Duw er iechyd a chymmorth i ni, a gamarferir ac a afradlonir pan yr yfir hi tû hwynt

i'r mesur hwnnw y mae'r dibennion hynny yn ei osyn, ac yn ddiammeu nid yw'r gwaelaf o'r Creaduriaid hyn yr ydyni yn ei mwynhau, na bŷdd yn rhaid i ni roddi cyfrif ryw ddydd am ei cam-arferu hwynt, a'r hwn a yfo hwyaf sydd arno fwyaf o'r eüogrwydd ymma. Ond yn *ail*, y mae hyn yn afradlonrhwydd o béth sydd werthfawroccach o lawer, ein hamser, yr hwn a roddir i ni gan Dduw i *weithio allan ein Iechydwriaeth* yntho, ac sydd raid roi cyfrif twys am dano, ac am hynny y dylid hwsmonaethu pób munudyn o hono ef mor gynnil ac y bo possibl i'r diben hwnnw yngweithredoedd buchedd ddâ; ond pan dreulir ef fal hyn, y mae'n union yn y gwrthwyneb, sef, gweithio allan ein Damnedigaeth. Heb-law hyn, y mae'r nêb a yfo fal hyn, er iddo ddiangc rhag meddwi ei hûn, yn euog o holl feddwdod ei Gymdeithion; oblegid y mae ef trwy ei Esampl ei hún yn rhoi Calon yn y lleill i yfed rhag llaw, yn enwedig os bŷdd ef ûn o ryw awdurdod; ond os bŷdd ef ûn yr hwn y bydd y lleill yn hóff ganddynt ei gymdeithas ef, yna y mae ei gyfeillach ef yn ddiammeu yn rŵyd iddynt, oblegid nhw óll a yfant hefyd yn hyttrach na cholli ei gymdeithas ef. Y mae etto fai mwy, y mae llawer o'r rhai nerthol ymma i Yfed yn euog o hono, sef, ei gosod ei hunain yn *bwrpasol* i feddwi eraill, gan chwareu megys camp ar hynny, a chyfrif hynny yn achos o Orfoledd a buddugoliaeth weled eraill yn Syrthio o'i blaen hwynt; y mae hyn yn bechod tra-echryslon, nid amgen na'n gwneuthur ein hunain y *Blaid* i'r *Cythrel*, gan ymegnio hyd yr eithaf o'n gallu i ddenu ein cyd-frodyr i drueni tragywyddol, Sul. 8.

Pos. 8. trwy ei bradychu nhw i'r cyfryw bechod echryslon; ac am hynny fe ellir yn dda gyfrif hyn yn râdd uchaf o'r pechod hwn o Yfed, gan fôd yntho ef, heb law ein gormodedd ein hunain, y pechod o ddrygu eraill yn ddirfawr. Ac er bód y bŷd yn edrych ar hyn ond megys achos o *gellwair* a *digrifwch*, meddwi eraill, môdd y gallon ni chwerthin am ben ei hymddŷgiad ynfyd-ffôl hwynt, etto fe ddibenna'r cyfryw *ddigrifwch* mewn *Tristwch*, gan fôd Duw gwedi bygwth gwae yn arbennig i'r pechod hwn, *Hab.* 2. 15. *Gwae a roddo ddiod i'w gymydog, gan gyd-osod dy gostrel, a'i feddwi befyd er cael gweled ei noethni*: Ac yn ddiammeu y mae efe yn prynu ei goeg-ddifyrrwch yn ddrûd iawn, yr hwn a'i cymmer ef a'r cyfryw *wae* i'w galyn.

Llanarth Aug. 22. 703
Llanina 3. Feb. 705

13. Mi a dreuthais bellach am yr amryw *Annogaethau* a *Graddau* o'r pechod hwn o *Feddwdod*, lle y búm i yn fwy neillduol, oblegid ei fód ef yn bechod yn Rheoli mor rhyfeddol yn ein mysg ni, gan nad oes na *chyflwr*, nag *Oedran*, na *grâdd* yn y bŷd o ddynion, yn rhydd oddiwrtho, i fawr ddi-anrhydedd Duw, dirmyg Cristianogrwydd, a dinistr nid yn unig ein Heneidiau ein hunain ar ôl hyn, ond hefyd ein hóll fudd a'n dedwyddwch presennol yn y bŷd hwn; gan nad oes ûn pechod yn bradychu pób rhyw ddŷn neillduol ar a'i gwnelo i fwy o *ddrygau* yn ei *Synwyr*, ei Iechyd, ei *fri*, a'i *Ddâ bydol*, nag y mae hwn yn unig. Ac y mae i ni achos i gredu fód y pechod hwn yn ûn o'r pechodau dirfawr cyffredinol hynny y rhai tros hîr amser a bwysasant yn drwm ar y *Genhedlaeth* hon, ac a dynnasant i lawr yr amryw farnedigaethau

nedigaethau echryslon hynny y gróch-lefasom ni tanynt. Sul. 8.

14. Am hynny, O Ddarllennydd *Cristianogawl*, gâd i mi yr awrhon ddeisyf arnati, neu yn hyttrach dy dynghedu di trwy 'r holl dymherwch a'r cariad sydd ddledus arnati i anrhydedd Duw, Brî dy broffes Gristianogawl, dedwyddwch tragywyddol dy enaid dy hûn, Llwyddiant yr Eglwys a'r Genhedl, o ba ûn yr wyti 'n aelod; ie, trwy 'r Cariad hwnnw sydd yn ddiammeu genniti i'th happusrwydd amserol dy hun, i feddwl ynddwys ac yn ddiwyd am y péth a draethwyd; Ac yna barna, a oes pleser yn y bŷd yn y pechod hwn a ddichon wneuthur iawn cymwys am yr holl ddrygau hynny y mae ef yn ei ddwyn gyda'g ef; y mae 'n ddiogel genniti nad oes ûn dŷn yn ei iawn bwyll a dybia fôd, ac os nid oes, yna bíd cywilydd genniti fôd rhag llaw yn gyfryw ûn ynfyd a gwneuthur bargen mor resynol, eithr dechreu y munudyn hwn lawnfwriadu yn gadarn na bo iti byth rhag llaw fôd yn euog o'r pechod anifeiliaidd hwn, er mynyched hyd yn hyn y syrthiaisti iddo, ac ymosod dy hûn yn ofn Duw i *Gymmedrolder* cyflawn, yr hyn pan wnelych, ti a ganfyddi i ti wneuthur nid yn unig gyfnewidiad buddiol ond ûn hyfryd hefyd; oblegid nid oes nêb a archwaethodd obób ûn o'r ddau na ddywed ei galon ei hûn iddo ef fôd anfeidrol mwy o gyssur ac hyfrydwch mewn *Sobrwydd* a *Chymmeddrolder*, nag a gafodd ef erioed yn ei hóll *Feddwdod* a'i *Drythyllwch*.

15. Torri ymmaith yr *Arfer* ar y *cyntaf* ydyw'r anhawsder mwyaf, a hynny sy'n dychwelyd o ran o'n plegid ein hunain, ac o ran oblegid eraill. Yr

Pos. 8. anhawsder o'n plegid ein hunain a ddichon fôd o ddau fáth; yn *gyntaf*, pan soni trwy hîr ymarser o yfed, gwedi dŵyn y fáth gau-syched arnom ein hunain, a bód ein Cyrph megys yn gofyn y Ddíod, ac nid oes eisieu ond ychydig ammynnedd i orchfygu hyn ymma. Ymarbed ond tros ychydig Ddyddiau, ac ar ól hynny fe sydd yn ddigon esmwyth i ti; oblegid gan mae *arfer* a wnaeth yr *anhawsder* ymma, torr *hwnnw* ymmaith, a thi a wnaethost y gwaith. Os dywedi, y mae 'n anhawdd iawn gwdeuthur felly, ystyria, pe byddei arnati ryw glefyd a'th laddeu di yn ddiammeu oddigaeth i ti tros ychydig amser ymgadw rhag yfed yn anghymmedrol, oni fydde well genniti ymgadw na marw. Os ni bydde, yr wyti 'n fáth hurtyn anifeiliaidd nad yw ond ofer dy gynghori di; ond os bydde, yna ystyria mor anresymmol yw, na wnei di felly ymma hefyd; fe ddichon *ymarfer* o *yfed* yn dda iawn bassio am *Glefyd marwol*, y mae ef yn dychwelyd felly yn fynych iawn i'r Corph, ond yn ddiammeu fe a fydd felly i'r Enaid; ac am hynny cynddaredd gwallgofus yw sefyll ar yr anhawsder ymma yn meddiginiaethu 'r Enaid, yr hwn a ymro it i yn ewyllysgar iddo mewn llai perigl o'r Corph. Gosod gan hynny ond dy lawn fwriad i ddioddef yr ychydig helbul hwnnw, tros amser byrr, a thi a gei 'r oruchafiaeth ar yr anhawsder cyntaf ymma, canys gwedi iti ymarbed tros dró, fe fydd yn hawdd iawn i ti wneuthur felly rhag llaw,

16. Yr *ail* anhawsder yw *treulio 'r Amser*, yr hwn ni wŷr bêb a fu arfer o wneuthur yfed yn Neges ac yn orchwyl, ond pryn pa fodd i'w fwrw heibio.

Cymmrodorion LIBRARY
61, Chancery Lane W C2

heibio. Ond y mae hyd yn oed henwi 'r anhawsder ymma yn ein cyfarwyddo ni at feddiginiaeth; cais iti ryw *orchwyl*, rhyw béth i'th ymosod dy hûn yn ei gylch, yr hyn (fal y dangosais i o'r blaen) a fydd yn hawdd iawn i bób mâth ar ddŷn ei gael; ond fiwr ni all fód ar y râdd waelaf o ddynion, (at ba rai yr wyfi 'r awrhon yn fcrifennu) eifieu gorchwyl yn barod ger llaw, gan i bód nhw gan mwyaf i ennill ei bywiolaeth trwy ei llafur, ac am hynny nid rhaid i mi ond yn unic roi 'r cyngor hwn iddynt hwy, fód yn ddiwyd yn y gorchwyl hwnnw fydd ganddynt, a dilyn hwnnw yn fanwl fal y dylent; ac ni bydd iddynt ond ychydig achos i chwilio allan am ffordd i dreulio 'i hamser.

17. Y mae mâth arall ar anhawsder, yr hwn a ddywedais i fydd yn dychwelyd oddiwrth eraill a hynny yw naill a'i oddiwrth ei *hannogaethau*, neu'i *gwradwyddau* hwynt. Y mae yn debyg iawn, os dy *hên gymdeithion* a'th wêl di yn dechreu fyrthio ymmaith, y gofodan nhw yn galed arnati i'th ddwyn di yn ôl i'th hên arfer, nhw a haeran mor *angharedig* yw iti ymwrthod a *Chymdeithas* dy *gyfeillion*, mor drwg yw i ti ymadel a'r holl Lawenydd a'r Digrifwch hwnnw, yr hwn y mae *Cymdeithion da* (fal y galwant hwynt) yn ei fwynhau: ac onid ellir dy ennill di fal hyn, nhw a'th frawychant di a gwradwydd y bŷd, ac felly profi a allant hwy dy wawdio di allan o'th fobrwydd.

18. Y módd i orchfygu 'r *anhawsder* ymma yw ei ganfod ef ymlaen llaw; am hynny pan amcenych di gyntaf osod ar dy gwrs o *Gym-*

Dos. 8. *medrolder*, bwriada y cyfarfyddi a'r rhain, ac ysgatfydd a llawer eraill o Brofedigaethau, ac módd y gellych iawn-farnu a ydynhw deilwng i ti wneuthur cyfrif o honynt, ystyria a haedda 'r *gau-garedigrwydd* a gynnyddir ymysg dynion trwy Yfed, ei gystadlu a gŵir dragywyddol garedigrwydd Duw yr hwn a gollir trwy hynny; neu a oes gymmesurwydd yn y bŷd rhwng y *gwâg-ddifyrrwch ffôl* hwnnw, a llawenydd presennol Cydwybod ddâ ymma, neu 'r llawenydd mwy hwnnw yn y Nêf ar ôl hyn. Yn ddiweddaf, a yw gwradwydd annheilwng dynion drŵg, neu gywilydd y bŷd mor echryslon ac yw cyfiawn argyoeddiad dy Gydwybod dy hûn yn y cyfamser, a'r tragywyddol warthrudd wyneb hynny yr hwn a ddychwel i bawb, ar y dydd diweddaf, ar a elo ymlaen yn y pechod hwn; dyfal-bwysa hyn óll, meddaf, nid rhaid i mi ddywedyd, ynghlorian y Cyssegr, ond ynghlorian Rheswn cyffredinol, ac yn ddiammeu, nid elli di lai na chydnabod, fôd yr Annogaethau i Gymmedrolder yn llwyr bwyso i lawr y lleill. Gwedi i ti fal hyn farnu yn bwyllog, yna sefydla dy lawn fwriad yn gyf-attebol, a pha brŷd bynnag y daw rhai o'r Profedigaethau hyn i'th siglo di, cofia i ti o'r blaen ei pwyso hwynt, a'th fôd yn gwybod ei prîs nhw a'i bód nhw yn bethau annheilwng iawn o'r Rhagorfreintiau gwerthfawr hynn sydd raid i ti roddi yn gyfnewid am danynt. Am hynny parhá yn ddyfal yn dy lawnfwriad, a bwrw ymmaith trwy Lidiawgrwydd bob-rhyw gynhyrfiadau i'r gwrthwyneb.

19. Ond

19. Ond bydd siccr o'i bwrw hwynt ymmaith fal hyn ar y cynnyg cyntaf, ac nag ymroá iddynt yn y mesur lleiaf; oblegid os tydi unwaith a roddi dîr iddo, y may perigl mawr y mynn y pechod bôb ychydig ac ychydig y llaw uchaf arnati. Dymma fal i gwelwn ni laweroedd y rhai addefasant yn hyderus fwriadu *Cymmedrolder* dirfawr, etto o eisieu 'r gofal ymma, a anturiasant a'r gyfeillach ofer-ŵyr ; pan ddaethant yno, trwy daer ymbil ar y cyntaf nhw agymmerasant gwppaned, gwedi hynny ûn arall, nes o'r diwedd iddynt ei chymmeryd hi o gwmpas cyn rhwydded a'r lleill, ac yn y *Llifeiriant* hwnnw o *ddiod*, nhw a foddasant ei holl amcanion sobr. Pwg bynnag gan hynny wyti a'r sydd yn chwennych yn difrifol ymwrthod a'r pechod, edrych am ochelyd yr Achosion a'r Dechreuad o honaw; i'r diben hwn fe fŷdd yn dda i ti draethu allan ar gyhoedd dy amcanion o sobrwydd, ac felly ti a ddigalonni ddynion rhag syrthio arnati. Ond os bydd naill ai yn gywilyd genniti gyfaddef hynny, neu, os tybir dy fôd di felly, nhw a wnán ddefnydd o'r Cywilydd hwnnw i'th ddwyn di i'w dorri ef.

20. Os byddi di fal hyn yn wiliadwrus i'th gadw dy hûn rhag y *cynnhyrfiadau cyntaf*, yna 'r wyti 'n siccr na oddiwedda 'r pechod hwn bŷth monoti. Canys y mae hynn y debyg i gadw 'r muriau oddiallan i *Ddinas warchaedig*, y rhai tra 'r amddeffynnir nhw yn nerthol, nid oes dim perigl; ond os gorescynnir hwynt, neu ei rhoddir hwynt i fynu, ni ddichon y Ddinas ddal allan yn hîr: Y mae gan hynny Gyngor y

gŵr

Pos. 8. gŵr doeth yn dra-chymmesurol i'r pwrpas hwn, *Eccles*. 19. 1. *Yr hwn sydd yn diystyru ychydig, a syrth o fesur ychydig*. Ond oblegid fal y dywed y P*salmydd*.] Psal. 127. 1. *Os yr Arglwydd ni cheidw 'r Ddinas, ofer y gwilia 'r Ceidwad*: am hynny anghwanega at dy wiliadwraeth dy hûn *Weddi* ddifrifol, ar fôd i Dduw hefyd wilio trosoti, a thrwy rym ei Râs ef dy wneuthur di yn alluog i wrthsefyll yr hóll Brofedigaethau i'r pechod hwn.

21. Os tydi mewn *symlrwydd* dy Galon a arferi 'r *moddion* hyn, nid oes ammeu nad elli di gael yr oruchafiaeth ar y pechod hwn, er cyhyd yr ymarferaisti ac ef, am hynny os wyti etto tan ei Lywodraeth ef, na escusoda monot dy hûn gan ddywedyd fôd y gwaith yn ammhossibl, eithr yn hyttrach cyhudda ffûg dy Galon, dy hun yr hon sydd etto mor hôff ganthi hi 'r pechod hwn, ac na ymosodi yn ddifrifol i arferu 'r moddion i'w orchfygu ef.

22. Fe ddarfu ysgatfydd i *gyffredinoldeb y pechod* hwn, a'th ymarfer neillduol di o hono ef, wneuthur ef mor hóff a chartrefol iti, a bód yn anhawdd genniti feddwl yn galed o hono ef, neu dybied i fód ef, yn amcanu dim niwed i ti, ac am hynny mae 'n hawdd genniti draethu heddwch i ti dy hûn, gan obeithio naill ai nad ydyw ef *Bechod*, neu o'r eithaf ond *Gwendid*, yr hwn ni 'th rwystra di rhag dyfod i'r Nêf; Ond na thwylla monot dy hûn, oblegid ti a elli yn gystal ddywedyd nad oes ûn Nêf, ac na cheidw *Meddwdod* di allan o honi; y mae 'n ddiogel gennifi mae 'r ûn Gair Duw yr hwn sy 'n dywedyd i ni fód y cyfryw le

o *ddedwydwch*, ſydd hefyd yn dywedyd i ni nad yw *Meddwon* o niſer y rhai a'i *bettifeddant hi.* 1 Cor. 6. 10. a thrachefn *Gal.* 5. 21. Fe gyfrifir *Meddwdod* ymyſg *gweithredoedd y Cnawd*, y rhai pwy bynnag ai gwnêl, *ni chánt etifeddu Teyrnas Dduw.* Ac yn wîr pette 'r ſcrythur heb ſôn, fe ddywedai Rheſwm naturiol i ni yr ûn péth,ſef bôd y Nêf yn fangre o anfeidrol bûrdeb, yn gyfryw ac na ddichon *cîg* a *gwaed*, nes ei *buro* a'i *addnewyddu*, fyned i mewn iddo, fal y dywed yr Apoſtol, 1 *Cor.* 15.53. Ac os ydyni megys yn ddynion yn rhŷ ammhur ac amroſgo iddi hi, yr ydyni yn ddiammeu yn fwy o lawer felly, gwedi i ni ein cyfnewid ein hunain i fôch, y budraf o Anifeiliaid; yna yr ydyni 'n barod i'r *Cythreuliaid* i fyned i'n mewn, megys ac yr aethant i'r *genfaint*, *Marc.* 5. 13. A hynny nid yn unic ûn neu ddau, ond *Lleng*; byddin a lliaws o honynt. Ac yr ydyni beunydd yn gweled *Siamplau* o hyn oblegid lle y mae 'r pechod hwn o *Feddwdod* gwedi cymmeryd meddiant, y mae efe gan mwyaf yn dwyn aneirif o rai eraill gydág ef; y mae pób gweithred o bechod yn paratoi dŷn, nid yn unic i ûn arall o'r unrhyw,ond i rai eraill hefyd; y mae trachwant a chynddaredd a phób gwiniau anifeliaidd y Prŷd hynny yn agored, ac felly y mae dyn yn ei ddwyn ei hún tan y felldith honno yr hon oedd yr echryſlonaf ar a wyddei Dafydd pa fódd i'w rag-ddywed i ún dŷn, *Pſal.* 69. 28. *Syrthio o'r naill Anwiredd i'r llâll.* Os ni thyccia hyn i gyd i'th ddychrynnu di allan o'th Feddwddod, dós ymlaen i ymdrybaeddu yn dy chwdiad, parhá yn y cyflwr budr anifeiliaidd hwn, nes i fflammau Uffern dy ddeffró di, ac yna ti a genfyddi,i'th ddidrangc drueni, mae

anghymwys

Dos. 8. mae *Diwedd y pethau hynny*; fal y dywed yr Apostol *Rhuf. 6. 21. yw Marwolaeth*. Duw o'i anneirif drugaredd a ddadebro galonnau y rhai óll sydd yn eüog o'r pechod, módd y gallont mewn prŷd ymadel ac ef, ac felly *gochelyd y Llid sydd i ddyfod*. Fe ddarfu i mi bellach draethu am yr *ail* Rhan o *Gymmedrolder*, ynghylch *Yfed*.

DOS-

# DOSPARTHIAD, IX.

*Cymmedrolder yn Cyscu : y Rheol o hynny,* &c. *Drwg Syrthni ; am Atgyweiriadau, Gocheliadau iw hystyried yn hynny ; am Wisg,* &c.

Llan. 5th Sep. 1703.

1. Y *Trydydd* Rhan o Gymmedrolder sydd yn perthyn i Gysgu : Ac y mae'n rhaid mesur y *Cymmedrolder* yn hynny hefyd trwy'r diben er mwyn pa ûn yr ordeinwyd *Cwsg* gan Dduw, yr hyn oedd yn unig i atgyweirio ac i gynnal i fynu ein Cyrph gwael ni, y rhai gan ei bôd o'r cyfryw dymmer a bód llafur a lludded wastadol yn peri iddynt flino, a bód yn ddeffygiol, y mae *Cwsg* yn dyfod megys meddiginiaeth i'r Blinder hwnnw, ac atgyweiriad i'r deffygiad hwnnw, fal y boni yn gymwys i'r cyfryw lafur ac y bo Dledswyddau Crefydd, neu weithredoedd ein Galwedigaeth yn ei gofyn gennini. *Cwsg* a fwriadwyd i'n gwneuthur ni yn fwy buddiol, nid yn fwy Segur ; megys yr ydyni yn rhoddi esmwythdra i'n Hanifeiliaid, nid oblegid ein bod ni yn bodloni iddynt fód heb wneuthur dim, ond fal y gallont wneuthur ein Gwasanaeth ni yn well. Cwsg.

2. Trwy hyn gan hynny chwi a ellwch farnu pa béth yw *Cwsg Cymmedrol* ; sef yr hwn a'n hatgyweiria ni, ac a'n gwná ni yn fwy cymwys i Lasur, Y Rheol o Gymmedrolder yntho.

Dos. 9. i Lafur, ac i'r diben hwnnw grâdd gymmhedrol o hono sydd oreu. Ammhossibl a fydd gosod ar lawr yn union pa sawl Awr yw'r rádd gymmhedrol honno, oblegid megys yn *bwyta*, felly hefyd yn *Cysgu*, y mae tymmer rhai Cyrph yn gofyn ychmaneg na'r lleill: Rhaid i bôb dŷn sarnu hyn wrth ei Gysarwyddid ei hûn, ond edryched am farnu yn union, heb ymofyn a'i Syrthni yn hyn ymma, oblegid hwnnw a waedda allan yn wastad gyda *diogyn Solomon*, *Ychydig ychwaneg o Gysgu, ychydig heppian, ychydig wasgu'r dwylo i orwedd*; Dihar. 24. 33. Ond cymmered yn unig cymmaint ac a wêl ef a duedda i'r diben rhagddywededig.

Drwg Syrthni. 3. Y mae'r neb nid yw fal hyn yn ei gadw ei hûn i mewn, tan yr ûn pechod Cyffredinol hwn o Syrthni, yn Syrthio i amryw Bechodau eraill: megys yn *gyntaf* y mae ef yn treulio ei amser, sef y Dalent werthfawr honno a roddes Duw iddo ef i'w anghwanegu, ond y mae'r neb a'i *cwsg* hi allan yn gwneuthur yn debyg i'r Dŷn yn yr Efengyl, *Matth*. 25. 18. Yr hwn a'i *cuddiodd hi yn y Ddaiar*, pan ddylasei fe farchnatta a hi; a chwi a wyddoch béth a ddychwelodd ir *gwâs anfuddiol* hwnnw, *wer*. 30. *Bwriwch ef i'r tywllwch eithaf*: y nêb sydd yn ei ymroi ei hûn i dywyllwch *Gwsg* ymma, a gaiff yno dywyllwch hêb *Gwsg*, ond gydág *Wylofain a rhingcian dannedd*. Yn *ail*, y mae ef yn gwneuthur cam a'i Gorph, y mae *Cwsg* anghymmedrol yn llenwi hwnnw o ddoluriau, ac yn ei wneuthur ef yn ryferthwy pób ffieiddglwyf, megys y mae Cyfarwyddid feunyddiol yn dangos i ni. Yn *drydydd*, y mae efe yn gwneuthur

gwneuthur niwed i'w *Enaid* hefyd, a hynny nid yn unic trwy rwystro iddo ef wasanaeth y Corph, ond trwy bylu ei ddoniau priodol ef, a'i gwneuthur hwynt yn annefnyddiol ac yn anghymwys i'r Gorchwylion hynny, i ba rai yr ordeiniodd Duw hwynt; ac fe fydd yn rhaid i'r Enaid ryw ddŷdd rhoddi cyfrif am yr holl ddrwg-oruchwyliaeth hyn. Ië, yn *ddiweddaf*, y mae ef yn dirmygu Duw ei hûn yn hyn, trwy groesi diben ei greadigaeth ef, yr hyn oedd i wasanaethu Duw trwy Ufydd-dod weithredol; ond y mae'r hwn sydd yn Cyscu allan ei fywyd, yn croesu yn hollawl ac yn gwrthwynebu hynny, a phan fo Duw yn dywedyd, *Dyn a aned i Lafur*, y mae ei ymarweddiad ef yn dywedyd yn union yn y gwrthwyneb, mae *Dyn a aned i Seguryd*. Gochel gan hynny dy roddi dy hûn i fynu i *gwsg* anghymmedrol, yr hwn sydd yn cynnwys yntho lawer o Bechodau yn ûn. Sul. 9.

4. Ond heb law ei fód ef yn Bechod, y mae ef mewn moddion eraill hefyd yn niweidiol iawn, y mae ef yn ddiammeu yn llwgr i'th olud bydol, yr hwn ni chynnydda bŷth i'r diogyn, fal y dywed y gŵr Doeth, *gormod Cysgu a bár fyned mewn gwisg ddryllìog*, *Dihar*. 23. 21. Ië yn wîr pryn y gellir dywedyd fod dŷn cysgadur yn fyw: chwi a wyddoch mae máth ar Farwolaeth i'w *Cwsg*, a pha béth a wná'r hwn a'i rhoddo ei hûn i fynu i *Gwsg* ond marw cyn ei amser? Am hynny os edrychir ar Farwolaeth anamserol megys melldith, ynfydrwydd rhyfeddol yw i ddŷn ddewis hynny wrth ei Syrthni ei hún, yr hwn y mae ef yn ei arswydo cymmaint oddiar law Duw.

Dos. 9.

Cymmedrolder mewn Atgyweiriadau.

5. Y *pedwerydd* Ran o *Gymmedrolder* a berthyn i *Atgyweiriadau*; y rhai sydd weithiau yn angenrheidiol i Gorph ac i Feddwl Dŷn, gan na ddichon yr ûn o honynt oddef lludded ddibaid, héb beth cyfwng o lonniad ac esmwythdra; ac am hynny y mae arfer tra-chyfreithlon o honynt; ond er mwyn ei hiawn-arferu hwynt, fe fŷdd angenrheidiol Ystyried y *Gocheliadau* hyn.

Gocheliadau i'w hystyried ynddynt.

6. Yn *gyntaf*, Cymmerwn ofal ar ei bód nhw yn rai cyfreithlon, sef rhai na bo dim o bechod ynddynt; ni wasanaetha i ni i'n *diluddedu* ein hunain wneuthur dim a fo yn dianrhydeddu Duw, neu yn niweidiol i'n Cymydog, megys y gwna y rhai sydd yn gwneuthur ymadroddion ffiaidd halogedig enllibaidd yn atgyweiriad. Yn *ail*, cymmerwn ofal ar i ni ei arferu ef mewn *cymmedrolder* : ac er mwyn hyn gochelwn dreulio *gormod* o *Amser* arno ef eithr cofiwn mae diben Atgyweiriad yw, i'n cymmhwyso ni i ryw orchwyl, ac nid i fôd ei hún yn orchwyl i ni : yn ail na arferwn mono ef yn rhy *gerth* a *difrifol*, ac na osodwn ein Calonnau ormod arno ef, oblegid fe rwyda hynny ni i'w arferu ef ormod, ac a drŷ hefyd ein Meddyliau ni ymmaith oddiwrth ein negesau mwy angenrheidiol : Fal Ysgolheigion, y rhai, gwedi hîr chwareu, ni wyddant pa fódd i'w ymosod ei hunain at ei Llyfrau drachefn. Yn *ddiweddaf* na osodwn i ni ein hunain ûn diben arall'o Atgyweiriadau, ond yr ûn cyfreithlon hwnnw, sef o roddi i ni ddiludded cymmhesurol.

Sul. 9.

7. Megys yn *gyntaf* ni wasanaetha i ni arser-ru difyrrwch y unic i bassio heibio 'r amser, yr hwn a ddyleni trwy bób módd ei waredu ac nid ei daflu ymmaith ; ac os cofiwn ni pa waith mawr sydd i ni i'w wneuthur ymma, *gwneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicer*, siccrhau ein braint i'r Nefoedd ar ôl hyn, ac mor anilys ydyni pa amser a gawn ni i'r pwrpas hwnnw, fe ymddengys mae ein hamser yn anad dim a ddyloni ei hwsmonaethu oreu. Ac am hynny nid oes i ni fawr achos i swriadu ffyrdd ei dreulio hwnnw yr hwn sydd yn myned ymmaith cyn gynted o hono 'i hûn, ac sydd yn ammhossibl ei ailgyrchu. Ystyried y rhai a fedr dreulio *Dyddiau a nosweithiau cyfan ar Gardiau a* Disiau, a chwaryddiaeth ofer a ddarfu iddin hw erioed hepcor y bedwerydd Ran o'r *Amser* hwnnw ynghylch y gorchwyl mawr hwnnw o'i bywyd, er mwyn pa ûn y rhoddwyd iddynt ei holl *Amser*, ac yna ystyriant pa gyfrif gresynol y maent yn debyg i'w wneuthur, pan ddelont o'r diwedd i roddi cyfrif am y tryssor gwerthfawr hwnnw, ei *Hamser*. Yn *ail* gwiliwn fód i'n Cybydd-dod ddim a wnelo yn ein chwareuon; os chwarawn ni ryw *Chwaryddiaeth* bydded ein diben ni yn unig i'n diluddedu ein hunain, ac nid i ennill arian ; ac i'r pwrpas hwnnw edrych na bo iti ûn amser chwareu am ryw bêth mawr, canys os gwnei ti a'th ddygi dy hún i ddau berigl, ûn o Gybydd-dod, a chwant dirfawr o ennill, a'r llall o Gynddaredd a digofaint wrth dy damwain ddrwg, os digwydd iti golli; pôb ún o'r rhain a sŷdd tebyg i'th denu di i Bechodau eraill heblaw ei hunain : *Cybydd-dod*

Dos. 9. a'th tywys di i dwyllo ac i hoccedu wrth chwareu, a *digofaint*, i dyngu a rhegu, fal y gwelwn ni yn rhy fynych yn gyffredinol. Os gweli di dy hûn yn hygŵydd i' rûn o'r rhain yn dy chwareu, rhaid iti naill ai ceisio rhyw foddion i'th arfogi dy hûn yn ei herbyn hwynt neu adael heibio chwareu yn hollawl: oblegid, er nad yw chwaryddiaeth gymmedrol ynthi ei hûn yn anghyfreithlon, etto os bydd hi yn achos o bechod, y mae hi felly iti, ac am hynny na anturia arno ef. Canys os ydyw Crist yn gorchymyn i ni mor gaeth ochelyd Profedigaethau, ac os bydd ein llygaid neu 'n dwylo yn ein rhwystro ni (hynny yw, yn rhwyd i ni) rhaid i ni yn hyttrach ymadel a hwynt, na goddef ein denu i bechod ganddynt: pa faint mwy y dyleni ymadel a'r gwag- ddifyrrwch hyn, yn hyttrach na rhedeg i enbydrwydd o ddigio Duw trwyddynt? Y mae 'r hwn sydd felly yn chwareu yn rhoddi ei Enaid yn wystl ar lawr yr hwn sydd béth rhŷ werthfawr i'w chwareu ymmaith. Heblaw hynny y mae efe 'n colli 'r holl ddifyrrwch a'r diludded y mae ef yn ei fwriadu ei gael wrth chwareu, ac yn lle hynny yn gosod mwy o Ludded arno 'i hûn nag yw 'r llafur y mae efe yn chwennych ei ysgafnhau ei hún o hono: oblegid yn ddiammen y mae deisyfiadau ac ofn y Cybydd, annioddefgarwch a chynddaredd dŷn digllon yn fwy lludded, nag y dichon y gorchwyl mwyaf poenus fôd.

Cymmedrolder mewn Gwisgoedd.

8. Y rhan *ddiweddaf* o *Gymmedrolder*, yw, ynghylch *Gwisgoedd*, yr hwn sydd raid i ni drachefn ei fesur wrth y cymmesurwydd a fydd ynddynt i'r dibennion er mwyn pa rai y dylid arferu

arferu dillad: y rhai hynny yn enwedig yw 'r tri hyn; yn *gyntaf*, cuddio noethni. Hyn oedd yr achos cyntaf o *ddillad* fal y darllennir, *Gen.* 3. 21. ac oedd ffrwyth y pechod cyntaf, ac am hynny pan gofion ni ddechreuad *Dillad*, y mae i ni cyn lleied o achos i ymfalchió o'i plegid, a bôd i ni o'r tu arall achos i gywilyddio a bôd yn ddarostyngedig, megys rhai a gollodd y Diniweidrwydd hwnnw, yr hwn oedd yn Addurn mwy o lawer nag y dichon y *Gwiscoedd* gwychaf fôd. Oddiwrth y diben hwn o wisciad yr ydyni hefyd yn rhwymedig ar fôd ein *Dillad* yn foddus a chymmedrol, yn gyfryw ac a fo yn gyfattebol i'r diben hwn o Guddio ein cywilydd: Ac am hynny rhaid yw gochelyd pób máth o *Ddillad* anweddus, y rhai naill ai a ddengys allan drythyllwch y gwisgwr, neu a demtia 'r edrychydd. Sul. 9. Cuddio noethni.

9. Yr *ail* Ddiben o Wisciad yw cadw'r Corph rhag Anwyd, ac felly i gynnal ei Iechyd ef; a'r diben hwn hefyd sydd raid i ni ei ystyried yn ein Dillad; rhaid i ni wisgo y cyfryw fáth o Dddilliadau, ac a'n cadwo ni yn y cynnhesrwydd cymhesurol hwnnw, yr hwn sydd angenrheidiol i'n hiechyd. Ac yn hyn y cyfeiliornir pan foni o wâg-falchder i fôd mewn pób rhyw drwsiad rhodresgar, yn ein hamwisgo ein hunain ar cyfryw ddillad ac naill ai ni 'n ceidw ni rhag Anwyd, neu a fo ryw ffordd mor anesmwyth a bôd yn rhwystr yn hyttrach na lesháad yn y bŷd i'n Cyrph ni. Y mae hyn yn ynfydrwydd dirfawr, ac etto yn gyfryw ac y bydd y rhai a fo yn ymfalchio yn ei *Dillad* yn fynych yn euog o hono. Cadw 'r Corph rhag Anwyd.

Dos. 9. Rhagoraerh rhwng y naill ar llall.

10. Y *Trydydd* diben o Ddillad yw er mwyn gwneuthur Rhagoriaeth rhwng y naill ar llall; a hynny yn gyntaf, oblegid *Rhith*; yn ail, oblegid *Breintiau* a chynneddfau. Yn *gyntaf*, Dillad sydd i wneuthur Rhagoriaeth rhwng Rhith; hyn a arferwyd gan bôb Cenhedloedd, yr oedd yn wastad gan wŷr a gwrogedd amryw drwsiad. Ac fe ddarfu i Dduw ei hún ordeinio hyn yn hynod ymysg yr *Iddewon*, trwy orchymyn na byddi i'r gŵr wisgo Dillad y wraig, na 'r wraig Ddillad y gŵr. Ond yn *ail* y mae yn rhaid cadw Rhagoriaeth Breintiau a chynneddfau mewn *Dillad*; fe osododd Duw rai mewn cyflwr uwch na 'r lleill, ac fe weddai iddynt ei dilladu ei hunain yn gyf-attebol i'w cyflwr; *Dillad anrhydeddus a Masswedd*, mêdd ein Iachawdr, a weddai i *balasau Brenhinoedd*, Luc. 7. 25. Y mae 'n rhaid hefyd gadw 'r diben hwn o *Wisgiad*. Fe ddyle wŷr a gwragedd ymfodloni ei hunain a'r cyfryw fáth o Wisgoedd ac a fo yn gyf-attebol i'w cyflwr a'i cynneddfau, nid ymegnió i fyned tu hwynt neu i gystadlu a rhai o uwch râdd, nag ychwaith cenfigennu rhai o'i cyflwr ei hunain, gan ymorthestu pwy a fydd wychaf, either gwisged pób dŷn ef ei hún yn y cyfryw ddillad gweddaidd ac a fo cymmwys i'w *Le* a'i alwedigaeth, ac nid meddwl ei fód ef yn cael i ddirmygu os bydd Cymydog arall yn wychaf nag efo.

11. A chofied pawb nad ydyw Dillad yn anghawanegu gwîr fraint ún gŵr, am hynny gwagedd anfeidrol yw treulio nemmawr o'n Meddyliau, o'n Hamser, neu o'n Golud arnynt hwy, neu i rai dybied yn well o honynt ei hunain o'i plegid hwynt, neu ddiystyru ei Brodyr tlodion a

fo hebddynt. Eithr os chwennychant ei haddurno ei hunain, bydded fal y mae St. *Petr* yn cynghori y gwragedd o'i amser ef, 1 *Pet.* 3. 4. *Yn nirgel ddyn y Galon, sef Addurn Yspryd addfwyn a llonydd.* Ymwisgan ei hunain mor drefnus ac y bo possibl a Rhinweddau Cristianogawl, a dena 'r Gwisgiad a'i gwná hwynt yn hawddgar yngolwg Duw, ië a dynion hefyd, y rhai, oddigaeth ei bód yn ynfydion neu huttanod, a'th barcha di yn fwy am dy ddaioni na'th wychder, ac yn ddiammeu y mae ûn Bais glŷd a roddech di ar gefn dŷn tlawd yn fwy gweddus i ti nag ugain o rai gwychion am dy gefn dy hûn. Sul. 9.

12. Mi a draethais bellach am yr amryw Rannau o Gymmedrolder; yr awrhon i ddibennu, mi a addrodda hyn yn gyffredinol, er na ddarfu i mi yn yr holl Rannau neillduol hŷn ddal sulw ond ar yr ûn bai hwnnw yn unig o Ormodedd, etto fe ddichon fód ún ar y llaw arall: fe ddichon Dynion neccau i'w Cyrph yr hyn sydd angenrheidiol i'w cynnhaliaeth. Nid ydyw hyn, yr wyf yn credu, yn fai mor gyffredinol a'r llall, etto ni a welwn rai *tra-chrwydrus* weithiau yn euog o hono ef, y rhai ni âd ei Calonnau iddynt fenthycco cymmaint gan ei coffrau ac a bortha ei Boliau, neu a ddillada ei cefnau hwynt, a'r rhai sydd a'i meddyliau mor dwys ar y bŷd, yn poeni ac yn ymdrafferthu cymmaint yntho ef, nad allanhw gymmeryd iddynt ei hunain yr amser cymmhesurol hwnnw o *Gwsg*, ac o ddiludded ar sydd angenrheidiol. Os oes ûn dŷn, a ddarllenniodd y rhan gyntaf o'r Traethawd hwn, o'r tymmer yma, na chyssured ei hûn nad yw ef yn euog o'r beiau hynny o Or-

 modedd

Dos. 9. Rhago-raeth rhwng y naill ar llall.

10. Y *Trydydd* diben o Ddillad yw er mwyn gwneuthur Rhagoriaeth rhwng y naill ar llall; a hynny yn gyntaf, oblegid *Rhîth*; yn ail, oblegid *Breintiau* a chynneddfau. Yn *gyntaf*, Dillad sydd i wneuthur Rhagoriaeth rhwng Rhith; hyn a arferwyd gan bôb Cenhedloedd, yr oedd yn wastad gan wŷr a gwrogedd amryw drwsiad. Ac fe ddarfu i Dduw ei hún ordeinio hyn yn hynod ymysg yr *Iddewon*, trwy orchymyn na byddi i'r gŵr wisgo Dillad y wraig, na 'r wraig Ddillad y gŵr. Ond yn *ail* y mae yn rhaid cadw Rhagoriaeth Breintiau a chynneddfau mewn *Dillad*; fe osododd Duw rai mewn cyflwr uwch na 'r lleill, ac fe weddai iddynt ei dilladu ei hunain yn gyf-attebol i'w cyflwr; *Dillad anrhydeddus a Masswedd*, mêdd ein Iachawdr, a weddai i *balasau Brenhinoedd*, Luc. 7. 25. Y mae 'n rhaid hefyd gadw 'r diben hwn o *Wisgiad*. Fe ddyle wŷr a gwragedd ymfodloni ei hunain a'r cyfryw fáth o Wisgoedd ac a fo yn gyf-attebol i'w cyflwr a'i cynneddfau, nid ymegnió i fyned tu hwynt neu i gystadlu a rhai o uwch râdd, nag ychwaith cenfigennu rhai o'i cyflwr ei hunain, gan ymorthestu pwy a fydd wychaf, either gwisged póbdŷn ef ei hún yn y cyfryw ddillad gweddaidd ac a fo cymmwys i'w *Le* a'i alwedigaeth, ac nid meddwl ei fód ef yn cael i ddirmygu os bydd Cymydog arall yn wychaf nag efo.

11. A chofied pawb nad ydyw Dillad yn anghawanegu gwîr fraint ún gŵr, am hynny gwagedd anfeidrol yw treulio nemmawr o'n Meddyliau, o'n Hamser, neu o'n Golud arnynt hwy, neu i rai dybied yn well o honynt ei hunain o'i plegid hwynt, neu ddiystyru ei Brodyr tlodion a

fo

ſo hebddynt. Eithr os chwennychant ei haddurno ei hunain, bydded fal y mae St. *Petr* yn cynghori y gwragedd o'i amſer ef, 1 *Pet*. 3. 4. *Yn nirgel ddyn y Galon, ſef Addurn Yſpryd addfwyn a llonydd.* Ymwiſgan ei hunain mor drefnus ac y bo poſſibl a Rhinweddau Criſtianogawl, a dena 'r Gwiſgiad a'i gwná hwynt yn hawddgar yngolwg Duw, ië a dynion hefyd, y rhai, oddigaeth ei bód yn ynfydion neu huttanod, a'th barcha di yn fwy am dy ddaioni na'th wychder, ac yn ddiammeu y mae ûn Bais glŷd a roddech di ar gefn dŷn tlawd yn fwy gweddus i ti nag ugain o rai gwychion am dy gefn dy hûn. Sul. 9.

12. Mi a draethais bellach am yr amryw Rannau o Gymmedrolder; yr awrhon i ddibennu, mi a addrodda hyn yn gyffredinol, er na ddarfu i mi yn yr holl Rannau neillduol hŷn ddal ſulw ond ar yr ûn bai hwnnw yn unig o Ormodedd, etto fe ddichon fód ún ar y llaw arall; fe ddichon Dynion neccau i'w Cyrph yr hyn ſydd angenrheidiol i'w cynnhaliaeth. Nid ydyw hyn, yr wyf yn credu, yn fai mor gyffredinol a'r llall, etto ni a welwn rai *tra-chrwydrus* weithiau yn euog o hono ef, y rhai ni âd ei Calonnau iddynt fenthycco cymmaint gan ei coffrau ac a bortha ei Boliau, neu a ddillada ei cefnau hwynt, a'r rhai ſydd a'i meddyliau mor dwys ar y bŷd, yn poeni ac yn ymdrafferthu cymmaint yntho ef, nad allanhw gymmeryd iddynt ei hunain yr amſer cymmhesurol hwnnw o *Gwſg*, ac o ddiludded ar ſydd angenrheidiol. Os oes ûn dŷn, a ddarllenniodd y rhan gyntaf o'r Traethawd hwn, o'r tymmer yma, na chyſſured ei hûn nad yw ef yn euog o'r beiau hynny o Ormodedd

Pos. 9. modeddi a achwynir arnynt yno, ac am hynny a'i tybia ei hûn yn Gristion da, oblegid nad yw ef yn anghymmedrol; canys pwy bynnag yw 'r *Creadur cybyddaidd* hwn, ni chyfrifir iddo mo i' ddirwest yma megys y Rhinwedd o Gymmedrolder, oblegid nid o gariad i Gymmedrolder, ond i gyfoeth y mae efe yn ymattal; ac y mae hynny cymmhelled oddiwrth haeddu Clôd, ac mae 'r pechod mawr hwnnw ydyw ef yr hwn, medd yr *Apostl*, 1. *Tim.* 6.10, *Yw Gwreiddyn pób drwg*; fe gyfyd Corph y cyfryw ddŷn ryw ddydd yn y farn yn ei erbyn, am ei siommi ef o'i gyfran ddyledus, sef y llonniad a'r diddanwch Cymmedrol hwnnw yr oedd Duw yn ei ganhiadu iddo ef. Y mae hyn yn *Eulyn-addoliaeth* tu hwynt offrwm y *plant* i *Moloch*, Lev 20. 3. Ni offrymmasant hwy ond ei *Plant*, ond y mae 'r cybydd gresynol hwn yn ei aberthu ei hunan i'w *Dduw Mammon*, pan fo ef yn fynych yn dinistrio ei iechyd, ei hoedl, iè ac or diwedd ei Enaid hefyd i i safio ei Bwrs. Fe ddarfu i mi bellach am yr *ail* rhan o'n Dled-swydd, séf ein Dyléd tu ag attom ein hunain, yr hon a gynnhwysir gan yr Apostol tan y Gair hwn, yn **Sobr**.

---

DOS-

# DOSPARTHJAD. X.

Lan. 19 Sep. 1703 by Lamina 7 Apr. 706

*Am ein Dled-swydd tu ac at ein Cymydogion. Am Gyfiawnder, o Ommedd, ac o weithrediad. Am y pechod o Lofruddiaeth, ei Faint ef, y Cospedigaethau am dano ef, a'i ryfeddol Ddadcuddiadau ef. Am Archolli, &c.*

Text. 1. S. John. 3. 10.

1. YR wyfi yr awrhon yn dysod at y *drydyd* Ran o *Ddledswyddau* sef, tu ag ein **Cymydog**, yr hwn ar fyrr a grynhair gan yr Apostol yn y Gair hwn [**Cyfiawnder**] yr hyn sydd yn Arwyddoccau nid yn unig *Uniondeb*, ond hefyd pób máth ar *Gariad*; oblegid y mae hwnnw hefyd trwy gyfraith Crîst gwedi dysód yn ddylêd arnoni i'n *Cymydog*, ac anghyfiawnder yw i ni ei dwyllo ef o honi: Mi a adeiladaf gan hynny yr holl Ddledswyddau neillduol hynny sydd yn ddledus arnoni i' n *Cymydog*, ar y ddau gyffredinol hynny, *Cyfiawnder*, a *Chariad*. **Ddledswyddau tu ac at ein Cymydog.**

2. Mi a ddechreuaf a **Chyfiawnder**, o ba ûn y mae dwy Ran, y naill o *Ommeddiad*, a'r llall o *Weithrediad*: Cyfiawnder o ommeddiad yw gochelyd gwneuthur cam, na thrais yn y bŷd i nêb: Cyfiawnder o weithrediad yw gwneuthur Uniondeb a phawb; hynny yw, rhoddi iddynt béth bynnag a berthyn, neu sydd yn ddledus iddynt. **Cyfiawnder.**

Dosf.10 o Ommedd. iddynt. Mi a draethaf, yn *gyntaf* am y Cyfiawnder o Ommedd, sef peidio gwneuthur cam neu niwed i ûn dŷn. Gan y dichon dŷn yn awr dderbyn cam amryw ffyrdd y mae y rhan *gyntaf* ymma o *Gyfiawnder* yn ei hymystyn ei hún i amryw geingciau, cyfattebol i'r amryw ffyrdd o wneuthur cam. Fe a ddichon dŷn dderbyn cam naill a'i yn ei Enaid, a'i ei Gorph, a'i feddiannau, neu 'i Enw da; ac am hynny y mae 'r Ddled-swydd ymma o Gyfiawnder yn ein gwarchau ni ymmhób ún o'r rhain: na bo i ni wneuthur cam a nêb yn ei Enaid, na 'i Gorph, na 'i feddiannau, na 'i Enw da.

I'r Enaid. 3. Yn *gyntaf*, y mae 'r Cyfiawnder hwn yn ein rhwymo ni na wnelon i ddim niwed i'w Enaid ef; ac ymma syngwaith cyntaf i sydd raid bôd i holi pa niwed a ddichon yr Enaid i dderbyn. Y mae 'r Enaid, ni a wyddon, yn Sylwedd anweledig, yr hwn nid allwni mo 'i gyrhaeddid a'n *llygaid*, llai o lawer a'n *Cleddyfau* a'n *harfau*, etto er hyn i gyd fe a ddichon gael ei friwo a'i archolli; a hynny hyd farwolaeth.

Yn Naturiol. 4. Yr awrhon fe ellir ystyried yr *Enaid*, megys y mae yn *naturiol*, neu yn *Ysprydol*; megys y mae ef yn naturiol, y mae yn arwyddoccau, yr hwn a alwn ni yn arferol, meddwl dŷn, ac fe ŵyr pawb y dichon hwn gael ei *archolli* gan ofid a thristwch, fal y dywed *Solomon*, *Dihar*. 15. 13. *Trwy dristwch calon y dryllir yr Ysbryd*. Am hynny pwy bynnag yn ddiachos a gythrwblia neu a flina ei Gymydog, y mae ef yn cyfeiliorni yn erbyn y rhan ymma o Gyfiawnder, ac

ac yn drygu ei Enaid ef. Y mae Dynion sarhaus a maleisus yn fynych iawn yn euog o'r fáth ymma o gamwedd; nhw a wnân y pethau hynny y rhai ni wná ddaioni yn y bŷd eithr yn hytrach niwed iddynt ei hunain, yn unic er mwyn cythryblu a gorthrymmu eraill; y mae hynny yn natur tra-chreulon a nawswyllt, ymddigrifo mewn tristwch a thrallodau rhai eraill; a phwy bynnag sydd yn meddwl hyn yn ei galon, fe ellir dywedyd yn ŵir ei fód ef gwedi ei feddiannu gan Gythrael, oblegid natur yr ysprydion melldigedig hynny yn unig yw ymhyfrydu yn nhrueni dynion; ac nes taflu hwnnw allan, nid ydynhw gymwys i gyfanneddu ond fal y dŷn cythreulig hwnnw, *Mar.* 5. 2. *Ymysg beddau*, lle nid oes neb a ddichon dderbyn aflonyddwch a thrallod oddiwrthynt. Sul. 10.

5. Ond fe ellir ystyried yr Enaid trachefn mewn módd *ysprydol*, ac felly y mae yn arwyddoccau y rhan anfarwol hwnnw o hononi, yr hwn a fydd byw yn dragywydd, naill ai mewn gwynfyd neu drueni yn yn bŷd a ddaw. Ac fe ddichon yr Enaid, wrth ei Ystyried fal hyn, dderbin dau fáth ar Niwed: Yn *gyntaf*, Pechod; yn *ail*, Cospedigaeth; y mae 'r diwaethaf yn wastad yn dilyn y cyntaf; ac er mae Duw sydd yn anfon Cospedigaeth, etto gan mae ffrwyth pechod yw efe, fe ellir cyfrif fód yr hwn a ddeno dŷn i bechod yn ei fradychu ef hefyd i gospedigaeth, megys y mae yr hwn a rydd i ddŷn archoll marwol yn achos o'i farwolaeth ef; am hynny y mae pób ûn o'r ddau yn gynnhwysedig tan ddrwg pechod, fal nad rhaid i mi draethu ond am hwnnw yn unig. Yn Ysprydol.

6. Ac

6. Ac yn ddiammeu nid ellir gwneuthur mwy o gam na dwyn y drŵg mawr hwn ar yr *Enaid*: Pechod yw clefyd ac Archoll yr Enaid, gan ei fód ef yn union yngwrthwyneb i Râs, yr hwn yw iechyd yr *Enaid*: yr awrhon yr archoll hwn yr ydyni yn ei roddi i bob Enaid ar a ddenoni trwy foddion yn y bŷd i Bechod.

**Moddion o ddenu i Bechod.**

7. Y mae amryw ffyrdd i wneuthur hynny, ni chrybwylla 'i ond am rai o honynt, ac er bod rhai yn fwy cyfeiriol na'r lleill, etto y mae 'r cwbl yn tywys i'r unrhyw ddiben. O'r rhai mwyaf cyfeiriol y *cyntaf* yw, *Gorchymyn* pechod, hynny yw, pan fo dŷn fydd gantho awdurdod ar ûn arall yn gorchymyn iddo wneuthur rhyw béth anghyfreithlon; y mae i ni fiampl o hyn yn *Nabuchodnosor* yn gorchymyn addoli 'r *Ddelw aur*, Dan. 3. 4. ac y mae pob rhieni neu feistred, y rhai a orchymyn i'w plant neu i'w gwenidogion wneuthur rhyw weithred anghyfreithlon, yn dilyn ei lwybr ef. Yn *ail*, y mae *Cynghori* i bechu, pan fo dynion yn annog ac yn ymynhedd eraill i ryw ddrŵg: fal hyn y cynghorodd gwraig *Jób* ei gŵr i felldigo Duw, *Job*, 2. 7. Ac *Achitophel* a gynghorodd *Absalom* i fyned i mewn att *orddercbwragedd* ei Dâd, 2 *Sam*. 16. 21. Yn *drydydd*, y mae *llithio* a hudo i bechod, trwy osod o flaen dynion y pleserau a'r bûdd a gánt hwy oddiwrtho ef. O'r fâth ymma o hudoliaeth y mae *Solomon* yn rhoi i ni rybudd, *Dihar*. 1. 10. *fy mâb os pechaduriaid a'th ddenant, na chydtuna a hwynt: os dywedant, tyret gydá ni, cynllwynwn am waed, nyni a ymguddiwn yn erbyn y gwirion yn ddia-*

*chos*, &c. a gwer. 13. Chwi a ellwch weled a pha hûd y maent yn ceisio ei denu hwynt, *Nyni a gawn bób cyfoeth gwerthfawr, nyni a lanwn ein teiau ag yspail: Bwrw dy goelbren yn ein mysc, bydded ûn pwrs i ni ôll.* Yn *Bedwerydd* y mae Cymmorth i bechu; hynny yw, pan fo dynion yn helpu ac yn cynnorthwyo eraill naill ai i fwriadu, neu i withredu Pechod. Fal hyn y cynnorthwyodd *Jonadab Amnon* i fwriadu treisio ei chwaer, 2. *Sam.* 13. Y rhai hyn ôll yw 'r moddion cyfeiriol i ddwyn y drŵg mawr hwn o Bechod ar ein brodyr. Sul. 10

8. Y mae etto foddion eraill, y rhai er iddynt ymddangos i fod yn fwy anghywair etto nhw a ddichon fód mor effeithiol i'r unrhyw ddiben drŵg: megys yn *gyntaf*, siampl mewn Pechod; y mae 'r hwn sydd yn gosod cynllun drŵg i eraill, yn gwneuthur ei Ran ef ar fód i eraill ei galyn ef, ac y mae hynny yn rhy fynych yn damwain: gan nad oes yn gyffredinol ddim mwy affeithiol i ddwyn dynion i ryw ymarfer bechadurus, na gweled eraill yn arferu 'r unrhyw, fal y gellir profi mew llawer o bechodau, i ba rai nid oes ûn hudoliaeth arall ond ei bód nhw mewn ffasiwn. Yn *ail*, y mae annos i bechod pan foni yn achlesu eraill i fyned ymlaen yn ei drygioni, naill ai trwy gyd-fynnio a hwynt, neu o'r lleiaf trwy fód heb ddangos anfodlonrhwydd yn y bŷd iddynt. Y *trydydd* módd yw trwy gyfiawnhau ac amddiffyn rhyw weithred bechadurus mewn ûn arall, oblegid felly nid ydyni yn unig yn ei gadarnhau ef yn ei ddrŵg eithr yn enbydu denu eraill i'r cyffelyb y rhai a fydd ond odid yn fwy tueddol iddo

 iddo ef, pan glywanhw fal hyn ddadleu trosto ef. Yn *ddiweddaf*, dwyn rhyw ddirmyg ar fuchedd dda Gristianogawl, fal y gwná y rhai sydd yn gwatwor ffyrdd Duw; dymma fódd i ddychrynnu dynion allan o ymarfer Duwioldeb, pan welont y dwg hynny nhw i gael ei gwawdio a'i dirmygu; y mae hyn yn waeth na'r lleill ei gŷd, nid yn unig oblegid y dŷn sydd yn euog o hono ef (megys y mae hyn yn nód o halogedigrwydd dirfawr ei galon ef) eithr hefyd oblegid eraill, gan fód yn gyffredinol fwy o ddrŵg yn dychwelyd o hyn nag oddiwrth y rûn o'r lleill; oblegid y mae hyn yn bradychu dŷn nid yn unig i rai gweithredoedd neillduol o anufydd-dod i Grîst, eithr i wrthod yn hollawl fód yn ddeiliad iddo ef: trwy 'r holl foddion hyn ni a allwn dynny arnom ein hunain yr euogrwydd mawr hwn o niweidio ac archolli *eneidiau* ein brodyr.

9. Fe fydde yn rhy hîr i mi osod ar lawr yr hóll armyw bechodau ymmhá rai y mae dynion yn arferol o dwyllo eraill; megys *Meddwdod*, *aflendid*, *gwrthryfelgarwch*, ac aneirif ychwaneg. Ond fe a berthyn i bób dŷn yn neillduol ystyried yn ddiwyd pa ddrŵg o'r fáth hyn a wnaeth ef i ûn dŷn trwy 'r cwbl neu rai o'r moddion hyn; ac i bwyso yn fanwl faint y cam y wnaeth ef. Y mae dynion yn barod iawn i ymffrostio o'i diniweidrwydd tu ag at ei Cymydogion, na wnaethonhw gam ac ûn dŷn, ond fe ŵyr Duw fôd llawer o'r rhai sydd fal hyn yn ymffrostio yn anad néb yn drachamweddol: ni ddarfu iddynt ysgatfydd mo archolli ei gorph ef, na lledratta ei ddâ ef:

ond

ond och! nid yw 'r Corph ond blisgyn neu Sul. 10.
gaead y dŷn, a'r Da bydol ond rhyw berthynasau iddo ef; yr Enaid yw 'r dŷn, ac nhw fedran archolli a thrywanu hwnnw yn ddiarswydus, ac etto dywedyd gyda 'r odineb-wraig, *Dihar.* 30.20. *Ni wnaethum i anwiredd*; eithr gorfoleddu o'i hymddygiad caredigol tu ag at y rhai a fradychasant hwy fal hyn i ddinistr tragywyddol; oblegid pwy bynnag a hudaisti i unrhyw bechod, ti a wnaethost dy oreu i'w hebrwng ef i'r tân tragywyddol: ac yna meddwl wrthit dy hûn pa ryw fradwraeth creulon yw hwn; ti a'i gelwit ef yn ddihiryn fradychus yr hwn pan fo yn cymmeryd arno gofleidio gŵr, a'i rhêd ef trwyddo; ond y mae 'r pechod hwn o'r eiddoti cymmhelled tu hwynt i hynny, ac y mae 'r Enaid yn werthfawroccach na 'r Corph; ac Uffern yn waeth nag Angeu. A chofia etto ymmhellach mae heb law 'r creulondeb o hynny tu at dy frawd truan, ei fód ef hefyd yn dra-phergylus iti dy hûn, gan ddarford i Grist ddadcan gwae yn erbyn hynny, *Mat.* 18.7. a gwer. 6. y mae ef yn dywedyd i ni mae pwy bynnag a rwystro (hynny yw, a ddeno i bechod (*ûn o'r rhai bychain hyn, gwell oedd ef pe crogid maen melin am ei wddf, a'i foddi yngwaelod y môr*. Ti a elli suddo dy frawd truan mewn dinistr, ond megys ac y mae gydá rhai yn ymaflyd cwymp, y mae 'r hwn a roddo i' i'r llall y codwm, gan fynychaf yn cwympo gydag ef, felly yr wyt titheu yn debyg y gadw iddo gymdeithas i'r lle hwnnw o boen ac artaith.

10. Gw-

10. Gwnaed gan hynny dy enbydrwydd dy hûn ac yntau wneuthur i ti fód yn deimladwy o faintioli 'r pechod hwn, sef yr anghyfiawnder echryslon hwn tu ag at Enaid gwerthfawr dy Gymydog. Meddwl wrthit dy hún yn difrifol a phwy y buosti mor greulon; pwy a hudaisti i *feddwi*, pwy a gynghoraisti i *wrthryfelgarwch*, a lithiasti i *drachwant*, a gyffróaisti i *gynddaredd*, pwy a gynnorthwyaisti neu a gyddygaisti ac ef mewn rhyw weithred ddrŵg, neu a anghyssuraisti ac a ddigalonnaisti trwy wawdio yn halogedig am ben *Duwioldeb* yn gyffredinol, neu ei *fuchedd* dda Gristianogol ef yn neillduol; yna summia 'r cwbl i fynu; cyhudda a barna a dy hûn yn euog, megys *Cain*, llofrudd dy frawd, ac ymofidia yn ddirfawr am bób euogrwydd o'r fáth hyn, a llawnfwriada na fyddi di bŷth rhag llaw yn achos *tramgwydd* neu *rwystr* i'th frawd.

11. Ond nid hyn yw 'r cwbl, rhaid i rai *ffrwythau* o'r *Edifeirwch* hwn darddu allan; yn awr mewn pob pechod o anghyfiawnder, y mae *adferiad* yn ffrwyth angenrheidiol o edifeirwch, ac felly y mae ymma, ti a wnaethost weithred (ysgatfydd llaweroedd) o anghyfiawnder dirfawr i Enaid dy frawd; ti a'i dinoethist ef o'i ddiniweidrwydd, o'i hawl i'r Nêf, rhaid i ti ymegnío i adferu hyn ôll iddo ef drachefn, trwy fôd yn fwy dyfal ac astud i'w ennill ef i edifeirwch, nag y buosti erioed i'w ddenu ef i bechod, arfera yn awr gymmaint o gelfyddyd i'w argyoeddi ef yn eglur o'i berigl, ac a wnaethosti erioed i'w wenheithio ef

ac hyfrydwch o'i bechod; mewn gair, arfera 'r holl hyfforddrwydd a'r moddion i'w atgyweirio ef, ac a wnaethosti i'w ddinistrio ef, a bydd yn hyn yn fwy dyfal a diwyd, canys y mae hynny yn angenrheidiol yn gystal o'th plegid dy hûn ac ynteu: yn *gyntaf*, o'i blegid ef, gan fód natur dyn yn llawer hwylusach a pharottach i ddrwg, nag i dda, y mae eisieu mwy o boen a diwydrwydd i dywallt y naill iddo ef na 'r llall: heb law hyn fe ellir bwriadu fód y dyn yn barod trwy hîr ymarfer yn hyffordd i'r ffordd waethaf, ac fe wná hynny y gwaith yn anhawsach o lawer. Yna o'th blegid dy hûn, ós wyti wîr edifeiriol, ti a'th dybi dy hûn yn *rhwymedig*, fal St *Paul*, i *lafurio yn helaethach o lawer*, ac fe fydd cywilydd genniti pan foch di yn *marsiandiaeth* tros Dduw, i ddwyn yn ôl Enaid atto ef, oni chynllwyni di hynny a mwy o ddiwydrwydd na phan oedditi yn ddeiliad i *Satan*; ymmhellach fe fydd y coffadwraeth mae tydi oedd yr achos o ddwyn yr Enaid truan hwn i'th Rwyd, yn cynnhyrfu dy astudrwydd di i'w geisio ef allan drachefn. A hyn am y rhan gyntaf o gyfiawnder o Ommeddiad, yr hwn a berthyn i Eneidiau ein brodyr. Ecc. Gen. 9. 6

Sul. 10.

Jan. 26th 7br. 1703.

12. Yr *ail* a berthyn i'r Cyrph, ac y mae 'r Cyfiawnder hwn yn dy rwymo di na wnelych gam yn y bŷd na thrais i rheini ychwaith. Yr awrhon y mae amryw raddau o gamweddau tu ag at y corph, y mwyaf o honynt yw *Llofruddiaeth*, dwyn ymmaith hoedl dŷn; hyn a waherddir yn llythyren y chweched Gorchymyn *Ná lâdd*.

Cyfiawnder o Ommedd i'r Corph.

1. S. Ioh. 3. 15. Pob un a'r sydd yn casau ei frawd, Lleiddiad Dyn yw: a chwi a wyddoch nad oes i 13. Fe yn Lleiddiad fywyd tragwyddol yn aros ynddo.

Llanina 2 Jun. 1706. being ye Epistle for ye day.

Llanarth 1 May 1709. low Easter, & after ye fight on Easter munday

Dos. 10

Amryw Ffyrd'd o Lofruddiaeth.

13. Fe ellir fód yn euog a *Lofruddiaeth* nail ai trwy drais hynod oddillan; pan fo dŷn yn dwyn hoedl ún arall, naill ai a Chleddyf, neu ryw offeryn arall; neu ynteu yn ddirgel ac yn fradychus megys ac a lladdodod *Dafydd Uriah*, nid ai gleddyf ei hûn, ond a *chleddyf meibion Ammon* 2 Sam. 11. 17. Ac y lladdodd *Iezabel Naboth* trwy gam-achwyn, 1 *Bren.* 21. 13. Ac felly llaweroedd a fu yn euog o'r pechod hwn o Lofruddiaeth trwy *Wenwyn*, *cam-dystiolaeth*, neu ryw gyffelyb foddion *Dirgel*. Y mae 'r cyntaf yn tarddu allan gan mwyaf o *Gynddaredd* ffrychwyllt, ond i'r llall y mae amryw ddechreuadau; weithiau y mae efe yn tarddu oddiwrth ryw *hên falis* gwedi ei fefydlu yn y galon tu ag at ddŷn; weithiau oddiwrth ryw *ddeisyfiadau cybyddaidd trahaus*; y mae 'r cyfryw ún yn fefyll ar ffordd ún arall i'w fudd neu 'i oruchafiaeth; ac am hynny rhaid yw ei fymmud ef ymaith; ac weithiau trachefn i guddio Cywilydd, fal *Putteiniaid*, y rhai fy 'n lladd ei Plant rhag i'w bryntni hwynt ymddangos. Ond heb law 'r ffyrdd hwylus hyn o Lâdd, y mae ún arall, fef, pan fo ni trwy annogaethau, ac hudoliaeth yn denu dŷn i wneuthur y péth o fo achos o fyrrhau ei fywyd; os bydd i ddŷn trwy feddwdod gael rhyw anaf marwol, yr hwn a fuasei fo yn ei ochelyd, pe buasei fo yn fobr, nid yw 'r hwn a'i meddwodd ef yn ddieuog o'i Farwolaeth ef; ac os efe ni bydd marw trwy 'r cyfryw ddamwain ddisymmwth, etto os dŵg yfed ryw glefyd arno ef, a'r Clefyd hwnnw ei ládd ef, ni wn i pa fodd y gall yr hwn, a'i denodd ef i'r Gormodedd hwnnw, ei

wneu-

wneuthur ei hûn yn ddieuog o Lofruddiaeth Sul. 10.
yngolwg Duw, er nad yw Cyfreithithiau dynol
yn ei gyrrhaeddid ef. Mi a fynnwn pe bydde i'r
rhai sydd arferol i ddenu eraill ir cyflwr ffiaidd
cywilyddus hwn, ystyried hyn ymma. Y mae
etto ffordd arall o ddwyn yr euogrwydd hwn
arnom ein hunain, a hynny yw trwy annog a
chyffroi eraill i'w wneuthur ef, neu i'r rádd
honno o Lidiawgrwydd a Dial ac a bâr hynny;
megys yr hwn a osodo *ddau ddyn ynghyd*,
neu yn gweled rhai felly yn barod, a chwytha
'r tân i ennynnu ymmhellach, os dychwel *Llofruddiaeth*, y mae efe yn ddiammeu yn gyfrannog
o'r Euogrwydd, yr hon sydd yn ystyriaeth a
ddyle ddechrynu pawb rhag bód iddynt a wnelont yn cynneu, neu yn anghwanegu Cynnen.

14. Yr awrhon am *echryslonrhwydd* y pechod hwn o *Lofruddiaeth*, yr wyf 'n meddwl nad yw dieithr i nêb er fód ef o'r fath *greulonaf*, yn *bechod sydd yn gwaeddu allan yn uchel*; hyn sydd i ni i'w weled yn y weithred gyntaf a fu erioed o'r fáth ymma, yr oedd *gwaed Abel yn gwaeddi o'r Ddaiar*, fal y dywed Duw wrth *Gain*, *Gen.* 4. 10. Ié y mae euogrwydd y pechod hwn yn gyfryw a'i fód ef yn gadael adwyth ar y tîr, lle 'i gwneir ef, y cyfryw ac nad ellir ei olchi allan ond a gwaed y *Lofrudd*, fal y mae 'n eglur, *Deut.* 19. 12, 13. Nid ellir puro 'r ddaiar o waed, ond a gwaed yr hwn a'i tywalltodd ef; ac am hynny er bôd mewn pethau eraill rhedeg i'r *Allor* yn sicchrau dŷn, etto ni chanhiedyd ûn cyfryw noddfa i *Lofruddiaeth* gwirfodd, ond yr oedd yn rhaid cymmeryd y cyfryw ûn oddiyno, a'i draddodi i gyfiawnder,

Echryslonrhwydd y pechod hwn.

Dos. 10 *Exod.* 21. 14. *Cymmer ef i farwolaeth oddiwrth fy*
*Allor.* Ac y mae ymmhellach i'w Ystyried, mae'r
unig ddau orchymyn y mae'r Scrythur yn sôn
am danynt, megys a roddwyd i *Noah* a'r ôl y
Dilyw, oeddynt ill ddau ynghylch y pechod
hwn; yr oedd gwahardd *bwyta gwaed*, *Gen.* 9.
4. yn ddefod i beri i ddynion arswydo yn fwy
y pechod hwn o *Lofruddiaeth*, ac felly a am-
canwyd er mwyn ei luddias ef. Y llall oedd yn-
ghylch ei gospedigaeth ef, *Gen.* 9. 6. *A dywalldo*
*waed dyn, trwy ddyn y tywelltir ei waed yntef*;
a'r rheswm am hyn a adroddir yn y geiriau
nessaf, *o herwydd ar Ddelw Duw y gwnaeth efe*
*ddyn*, lle y gwelwch chwi nad yw'r pechod
hwn yn unig yn gamwedd yn erbyn ein brawd,
ond y dirmyg a'r diystyrwch mwyaf o Dduw
ei hún, séf anrheithio ei Ddelw ef, a brintiodd
ef ar ddŷn. Ié ymmhellach, nid yw hyn ddim
llai na thrais-feddiannu awdurdod a braint
briodol Duw ei hún; oblegid gan Dduw yn
unig y mae awdurdod i drefnu hoedl dŷn: efe
yn unig a'i rhoddodd ef, a chantho ef yn unig
y mae gallu i'w gymmeryd ef ymmaith; ond
y mae'r hwn a *laddo* ŵr megys yn dwyn ym-
maith yr awdurdod hon allan o law Duw, y
hyn yw'r pwyth eithaf o Ryfyg gwrthyfelgar
all fód.

Y Cospedigaethau am dano ef. 15. Ac fal y mae'r pechod yn fawr, felly he
fyd y mae'r *Cospedigaeth* am dano ef; ni a
gwelwn ef yn fynych yn fawr iawn, ac yn dr
hynod, ié yn y *byd* hwn, (heb law'r ffrwytha
tra-echryslon hynny o hono ef yn y nessaf)
mae *gwaed* nid yn unic yn *gwaeddi*, eithr y
gwaeddi am *ddial*, ac ni ommedda *Duw'r* di

al y mae ef yn ei alw ei hún', ei wrando ef : Sul. 10.
llawer iawn o siamplau y mae'r Scrythur yn ei
roddi i ni o hyn : *Ahab* a *Jezabel*; y rhai a
laddasant *Naboth* wirion, o chwant i'w winllan
ef, a labyddwyd ei hunain, a'r *Cwn* a *lyfasant*
ei *gwaed* hwynt yn y lle y tywylltasant hwy ei
waed ef, fal y mae i chwi i'w ddarllen yn yr
histori honno; felly *Absalom* gwedi iddo ef *ládd*
ei frawd *Amnon*, a Syrthiodd i bechod arall o
wrthryfelgarwch yn erbyn ei *Frenin* a'i *Dâd*, ac
yn hynny a ddinistrwyd yn resynol. *Rachab*
a *Baanah*, y rhai a laddasant *Ishbosheth*, a rodd-
wyd ei hunain i farwolaeth, a hynny gan yr
hwn y tybiasant wneuthur o honynt gymhwynas
iddo; llawer ychwaneg o siamplau a ellid ei
roddi o hyn allan o'r histori gyssegr-lân a dynol,
gan nad oes ûn Oes na roddodd aneirif o siam-
plau o'r fáth hyn, fal y dichon pób dŷn ei fod-
loni ei hûn yn hyn allan o ystyriaeth ei amser
ei hûn.

16. Ac fe haeddai ein hystyriaeth ni, pa fodd-
ion *rhyfeddol* a welodd Duw yn dda ei har-
feru yn fynych i *ddadcuddio'r* pechod hwn; fe
fu'r *bwystfilod mudion* yn fynych yn offerau o
hyn; ié, fe wnaeth *aruthrol ddychryn cydwybod*
dŷn iddo yn fynych ei fradychu ei hûn, yn
gymmaint ac na ddichon dirgelwch yn y bŷd a
arfera dŷn i weithredu 'r pechod hwn ei sic-
rhau ef rhag derbyn dial, oblegid ni ddichon
dŷn bŷth gau allan eu gydwybod ei hûn, yr
hon heb yn waethaf iddo ef a wyr oddiwrth y
weithred, ac y mae honno yn fynych yn dych-
welyd i fód yn fódd o'i ddadcuddio ef i'r bŷd,
ac os ni wná hi hynny, etto hi a fydd tiwr o

Ei ryfeddol Ddadcuddiadau ef.

Dos. 10 ymddial arno ef, ac a fydd yn gyfryw Uffern o'i fewn ef ac a fydd yn llawer gwaeth na marwolaeth: hyn a welsoni mewn llaweroedd, y rhai ni allent gwedi gwneuthur y pechod hwn fwynhau ún munudyn o esmwythdra, ond a gawsant y sáth *angerddol ingder meddwl* ac a dewisasant hwy yn hytrach ei *llabyddio* ei hunain na byw yntho ef. Dymma 'r ffrwythau arferol o'r pechod hwn yn y bŷd hwn, ond y mae y rhai yn y bŷd a ddaw etto yn fwy echryslon o lawer, lle yn ddiammeu y bydd y rádd fwyaf o benyd yn perthyn i'r drŵg mawr hwn, oblegid os, fal y dywed ein Hiachawdr, *Mat.* 5. 22. Tân Uffern yw cyfran y rhai a *alwant ei brawd yn ynfyd*, pa ryw râdd o'r lloscfeydd hynny a dybiwn ni yn gyf-attebol i'r pechod tramawr hwn?

17. Yr Ystyriaeth o hyn ei gyd a ddyle ein llenwi ni o ddychryn anfeidrol a chassineb o'r pechod hwn, a'n gwneuthur ni yn wiliadwrus iawn arnom ein hunain, rhag i ni ûn amser syrthio iddo ef, ac i'r diben hwnnw ochelyd yr holl achosion hynny a'n dena ni yn ŵysg ein pennau i'r pydew hwn. Mi a draethais ar y cyntaf am amryw bethau sydd arferol o fód yn *ddechreuad* o hono ef, ac a'r rheini y mae ini ddechreu, os mynnwn ein hymddiffyn ein hunain yn ddiogel. Os mynni di gan hynny fód yn siccr na laddoch di ddŷn yn dy gynddaredd, bŷdd siwr na bóch di yn y Cynddaredd hwnnw, canys os llochesu di hwnnw o'th fewn, nid all fód genniti siccrwydd yn y bŷd yn erbyn y llall, gan fod digofaint pan feddianno fo ni unwaith, yn gyfryw ynfydrwydd, na rŷdd ef mor amser i ni i ystyried

na

na gwybod pa béth y boni yn ei wneuthur. Am hynny pan welych di dy hún yn dechreu ennynnu, meddwl mewn prŷd i ba le y dichon hyn dy ddenu di, os goddefi di iddo ef, ac yn ebrwydd ffrwyna 'r ŵyn Ystyfnig hon; felly trachefn os chwennychi di siccrhau dy hûn na bo i falis dy dywys di iddo ef, gwilia arnat rhag croesawu ûn meddwl maleisus yn dy galon, canys os efe unwaith a'i sefydla ei hún yno, efe a gascla 'r cyfryw nerth ac y byddi di ar fyrder yn hollawl tan ei allu ef, fal y gallo ef dy dywys di i'r pechod echryslon hwn pan fynno; bydd ofalus gan hynny ar nessáad cyntaf yr ymdeithudd bradychus hwn, ar gau'r drysau yn ei erbyn ef, heb adael iddo ûn amser fyned i mewn i'th feddwl di; felly yn gyffelyb os mynni di dy siccrhau dy hûn na bo i'th gybydd-dod, i'th drachwant, nag ûn gŵyn pechadurus arall dy fradychu di i'r pechod hwn, bydd siccr na bo'i rûn o honynt reoli o'th fewn, oblegid os cánhw unwaith yr oruchafiaeth, fal y cánhw yn ebrwydd, os cynhwysir nhw unwaith yn y galon, nhw a án tu hwynt i'th Reolaeth di, ac a'th daflan di i hwn neu i ryw bechod arall a wasanaetha ei tró hwynt. Yn gyffelyb os mynnit ti ochelyd bód yn euog o'rûn o'r effeithiau marwol o *feddwdod* dy Gymydog, bydd siccr na *lithioch* di mono ef iddo, nag *ymgymdeithasu* ac ef yntho, ac i'r pwrpas hwnnw nag ymhyfryda yn y cyfryw ymarfer, canys os gwnei, ti a fyddi yn ymegnio i geisio cyfeillion atto ef. Yn *ddiweddaf*, os ni fynni di fód yn euog o *Lofruddiaeth*, a wná ún arall, gwilia ún amser annog ûn dyn i hynny, neu i gymmorthi ef yn ei ddigter ai gynnen, y rhai

Sul. 10.

Dos. 10 a all fód yn achos o hynny. Canys gwedi iti unwaith *gynneu*, neu chwythu'r *tân*, béth a wyddosti pwy a *ddifa* ef? Dŵg yn wastad gymmaint ac a ellych di o *ddwfr* i ddiffodd, ond na ddŵg ûn defnyn o *Olew* i anghwanegu'r fflamm. Y cyffelyb a ellir ei ddywedyd am bób achosion eraill o'r pechod hwn, ar na chrybwyllir am dano ymma; a'n hymgadw ein hunain yn ddiwyd rhag y rhain yw'r unig fódd siccr i'n cadw ni rhag y pechod hwn: megys gan hynny ac y mynniti dy ymgadw dy hûn yn ddieuog oddiwrth y trosseddiad mawr hwn, gochela yn ddyfal y cyfryw raddau, hŷd, a thueddiad tu ag atto ef.

Anafu yn Gam-mawr.

18. Ond er mae Llofruddiaeth yw'r mwyaf, etto nid yw ef yr unig Cam a ellir ei wneuthur i Gorph ein Cymydog; y mae rhai eraill hefyd y rhai sydd yn dra-mawr; y nessaf ún mewn grâdd at hwn yw ei *Anafu* ef, ei ddifeddu ef o ryw aelod, neu o'r lleiaf o allu ei arfer ef, ac y mae hyn yn ddrŵg ac yn gam mawr iddo ef, megys ac y gallwni ddirnad wrth farnedigaeth Duw ei hûn, ynghyflwr y Caethwâs, yr hwn o achos ei feistr a gollei aelod, *Exod.* 21. 26. ni thybid ei rydd-dyd ef tros ei holl fywyd ond iawn rhesymol iddo ef am hynny, *Gollynged ef yn rhydd*, medd y Testyn, *am ei Lygad*, ié, er iddo fód ond rhyw ran gwaelach o lawer, megys ei Ddant, yr hwn yn anad dim o'i Gorph a all dŷn yn hawsaf ei hepcor, etto yr oedd yn rhaid iddo gael y rûn iawn, gwer. 27.

19. Ond nid rhaid i ni ddim arall i fesur y Cam hwn, na barn pób dŷn yn ei gyflwr ei hûn;

hûn; pa faint y mae pób dýn yn ofni Colli Sul. 10.
aelod? Fal os bydd iddo trwy ryw ddamwain, neu ddolur fód mewn perigl am dano, ni thybia fo boen na chóst yn y b^d yn ormod i'w gynnal ef. Ac yna pa anghyfiawnder ddirfawr, ac mor wrthwynebus i'r Rheol ragorawl honno, *o wneuthur fal y chwennychoni i eraill wneuthur a ninnau*, ydyw i ddŷn wneuthur hynny i arall, yr hyn y mae ef mor anfodlon i ddioddef ei hun? Ond y mae'r Cam etto yn fwy o lawer, os y dŷn a fydd *tlawd*, ac yn gorfod iddo Lafurio am ei fywyd, y mae hynny yn fáth o *Lofruddiaeth* hefyd; canys fal y dywed y gŵr Doeth, *Eccluf.* 34. 24. *Bywyd y tlodion yw ei bara, a dyn gwaedlyd yw'r hwn trwy dwyll a'i dygo ef.* Ac am hynny nid yw ef yn ddiammeu ddim llai dieuog yr hwn a gymmero ymmaith y moddion o ennill ei fara, gan ei wneuthur ef trwy *anaf* yn anghymwys i lafurio. Yn y Gyfraith fe gannhiedid i bob dŷn a dderbynniase'r cyfryw niwed gan ei Gymydog, fyned i erfyn gan y Swyddog róddi yr unrhyw gôsp arno ynteu, *Llygad am lygad, dant am ddant, Exod.* 21. 24.

Archolli-on a cher-nodiau yn Gam-wedd au hefyd.

20. Ac er na chynnhwyfir yr awrhon i ni sydd Griftianogion ddial anfuddiol, etto yn ddiammeu rhan pób dyn ar a wnaeth y Cam hwn yw gwneuthur *iawn* am dano ef hyd yr eithaf o'i allu; gŵir yw, nid all ef atgyweirio aelod trachefn (yr hyn a ddyle wneuthur rhai yn ofalus iawn pa fódd y gwnánt y drŵg hwn yr hwn fydd mor ammhoffibl ei ddiwygio) ond etto fe áll wneuthur bodlonrhwydd am rai o ddrŵg-ffrwythau'r golled honno: os dygodd hynny'r dŷn i brinder ac eifieu, rhaid iddo ef,

os

Dos. 10 os bydd gantho'r gallu lleiaf, ei gynnal a'i gynnorthwyo ef, ié, er i hynny fód trwy ei chwys a'i Lafur dirfawr ei hûn: oblegid os Dlêd yw hi ar bawb o hononi fód yn llygaid i'r deillion, ac yn draed i'r cloffion, fal y dywed *Jób*, mwy o lawer y bydd yn rhaid i ni fód felly i'r rhai a wnaethon ni ein hunain yn ddall ac yn gloff. Pwy bynnag gan hynny a wnaeth y cam hwn i rûn o'i frodyr tlodion, gwybydded ei fód ef yn rhwymedig i'w ddiwygio ef hyd yr eithaf o'i allu; yr hyn os efe nis gwná, fe gyfyd pób rhyw neillduol adfyd a ddychwel i'r dŷn truan o herwydd ei angen, yn achwyn ac yn gyhuddiad newydd yn ei erbyn ger bron gorsedd-faingc y *Barnwr cyfiawn*.

Archollion a chernodiau yn Gamweddau hefyd.

21. Y mae etto raddau eraill o gam i Gorph ein Cymydog, ni thraetha'i ond yn unic am ddau anghwaneg, sef, *Archollion* a *Chernodiau*; fe a ddichon dŷn *archolli* ún arall, yr hyn er na bo fo yn achos o golli na bywyd nag aelod, etto a berygla bób ûn; a'r ûn péth a ellir ei ddywedyd am *Gernodiau*; y mae pób ún o'r rhain yn boenus yn y cyfamser, ié ac ysgatfydd tros hîr o amser, a phoen sydd i'w gyfrif yn fwyaf o'r holl ddrygau amserol, oblegid nid yw ef yn unig yn ddrŵg yntho 'i hún, eithr yn gyfryw ún ac a'n rhwystra ni, tra 'i bo fo arnoni, fwynhau unrhyw ddaioni arall; gan na ddichon dŷn mewn poen archwaethu'r ûn or pleserau mwyaf: Os bydd i néb ddirmygu' rhain megys camweddau gwael, gofynned trachefn iddo ei hûn pa fódd y bodlonei ef gael archolli neu yssigo ei Gorph ei hûn, a'i roddi tan y moddion poenus hynny o feddiginiaeth y rhai gan mwyaf sydd angenrheidiol

rheidiol yn y cyflwr hwnnw? Yr wyf'n meddwl nad oes ûn dyn a ddioddefai hyn o'i wirfodd gan ún arall, a pha ham gan hynny y cynnygi di hynny iddo ef? Sul. 10

22. Y gwirionedd yw, y mae'r creulondeb ryfeddol hwn tu ag at eraill yn tarddu allan o *Falchder* tra-mawr, ac *Uchder* calon; yr ydyn ni yn edrych a'r fath ddiystyrwch ar eraill, ac nad ydyni yn tybied fód fatter yn y byd pa béth a wneir iddynt; yr ym ni yn meddwl fód yn rhaid iddinhw ddioddef *dyrnodiau* gennini, pan foni yn y cyfamser mor dynner o honom ein hunain, nad allwn ni wrando ar y gair lleiaf o ammarch, heb ennynnu o Ddigofaint. Y mae'r Annogaethau i'r trawsni ymma gan mwyaf mor wael, ac oni bae fód y *Balchder* ymma o'n mewn yn trefnu y cyfryw ŵyn lidiog ynom ni, a bód pób péth yn ein creuloni ni, ammhossibl a fydde iddynt ein cyffroi ni. Ié, y mae rhai gwedi dyfod i fynu i'r fath *drythyllwch* o *greulondeb* ac y medranhw heb ymherriad yn y bŷd, mewn gwaed oer, fal y dywedanhw, wneuthur Cam a'i brodyr tlodion, a gwneuthur penydio eraill yn rhan o'i diludded a'i difyrrwch. Fal hyn y bŷdd rhai Gorthrymmwŷr trahaus yn ymhyfrydu yn penydio eraill a fo tan ei llywodraeth nhw, yn gymmaint a bod yn llawen ganddynt gael rhyw escus i boeni eraill, ac yna nhw a wnán hynny yn annhrugarog iawn; ac eraill, a osodant ddynion i ymrafaelio, yn unig er mwyn Cael digrifwch yn gweled yr ymryson; fal yr hên *Rufeiniaid*, ûn o *chwaryddion* cyhoeddus pa rai oedd, edrych ar y *naill* ddyn yn lládd y *llall*; ac yn wîr y mae gennini

Dos. 10 gennini cyn lleied o Gristianogrwydd ac hwythau, os medrwn ni edrych yn ddifyr ar y cyfryw bethau.

23. Y mae'r *gwylltineb* a'r *creulondeb* meddwl hwn mor anghymwys i natur dŷn, ac na chynnhwysir iddo ei arferu ef tu ag ei *anifail*; mor echryslon gan hynny yw iddo ei arferu ef tu ag at rai o'rûn natur ac ef ei hûn, a phéth sydd fwy, a'r rhai sydd etifeddion o'r ûn gobaith tragywyddol gydá ni? Y mae y rhai a drosseddant fal hyn yn erbyn ei Cymydogion yn yr ûn o'r ffyrdd neillduol hyn, neu mewn dim arall ar a fo yn niweidiol i'r Corph, yn ddynion anghyfiawn, heb ganddynt y fáth issaf ymma o Gyfiawnder tu ag at ei Cymydogion, sef yr hyn a berthyn i'w *Cyrph* hwynt.

24. Ac ni all néb ei escusodi ei hûn gan ddywedyd nad yw'r péth a wnaeth ef ond troi'n ól rhyw *Gam* a gynnygwyd iddo ef gan ûn arall, oblegid bwriedwch iddo dderbyn rhyw niwed mawr, etto ni ddichon efe fód yn ddialwr iddo ei hûn, heb wneuthur cam ar dyn hwnnw, yr hwn nid yw yn gaethwâs iddo ef, i wneuthur a fynno ac ef, trwy fôd yn elyn iddo; nid oes iti ddim anghwaneg o achos i *arglwyddiaethu* arno ef, oblegid iddo ef wneuthur Cam a thydi, ac am hynny nid wyti yn unig yn anghariadus (yr hwn sydd o hono'i hûn yn ddigon o Bechod i'th ddamnio di) eithr hefyd yn *anghyfiawn* ymmhób rhyw weithred o *Sarháad* a wnelych di iddo ef. Ié, y mae'r anghyfiawnder hwn yn escyn yn uwch, séf at *Dduw* ei hún, yr hwn a gadwodd *ddial*,

megys

megys péth a berthyn yn briodol iddo 'i hûn, *i* Sul. 10.
*mi y mae Dial, mi a'i talaf médd yr Arglwydd,
Rhuf*, 12. 19. Ac yna pa béth a wná 'r hwn a
*ymddiala* trosto'i hûn ond dynessu yn rhy agos
at *briodoraeth* neillduol Duw ei hûn, a chippio'r
cleddyf megys o'i law ef, fal pe gŵydde ef pa
fódd i'w reoli ef yn well? yr hyn sydd o'r un-
waith yn Yspeiliad ac yn ddirmyg o'r Duwiol
Fawrhydi.

---

---

DOS-

# DOSPARTHIAD, XI.

*Am Gyfiawnder ynghylch Meddiannau ein Cymydog, yn erbyn gwneuthur Cam ag ef ynghylch ei wraig, ei olud. Am Orthrymder, Lledrad: Am dalu Dyledion,* &c.

Llan^ts 10 8^br. 703.

Ei Feddiannau. Expl. 10. Comandm^t. Exod. 20. 17. Lanina. 4 Aug. 1706

1. Y *Trydydd* Ran o'r Cyfiawnder ymma o *Ommeddiad* yw ynghylch *Meddiannau* ein cymydogion; nid alla'i eglurhau yn well pa béth yr wyfi'n ei feddwl wrth *Feddiannau*, na'ch gyrru chwi at y *Ddegfed Gorchymyn*, diben pa ûn y'w i ffrwyno pób chwantau a deisyfiadau cybyddaidd tu ag at *Feddiannau* ein Cymydog. Ni a welwn yno bennodi nid yn unig ei Dŷ ef a'i wasanaethwŷr a'i anifeiliaid, y rhai a all bassio i gyd tan yr ún Enw cyffredinol hwnnw o'i Dda neu'i olud, ond yn bendant ei *Wraig* ef, megys rhan enwedigol o'i *Feddiannau* ef, ac am hynny pan Ystyrion ni'r Ddled-swydd hon o Gyfiawnder a berthyn i *Feddiannau* ein Cymydog, rhaid i ni gyfaddasu hynny yn gystal at ei *Wraig* ef, ac at ei *Ddá* bydol eraill ef.

Ei wraig. 2. Y mae'r briodoraeth enwedigol sydd gan bób gŵr yn ei *Wraig*, mor hyspus na sydde ond ofer i mi ddywedyd dim i brofi hynny; y mae'n eglur fód pawb yn y bŷd yn ei deall hi yn dda, wrth

wrth yr annoddefgarwch mawr o'r anfod- Sul. 11.
lonrhwydd sydd gan bób gŵr priod wrth weled néb yn gosod ar ei briodoraeth hwn, ac hynny ni ddichon néb ar sydd yn gwneuthur y Cam hwn i ún arall fod heb wybod mor fawr yw ef; fe gydnabyddir gan bawb fod halogi gwraig gŵr, trwy ei hudo hi i wely dieithr, yn táth waethaf o Ledrad, yn anfeidrol tu hwynt i hwnnw o'r Dâ.

3. Yn wîr y mae yn yr ûn hwn bentwrr o *gamweddau* dirfawr ynghyd; rhai tu ag at y *Wraig*, a rhai tu ag at y *gwr*: tu ag at y *Wraig* y mae y rhai mwyaf a all fód, sef Camweddau yn erbyn ei *Henaid* hi, y rhai, fal y dywedais i o'r blaen, sydd tu hwynt i bób rhai eraill, y mae hynny yn ei dinoethi hi o'i diniweidrwydd, ac yn ei gosod hi ar gwrs o ddrygioni tra-echryslon (nid dim llai na *thrachwant* ac *anudonedd*) oddiwrth bá rai y mae yn debyg na ddychwel hi bŷth, ac yna y maent yn ei damnio hi yn dragywydd. Yn nessaf y mae hyn o herwydd y bŷd hwn yn dwyn ymmaith ei *henw da* hi, gan ei gwneuthur hi yn ffiaidd ac yn ddirmygedig, a'i henw hi yn wradwydd ymysg pób rhyw ddynion; ac heb law hynny, y mae hyn yn ei hyspeilio hi o'r holl hyfrydwch trwy ei bywyd, yr hyn sydd yn tarddu allan o'r addfwynder a'r Caredigrwydd yr hwn sydd rhwng *gwr* a *gwraig*, ac yn lle hynny yn peri i'r naill ffieiddio a chasau'r llall, yr hyn a wná lawer iawn o ddrŵg, rhy ormod i'w hadrodd ymma, ymmhób ún o ba rai y mae i'r gŵr ei gyfran hefyd.

4. Ond

Dos. 11 4. Ond heb law y rhai hynny, y mae hyn yn gam mawr iddo yntau; oblegid yn gyntaf, y mae hyn yn tynnu oddiwrtho yr hyn y mae ef yn ei gyfrif yn werthfawroccaf péth yn y bŷd, sef Cariad a ffyddlodneb ei wraig, ar péth hefyd yn yr hwn y mae iddo ef y cyfryw anghyfrannol hawl, ac nas gall ef ei hun, os mynnei, ei rhoddi hi fynu i ûn arall; ac am hynny yn ddiammeu nid ellir heb yr anghyfiawnder eithaf ei dwyn hi oddiarno ef. Ac nid hynny yw 'r cwbl ychwaith, ond y mae hyn ymmhellach yn ei lenwi ef (os daw efe fŷth i ddirnad hynny) o'r wŷn dra-phoenus honno ô *eiddigedd*, yr hon o'r holl wyniau sydd yn anhawsach ei goddef, a'r hon sydd yn fynych yn gosod dynion ar bethau tanbaid a ffromwyllt, oblegid fal y dywed *Solomon*, *Cynddaredd gwr yw efe*, Dihar. 6. 34. Y mae hyn ymmhellach yn dwyn arno ef yr holl *ddirmyg* a'r *gwradwydd* hwnnw yr hwn trwy anghyfiawn fesurau 'r bŷd sydd arferol o syrthio ar y rhai a drythyllir fal hyn, yr hyn y mae llawer yn ei gyfrif yn rhan fwyaf o'r Cam; ac er mae gwîr yw, mae anghyfiawn iawn yw iddo ef ddioddef gwradwydd, yn yn unig am iddo ef dderbyn Cam, etto oddigaeth ail-gyweirio 'r bŷd, fe fydd hynny yn bod, ac am hynny y mae hyn yn anghwanegu 'r Cam yn ddirfawr. Trathefn, fe a ddichon hyn fód yn yspeiliad, oblegid ysgatfydd fe all hynny ddychwelyd i fód yn gwthio i mewn *Blentyn y Godineb* i'w deulu ef, i gyfrannu ac ymborth a chyfran ei blant ei hûn, ac y mae hyn yn Ledrad cyhoeddus: yn gyntaf, os edrychwn ni ar y gŵr, yr hwn nid yw yn ddiammeu yn bwriadu llafurio am gynhaliaeth i blentyn

tyn gŵr arall; a thrachefn y mae hynny yn lledrad os edrychwn ar ei blant ef, y rhai sydd yn cael ei twyllo o gymmaint ac y mae hwnnw yn ei gael oddiwrthynt. Ac am hynny pwy bynnag a wir edifarháo am y pechod hwn, os gwná ef hynny yn effeithiol, rhaid iddo dalu yn ól i'r teulu cymmaint ac a ddarfu iddo trwy 'r moddion ei hyspeilio hwynt o hono. Sul. 11.

5. Y mae 'rhain i gŷd gwedi ei gosod yn yr ûn lle yn gwneuthur hyn yn fwyaf camwedd a ellir ei wneuthur i ddŷn; a'r péth sydd etto yn ei wneuthur ef yn fwy o lawer yw ei fod ef yn gyfryw ac nad ellir mo 'i ddiwygio; oblegid, oddiethr mewn ûn péth y traethais i am dano, nid oes ûn rhan o'r pechod hwn y gellir ei ddiwygio; i'r pwrpas hwn y mae i ni i'w ystyried yn y *Gyfraith Iddewaidd* y gorchymynnir i'r Lleidr *dalu yn ól ar ei bedwerydd*, a bód hynny yn ei ryddhau ef; ond rhaid oedd i'r Godineb-ŵr, gan nad oedd bossibl iddo ef wneuthur atgyweiriad ac iawn, *roddi ei Einioes ar lawr* am ei Gamwedd, *Levit*. 20. 10. Ac er bôd Godineb-wŷr yn llwyddo yn well yn y dyddiau ymma, ac yn byw llawer o ddyddiau i adnewyddu ei heuogrwydd, ac ysgatfydd i chwerthin am ben y rhai y maent yn gwneuthur camfil hyn yn ei herbyn, etto gwybyddan yn sicr, y bydd rhaid iddynt roddi cyfrif tôst am hyn, ryw ddŷdd, a hynny pa ûn bynnag a wnánt a'i edifarhau a'i peidio; os deuan hw trwy Râs Duw i edifeirwch, nhw a ganfyddant nad yw hwn bechod rhâd; rhaid yw iddo gostio iddynt llawer o gythrwblaeth enaid, llawer o gyfyng-

Dos. 11 der ac ing Cydwybod, llawer o riddfannau a dagrau; ac yn wîr pe bae ddŷn yn treulio hóll ddyddiau ei fywyd yn y cyfryw weithredoedd o edifeirwch, fe fydde 'r cwbl yn ddigon bychan i ddileu euogrwydd ûn weithred neillduol o'r fáth ymma; pa ryw ofidiau llifeiriol gan hynny sydd angenrheidiol i'r rhai sydd yn gwneuthur y fáth fasiandiáeth o'r pechod hŵn ac y mae rhy ormod o ddynion yn ei wneuthur? Ya ddiammeu y mae ef yn orchwyl cymmaint, a bód yn dra-angenrheidiol i'r néb y mae ef yn perthyn, ymosod atto allan o law, rhag bód arnynt eisieu amser i fyned trwyddo ef; oblegid na thwylled néb mono 'i hûn gan dybied y gellir golchi ymmaith ymarfer a chynnefindra o'r pechod hwn ac ûn weithred neillduol o edifeirwch; nag ellir ddim ond rhaid i'r edifeirwch fód yn gyfattebol i'r bai; a fal y bu'r naill yn hir-ymarfer a chynnefindra, felly 'bydd raid i'r llall fód. Ac yna pa ryw wall-góf ryfeddol yw i ddynion redeg i'r pechod hwn (a'i gynllwyn ef mor boenus ac y mae llawer yn gwneuthur) yr hwn a ŵyr efe y bydd rhaid iddo dalu mor ddrûd am dano, er dysod o'r péth ir goreu, hynny yw, er bwriadu iddo ef edifarhâu, yn ddruttach o aneirif; séf, y mae yn colli iddo ef ei holl hawl i'r Nêf, y lle hwnnw o burdeb, ac yn rhoddi iddo 'i gyfran yn y pydew tanllyd, lle y dibenna poethni ei drachwant ef yn y llosgfeydd tragywyddol hyńny: Canys er darfod iddo ef wneuthur y pechod hwn mor ddirgel ac y dichon ef ddywedyd gyda 'r Godineb-ŵr *Jôb*, 24. 15. *Nid oes ûn llygad yn fyngweled i*, etto yn sicer nid alle fo yn ei ddirgelwch mwyaf ei gyscodi ei hûn rhag

golwg

golwg Dyw, gyda pha ûn nid yw *tywyllwch* yn dywyllwch, Psal. 139. 12. Ac efe yw 'r hwn a fygythiodd yn bennodol farnu 'r fáth ymma ar droſſedd-wŷr, *Heb.* 13. 4. *Godineb-wyr Duw a farna.* Duw a ganniadháo i bawb a'r sydd yn byw yn y pechod ffiaidd hwn, ei barnu ei hunain yn hollawl mewn prŷd, fal y gallont ochelyd y Farnedigaeth erwin echryſlon honno gan Dduw. Sul. 11.

6. Yr *ail* péth at ba ûn y mae 'r Cyfiawnder hwn tu ag at *Feddiannau* ein Cymydog yn cyrrhaeddyd yw ei *Ddâ* ef, tan ba air cyffredinol y cynnhwysir ei Dŷ ef, a'i Dîr, a'i Anifeiliaid, a'i Arian, a'r cyffelyb, ymmha rai y mae gantho iawn a phriodoldeb; rhaid i ni trwy Reol y Cyfiawnder hun oddef iddo fwynhau y rhain heb geisio na'i *golledi* ef yn yr ûn o honynt, na'i *ceisio* nhw ychwaith *i ni ein hunain*: Yr wyfi 'n gwneuthur rhagoriaeth rhwng y ddau hyn, oblegid fe a ddichon fód dau achos neu annogaeth o'r pechod hwn; ûn, malis, a'r llall, Cybydd-dod. Ei Ddâ.

7. Y mae 'r dŷn maleisus yn chwennych gwneuthur drŵg i'w Gymydog, er na ennill ef ei hûn ddim wrth hynny; fe a welir yn gyffredinol fód dynion yn arteithio ac yn difrodi Dá ûn y bo ganddynt genfigen iddo, er nad ydynt yn bwriadu ennill dim iddynt ei hunain wrth hynny, ónd y pleser o wneuthur twrn drŵg i'r llall: y mae hyn yn feddylfryd cythreulig, yn union yn gyfattebol i'r eiddo diafol, yr hwn sydd yn rhoddi ei hóll boen a'i ddiwydrwydd, nid i ddwyn dim daioni i mewn iddo 'i hûn, ond yn unig i ddinſtrio ac i ddi- Anghyfiawnder maleisus.

Dos. 11 fetha rhai eraill : a chwi a ellwch weled mor wrthwynebus yw hyn i bob rheol Cyfiawnder, wrth y Gorchymyn a roddes Duw i'r *Iddewon* ynghylch dá gelyn ; lle yr oeddynt cymmhelled oddiwrth gael rhydd-dyd i'w anrheithio a'i dinistrio hwynt, a'i bód nhw yn enwedigol yn rhwymedig i ragflaenu hynny, *Exod*, 23. 4. 5. *Os cyfarfyddi ag Eidion dy elyn, neu a'i Assyn yn myned ar gyfrgoll, dychwel ef adref iddo: Os gweli Assyn yr hwn a'th gasfháa di yn gorwedd dan ei phwnn: paid a gadel iddi, gan gynnorthwyo cynnorthwya gydag ef.* Lle y gwelwch chwi ei bód hi yn ddylêd arnoni, ié, i'n gelynion, ragattal y niwed a'r golled honno, yr hon trwy unrhyw ddamwain y mae efe mewn perigl o honi: a hynny hefyd trwy béth llafur a phoen arnom ein hunain. Pa anghyfiawnder echryslon gan hynny yw i ni ddwyn yn bwrpasol y golled a'r niwed hwnnw arno ef ? Pwy bynnag sydd yn euog o hyn, na escusoded mono 'i hûn gan ddywedyd na ddarfu iddo fo mo 'i gyfoethogi ei hûn wrth anrhaith ei Gymydog, na lynodd dim o hono ef wrth ei fysedd ef, oblegid yn ddiammeu nid yw 'r *anghyfiawnder maleisus* hwn yn ddim llai bai na 'r ún *Cybyddaidd* ; ié, yr wyfi 'n meddwl ei fód ef yn fwy os edrychwn ni ar yr achos ar gwreiddyn o ba ûn y mae efe yn tarddu , gan fôd y Casineb hwn i ún arall, yn waeth na 'n gormod Cariad i ni ein hunain ; y mae 'r hwn a ddrygodd ei Gymydog fal hyn yn rhwymedig i ddiwygio 'r Cam , ac i wneuthur jawn am y golled , a phe buasei fo gwedi ei gyfoethogi ei hún wrth hynny.

8. Ond

8. Ond o'r tu arall, na farned y *twyllwr Cybyddaidd* oblegid hynny ei bechod yn fychan, o herwydd bôd ûn arall mewn ûn môdd yn fwy nag ef; oblegid ysgatfydd mewn rhyw foddion eraill fe ddichon eiddo yntau droi 'r clorian; y mae ef yn ddiammeu yn hyn, séf o ran bód yr hwn sydd anghyfiawn o chwant elw, yn debyccach i amlhau 'r unrhyw Bechod trosto drachefn, na 'r hwn sydd felly allan o Falis; oblegid ammhossibl yw i ûn dŷn gael cynnifer o wrthrychiau o'i Falis, ac a ddichon ef ei gael o'i Gybydd-dod; nid oes néb mor llwyr-atgas gantho hóll ddynol ryw a chasau pôb dŷn; ond y mae gan y Cybydd gynnifer o o wrthrychiau o'i bechod, ac sydd o bethau yn y bŷd y mae efe yn ei gyfrif a dâl ddim. Ond ni safa 'i ddim hwy ar y gyffelybiaeth hon, y mae pòb ûn o'r ddau yn ddiammeu yn bechod dirfawr, ac y mae hynny yn ddigon o achos i gasau pôb ûn o honynt: Ni a ddescynnwn yn awr at yr awryw rannau o *Anghyfiawnder Cybydddaidd*; gwîr yw y gallanhw i gyd fyned tan yr enw o Ledrad neu Yspeiliad, oblegid y maent i gyd mewn effaith, etto er mwyn hyfforddrwydd ni a'i rhannwn nhw i'r tri hyn; séf, *Gorthrech*, *Lledrad*, a *Thwyll*. Sul. 11. Anghyfiawnder Cybyddaidd.

1. S. Joan. 5. 17. Pob anghyfiawnder pechod yw.

9. Trwy *Orthrech* yr wyfi 'n meddwl y *Lledrad cyhoeddus* hwnnw o syrthio ar Feddiannau rhai eraill, a pherchennogi ac ymddiffyn hynny. Ac i wneuthur hyn y mae amryw foddion ac offerau, megys, yn gyntaf, *Gallu*, trwy ba ûn y trowyd amryw Genhedloedd a Brenhinoedd allan o'i Cyfiawnder, a llawer o ddynion eraill allan o'i meddiannau: weithiau drachefn, Gorthrech. Lau. 13. 706.

Pos. 11 fe a wneir Defnydd o'r *Gyfraith* i'r diben hwn; y mae 'r hwn a chwennych dîr neu Ddá ei gymydog yn haeru hawl ynddynt, ac yna naillai trwy lygru Cyfiawnder a *Gwobrau* a *Rhoddion*, neu trwy ei gorchfygu hi a'i fawredd a'i Awdurdod, y mae efe yn cael y farn o'i dû ef, y mae hyn Orthrymder mawr, ac o'r fáth waethaf, gwneuthur ŷ Gyfraith, yr hon a amcanwyd yn noddfa ac ymddiffynfa i ddynion am ei hawl, i fod yn foddion o orchfygu Cyfiawnder: ac y mae hyn yn euogrwydd trachryslon, yn gystal ar yr hwn a geisiodd, a'r hwn a draethodd y cyfryw farn, ié, ac ar y Cyfreith-ŵr yr hwn a ddadleuodd tros y Cyfryw achos, oblegid trwy wneuthur hynny, y mae efe yn cynnorthwyo 'r gorthrymder; weithiau trachefn, y mae angen y Gorthrymmedig yn foddion ac yn achos o'i Orthrymder, felly y mae mewn Usuriaeth a Thraïs: y mae dŷn mewn caledi dirfawr am arian, ac y mae hynny yn rhoi achlysur ir Gorthrymmwr i wasgu yn anghydwybodus arno ef, yr hyn sydd rhaid i'r dŷn tlawd gyd-ddwyn ac ef er mwyn cyflawni ei angen presennol. Ac fal hyn hefyd y mae yn fynych gydá meistred tîr cribddeiliaidd, y rhai, pan na ŵyr ei tenantiaid tlodion pa fôdd i gael lle mewn mann arall, a'i gwasga nhw ac a fynn ganddynt fwy nag a dál y péth. Nid yw y rhain óll ac amryw foddion eraill o'r cyffelyb ond amryw ffyrdd o weithredu 'r ûn pechod hwn o *Ortrech*, yr hwn sydd etto yn fwy o lawer po digynnorthwyaf a fo'r Gorthrymmedig, am hynny y mae 'r scrythur yn rhoi ar lawr Orthrymder y weddw a'r ymddifaid megys y rádd eithaf o'r pechod hwn.

10. Y

10. Y mae hwn yn wîr yn bechod gresyn-nol iawn, yn erbyn pa ûn y bygythiodd Duw *Ddial* tôst, mewn amryw fannau or Scrythur: megys, *Ezec-* 18-12, 13. Yr hwn a orthrymma 'r anghenus a'r tlawd, ac a dreisia drais gan farw efe a sydd farw, ei waed a sydd arno 'i hûn; ac y mae efe 'n addrodd y 'rûn péth trachefn, gwer 18. Yn wîr y mae Duw gwedi cymmeryd arno mor bennodol ymddiffyn y tlawd a'r anghenus, a'i fôd yn rhwym megys mewn Anrhydedd i ddial ei Cam hwynt, ac yn gyfattebol i hyn, ni a welwn Dduw, *Psa.* 12. yn dadcan yn gyhoeddus ei feddwl a'i fwriad i ymddangos trostynt, gwer. 5. *O herwydd anrhaith y Cystuddiedig ac o herwydd uchenaid y tlodion y cyfodaf yn awr, médd yr Arglwydd, ac a'i rhoddaf ef mewn* Iechydwriaeth. Y mae cyngor *Solomon* gan hynny yn rhagorol, *Dihar.* 22. 22, 23. *Nac yspeilia mo'r tlawd o herwydd ei fód yn dlawd: ac na sathr yr anghenus mewn barn: canys yr Arglwydd a ddadleua drostynt ac a orthrymma enaid y nêb o'i gorthrymmo hwynt*; nid ydynhw debyg o'r diwedd i gael ond ychydig lawenydd oddiwrth yr elw a gánt trwy Orthrech, gan fôd hynny yn troi Duw i fôd ynelyn iddynt. Sul. 11.

Tipl. Rom. 13. 8.

11. Yr *ail* fáth o'r anghyfiawnder hwn yw *Lledrad*, ac y mae o hwnnw drachefn ddau fath ûn yw, Attal y péth a ddyleni dalu, a'r llall yw Dwyn oddiar ein Cymydog y péth sydd yn barod yn ei Feddiant ef. Lledrad.

Llanth. 17. 8br. 703
Llanina 6. 8br. 706.

12. Or fáth *gyntaf* yw bôd heb dalu *dyledion*, pa ún bynnag ai 'r cyfryw bethau ac a fenthygasom ni, ynteu 'r pethau sydd yn ddledus arnoni,



Rom. 13. 8. Na fyddwch yn nled' nib o ddim, ond o garu bawb ai gilydd

Pos. XI trwy ein haddewid ewyllysgar, oblegid y mae pob ún, o honynt yn ddledus i'r hwn a allo roddi y rûn o'r holion hyn iddynt ; ac am hynny Lledrad yw attal y rûn o honynt oddiwrthynt hwy ; sef, Cadw oddiwrth dy Gymydog ei eiddo 'i hún, etto 'r cyntaf yw 'r mwyaf camweddus o'r ddau oblegid yr wyfi felly yn cymmeryd oddiarno ef yr hyn oedd unwaith ganddo ef yn ei feddiant ( bid Arian neu ryw béth arall ) ac felly yn ei wneuthur ef yn waeth nag y cefais i ef. Y mae hwn yn anghyfiawnder tra-mawr, a chyffredinol iawn ; y mae dynion yn y dyddiau ymma mor hŷf yn neccau rhai a ofynno ei *beiddo 'i hûn* , *ac ún a ofynno elusen*; ié, y mae yn achos o gweryl yn fynych i ddŷn ofyn ei eiddo 'i hún ; heb law 'r amryw wasanaethgarwch y bydd raid i'r coeliwr ei wneuyn cynllwyn am danynt, ac ; y mae hynny yn anghwanegu 'r camwedd, trwy ei fód ef yn treulio 'i amser, ac yn cael ei gymmeryd ymmaith oddiwrth ei negesau eraill, ac felly y mae efe yn golledwr y ffordd honno hefyd. Y mae hyn yn anghyfiawnder cymmaint, ac na wela 'i pa fódd y dichon dŷn edrych ar ddim ar sydd yn ei feddiant ef megys ei eiddo 'i hûn, tra y bo fo fal hyn yn neccau i ûn arall ei eiddo. Dledswydd pób dŷn mewn *dylêd* yw, yn hyttrach ei ddinoethi ei hún o'r cwbl, a'i daflu ei hûn drachefn yn noethlwm ar Ragluniaeth Duw, na llenwi ei nŷth fal hyn ag yspail ei gymydogion. Ac yn ddiammeu fe brifiai hynny yn ffordd ddedwyddach, nid yn unig o herwydd y fendith honno sydd yn dilyn Cyfiawnder, wrth ei chyffelybu i'r felldith sydd yn dilyn y gwrthwyneb, eithr hefyd mewn synwyr bydol, oblegid pwy

bynnag

bynnag sydd yn rhoi heibio talu Dyledion a gymmhellir i hynny o'r diwedd trwy Gyfraith, a hynny ar ammodau gwaeth o lawer nag y gallasei fo yn ewyllysgar, sef trwy twy o gôst, a thrwy golli ei enw dâ hefyd cymmhelled ac nas gŵyr ef ar ól hynny pa le i fenthycca pan fo arno fwyaf angen. Ond y ffordd ddiogelaf i ddŷn i'w siccrhau ei hun oddiwrth euogrwydd yr anghyfiawnder hwn,ydyw gochelyd benthycca ûn amser ddim mwy nag a ŵyr ef pa fôdd i dalu yn ôl, oddigaeth gan ún a wŷr ei brinder ef, ac a fydd bodlon i fód yn y perygl. Onid-ë y mae fe 'n euog o'r pechod hwn y prŷd y bo fo yn benthycca ; oblegid y mae fo 'n cymmeryd y péth hynny gan ei Gymydog ar ei addewid o'i dalu fo 'n ôl, pan ŵyr ef nad ydyw ef yn debyg byth i'w dalu fo adref, yr hyn sydd Ledrad cyhoedd. Sul. 11.

13. Yr unrhyw Gyfiawnder ac sydd yn rhwymo dynion i dalu ei *Dyledion* ei hunain,sydd hefyd yn rhwymo pôb *Meichiau* i dalu Dyledion rhai eraill, am ba rai y mae efe 'n *rhwym* os y pen-dyledwr ni bydd nag yn abl,nag yn fodlon: oblegid trwy ymfeichnío fe 'i gwnaeth ef yn ddyled iddo 'i hûn, ac mae'n rhaid iddo mewn pób cyfiawnder atteb am dano ef i'r coeliwr, yr hwn, fe ellir tybied a ddenwyd i roddi benthyg a'r hyder: ei siccrwydd ef, ac am hynny a dwyllir yn hollawl ac a fradychir gantho ef, oddigaeth iddo ef weled ei fodloni ef. Or tybiir fôd hynny yn galed, i ddŷn dalu am y péth ni dderbynniodd ef ddim bûdd oddiwrtho, mi a ganhiadaf hynny cymmhelled ac i roddi achos cyfiawn i bôb dyn i ymogelyd pa fódd yr ymrwyma

Dos. 11 rwyma fo tros arall; ond ni dichon hynny byth fód yn escus i dorri y rhwymedigaethau hynny gwedi ei gwneuthur.

14. Am y fáth arall o *Ddyled*, yr hyn a ddŵg dyn arno ei hûn trwy *addewid ewyllysgar*, nid ellir attal mo hynny ychwaith heb drawsder mawr: oblegid y mae hynny bellach yn eiddo 'r dŷn hwnnw i'r hwn y gwnaethpwyd yr addewid, ac yna nid oes fatter pa fôdd y daeth ef felly. Am hynny ni a welwn *Ddafydd* yn gwneuthur hyn yn rhan o Bortreiad gŵr cyfiawn, *Psal*. 15. 4. *Ei fod ef yn cadw ei Addewidion er iddynt fód i'w niwed ei hûn*; ac yn ddiammeu y mae efe yn anghymwys iawn i escyn i *fynydd Duw* y sonir yno am dano, naill ai fal y mae efe yn arwyddoccau yr *Eglwys* ymma, ynteu 'r Nêf ar ól hyn, yr hwn nid yw yn cadw yn gydwybodus y rhan ymma o Gyfiawnder. Gyda 'r fáth yma o Ddyled y gellir cynnhwyso cyflogau y Gwasanaeth-ŵr a'r Llafur-ŵr, cam-attal pa rai sydd bechod dirfawr, ac y mae cwynfau ý rhai a Orthrymmir felly yn derchafu i fynu at Dduw. *Wele* (medd St *Jaco*) *y mae cyflog y gweith-wyr y rhai a fedasant eich meusydd* (*yr hwn a attaliasoch trwy dwyll*) *yn llefain: a llêf y rhai a fedasant a ddaeth i glistiau Arglwydd y lluoedd*, Jac. 5. 4. Ac y mae Gorchymyn caeth am hyn, *Deut*. 24. 14, 15. *Na orthrymma wenidog tlawd ac anghenus; yn ei ddydd y rhoddi iddo ei gyflog, ac na fachluded yr haul arno: canys tlawd yw, ac ar hyn y mae yn cynnal ei enioes, fel na lefo ar yr Arglwydd yn dy erbyn a bód pechod ynot*. Dymma ûn o'r pechodau

chodau uchel hynny, y rhai ni pheidiant a chróch-lefain, nes iddynt ddwyn i lawr ddial Duw; ac am hynny er nad oes genniti ddim Cyfiawnder tu ac at dy frawd tlawd, etto bydded o'r lleiaf genniti gymmaint o Drugaredd i ti dy hûn, ac na thynnoch di i lawr farnedigaethau ar dy wartha trwy wneuthur y cyfryw gam a'r anghenus. Sul. 11.

---

DOS-

---

# DOSPARTHIAD. XII.

*Am Ledrad; am Dwyll mewn ymddiried, mewn marsiandiaeth; am Atgyweiriad,* &c.

Lledratta Dâ ein Cymydog

1. YR *Ail* Rhan o *Ledrad* yw dwyn oddiar ein Cymydog y péth sydd yn barod yn ei feddiant ef; a hyn a ellir ei wneuthur naill a'i yn fwy angerddol ac yn gyhoeddus, neu ynteu yn ddirgel ac yn gyfrwys; y môdd cyntaf yw arfer y rhai a fo yn *lledratta* ar y ffordd fawr, neu yn *Yspeilio* tai, lle y maent yn dwyn ymmaith Ddâ dŷn trwy drais; y llall yw arfer y *lleidryn ysgafnllaw*, yr hwn a ddŵg ymmaith Ddâ dŷn heb wybod iddo ef; ni ymddadleua'i ddim pa ûn o'r rhain sydd waethaf, dygon yw fód pób ûn o honynt yn gyfryw weithredoedd o anghyfiawnder ac a wná dynion yn atgás gan Dduw, yn anghymwys i gymdeithas ddynol ac yn bradychu y gwneuthur-wŷr i'r drŵg mwyaf yn y bŷd hwn, gan fód y Gyfraith gwedi ordeinio marwolaeth yn wobr am y pechod hwn; ac nid oes nemmawr ar sydd yn dilyn y cwrs ymma yn hîr, nad ydynt o'r diwedd yn cyfarfod ar gwobr hwn. Yn ddiammeu Ynfydrwydd yw i ddŷn gredu y gall efe Ledratta yn wastad yn ddiogel, oblegid y mae efo i ymdrechu a diwydrwydd y rhai oll a dderbyniant y Cam hwn gantho ef, colled pa rai a'i hannoga nhw

nhw yn gyflym i'w chwilio ef allan, a phéth Sul. 12.
sydd yn fwy o anfeidrol, rhaid iddo ef ymorchestu a Chyfiawnder Duw, yr hwn sydd arferol o gynllwyn y cyfryw rai i ddinistr, ié, yn y bŷd hwn; fal y mae'n eglur wrth yr amryw ddadguddiadau rhyfeddol a wnaethpwyd o'r Lladron cyfrwysaf. Ond pa ún bynnag os diangc ef rhag Dial ymma, yn ddiammeu nid oes dim ond edifeirwch ac adnewyddiad buchedd a ddichon ei siccrhau ef rhag dial am dano ef ar ôl hyn. Ac yr awrhon gwedi Ystyried y peryglon hyn y mae'n eglur sód y lleidr yn gwneuthur bargen resynol, y mae efe yn lledratta arian ei gymydog, neu ei anifeiliaid, ac yn gyfnewid am danynt y mae efe yn talu ei hoedl, neu ei Enaid, ysgatfydd pób ûn o'r ddau; ac os yw'r *holl fyd yn brîs rhy wael am enaid*, fal y dywed ef i ni, *Mar.* 8. 36. Yr hwn a wydde orau ei gwerth hwynt, oblegid efe a'i prynnodd hwynt, pa ryw wallgof ryfeddol yw i ddŷn ei cyfnewid nhw am bób ceriach wael, fal y gwná llaweroedd, y rhai a gawsant y cyfryw arfer o *Ledratta*, na ddichon y péth gwaelaf ddiangc ei bysedd nhw? Tan y pechod hwn o *Ledrad* y cyfrifir *derbyn-wyr Lledrad*, pa ún bynnag a'i y rhai sy'n ei cymmeryd nhw, megys cyfrannogion yn y *Lledrad*, neu y rhai a'i prynna hwynt pan fónt yn gwybod neu yn credu mae Lledrad ydynt. Y mae llaweroedd (y rhai a gymmerant arnynt ffieiddio Lledrad) yn euog o hyn, pan allont hwy trwy hyn brynnu'r péth ychydig rhadach na'r prîs cyffredinol. Ac ymma hefyd y crynhóir y pechod o gelu rhyw Ddâ a ddelo dŷn ei hŷd iddo o eiddo ei Gymydog, yr hwn pwy bynnag na'i rhydd yn ei ôl, os

gŵyr

Dos. 12 gŵyr ef, neu os dichon ef ddysgu pwy yw ei berchennog, nid yw efe wêll na lleidr; oblegid y mae efe yn attal oddiwrth ei Gymydog yr hyn yn briodol a berthyn iddo ef: ac yn ddiammeu ni throsseddir cariad, os dywedir, y gwnae'r cyfryw ddŷn y fáth waethaf o Ledrad, pe bydde fo wrth hynny mor ddiofal oddiwrth ddial y Gyfraith, ac y mae fo yn hyn ymma.

1 Thes. 4. 6. Na byddo i neb orthrymu na thwyllo ei frawd mewn dim canys Dialydd yw'r Argl. ar y rhai hyn oll. Llanina 1. Xbr. 706

Twyll. 2. Y *Trydydd* Rhan o Anghyfiawnder yw *Twyll*; ac y mae cynnifer o Rannau o hwn ac sydd o achosion i'r naill ddŷn i negeseua a'r llall. Ammhossibl yw ei henwi hwynt ei gyd, ond yr wyfi'n meddwl y gellir ei cynhwys hwynt tan y ddau fáth gyffredinol hyn o *Dwyll*, sef, mewn *Ymddiriedd* a *Marsiandiaeth*; oddigaeth y *Twyll* hwnnw mewn Chwaryddiaeth, yr hwn (rhaid i mi ddywedyd i chwi ar y ffordd) sydd gymmaint dichell a Thwyll a'run o'r lleill.

Prov. 20. 17.

Mewn Ymddiried. 3. Y mae'r hwn a dwylla ddŷn mewn rhyw *Ymddiried* a orchymynnir iddo, yn euog o Anghyfiawnder dirfawr a thra-bradychus, sef cyssylltu dau bechod mawr yn ûn, *hocced*, a *thoraddewid*; oblegid ymmhob ymddiried y mae Addewid yn gynnhwysedig er na threuthir mono' allan; canys wrth dderbyn yr ymddiried y mae dŷn yn addo ffyddlondeb; fe a dorrir yr ymddiried hwn weithiau a'r *Byw*, weithiau a'r *marw*; a'r byw y mae amryw ffyrdd o'i dorri ef, yn ól yr amryw rywogaethau o *Ymddiried*; y mae'r Ymddiried weithiau yn fwy cyffredinol, fal eiddo *Potiphar* i *Joseph*, *Gen.* 39.

Gen. 39. 4. pan fo dyn yn ymddiried i ûn arall am yr hyn óll a fedd efe, ac fal hyn yr ymddiriedir i Ymgeledd-ŵyr plant, ac weithiau i Oruchwyl-ŵyr; weithiau trachefn y mae ef yngwhylch rhyw ún péth neillduol: y mae'r naill ddyn yn Ymddiried i'r llall i farchnatta rhyw béth trosto ef, neu mae fe 'n rhoddi rhyw ûn péth yn ei ddwylo ef i'w oruchwylio a'i drefnu: fal hyn ymysg Gwasanaeth-wyr y mae'n arferol o ymddiried i'r naill ûn rhan o Ddâ ei feistr, ac i ûn arall ran arall o honynt. Yr awrhon pwy bynnag yn y rhai'n, neu'r cyffelyb, ni wná mor ffyddlon tros y néb a ymddiriedo iddo ef, ac y gwnae efe trosto'i hún, ond naill a'i ai cyll nhw trwy ddiofalwch, neu ai difroda hwynt yn afradlon, neu ai perchennoga hwynt ei hún, y mae efe yn euog or pechod mawr hwn o dorri addewid a'r Byw. Yn gyffelyb, yr hwn a ymddiriedir iddo am *gwplhau Llythyr-Cymmun gwr marw*, os efe ni wná hyd yr eithaf o'i wybodaeth yn ól meddwl y gŵr *marw*, eithr a'i cyfoethoga'i hûn a'r pêth a adawyd i arall, y mae efe yn euog o'r pechod hwn tu ag at y marw; yr hyn sydd yn fwy na'r llall, o gymmaint ac nad oes gan y marw foddion o ymwared a diwygiad, fal y dichon fód gan y byw. Y mae hyn yn fáth o *Yspeilio beddau* yr hyn sydd yn gyfryw Ledrad, ac y mae dynion trwy natur yn ei ffieiddio a'i arswydo, yn gymmaint a'i fód ef yn Lleidr calon-galed, a feiddia ymosod at hynny. Ond y mae pób ún o'r rhain etto yn fwy echryslon, pan fónt yn ddigyfwng yn erbyn Duw, neu'r tlawd, hynny yw, pan roddir rhyw béth mewn ymddiried i ddŷn i ddefnyddiau o Dduwioldeb neu elusen; Sul. 12.

y mae

Dos. 12 y mae hyn yn anghwanegu Cyssegr-yspeiliad at y twyll a'r brâd, ac felly yn ei gyminhwyso fo i'r holl felldithion hynny a fygythir i'r amryw bechodau hynny, y rhai sydd mor drwm, a bód yr hwn a anturia ei gwneuthur hwynt er mwyn bûdd presennol yn gwneuthur cynddrwg, ie gwaeth Marchnad na *Gehazi*, 2 *Bren.* 5. 27. yr hwn *Gydá dillad Naaman a gafodd ei wahanglwyf ef hefyd.*

Lan^th 14. Nov^r. 703.

Mewn Marsiandiaeth.

4. Yr *ail* fáth o Dwyll sydd mewn *marsiandiaeth* a bargen, lle y dichon fód Twyll yn gyffal yn y Pryn-ŵr, a'r Gwerth-ŵr; twyll y gwerth-ŵr gan mwyaf yw celu beiau ei farchnad, neu rhoi gormod o brîs arnynt.

Yn y gwerthwr, cuddio beiau.

5. Y ffyrdd o gelu ei beiau hwynt yw yn gyffredinol y rhai hyn, naill a'i yn *gyntaf*, trwy wadu fód y cyfryw fai yntho ef, a'i ganmol ef ysgatfydd am y gwrthwyneb, ac y mae hyn yn gelwydd hylithr, ac felly yn anghwanegu'r pechod hwnnw at y llall, ac os cadarnhéir y celwydd hwnnw trwy lw, fal y mae yn rhy arferol, yna mae'r euogrwydd mawr hwnnw o *Anudonedd* yn dyfod i mewn hefyd; ac yna, pa ryw bentwr o bechodau a geselir ymma ynghŷd? llawn ddigon i fuddo Enaid truan i ddinistr, a'r cwbl yn unig i geisio trwy daerni ychydig ychwaneg o Arian o bwrs ei gymydog, ac hynny lawer gwaith cyn lleied, a bód yn rhyfeddol iawn y dichon ûn dŷn ar sydd yn tybied fód gantho ef Enaid, ei osod ef ar brîs mor wael a dirmygus. Yr *ail* mòdd o gelu ei beiau hwynt yw arferu rhyw *gelfyddyd* i wneuthur iddo ef edrych yn dêg ac i giddio ei feiau

ef;

ef; er nad traethu celwydd yw hyn, etto y mae Sul. 12.
ef yn gelwydd yn y weithred, yr hyn sydd cyn-
ddrwg, ac y mae yn ddiammeu cymmaint
bwriad o dwyllo a siommi yn hyn yma ac a
all fód yn yr anudonedd mwyaf. Y *Trydydd*
môdd yw pigo allan farchnat-wŷr gwirion; yr
wyti'n credu fód hyn yn gelfyddid rŷ hynod
ymysg Marsiand-wŷr, y rhai ni ddangosant
mo'i marsiandiaeth waethaf i ddynion cyfar-
wydd, eithr a'i cadwant i rai anghelfyddgar:
a'r unrhyw fáth o hocced yw hyn a'r llall; ob-
legid y mae pób ûn o'r ddau yn tueddu i'r
unrhyw ddiben, sef twyllo 'r Marchnat-ŵr, ac
yna ni waeth pa ûn a wnelo'i a'i gwneuthur
deunydd o'm Celfyddyd fy hûn ynteu o'i wen-
did ef i ddwyn hynny i ben. Y mae hyn yn
ddiammeu, y dyle'r néb a wnelo yn uniawn,
wneuthur ei farchnat-ŵr yn gydnabyddus a'r
péth y bo fo yn ei brynnu; ac os ni bydd efe
mor gelfyddgar a gallu barnu (ië os efe ni chen-
fydd y bai o hono'i hûn) yr wyti'n rhwym
i'w ddadcudddio ef, onid-ë yr wyti'n gwneu-
thur iddo ef dalu am ryw béth nid yw yno,
gan ei fód ef yn bwriadu fód y cynneddf da
hwnnw yntho ef, yr hyn a wyddosti nad ydyw,
ac am hynny ti a elli mor gydwybodus gym-
meryd ei arian ef am ryw Ddâ o eiddo gŵr
arall, yr hyn a wyddosti nad elli di byth roddi
yn ei feddiant ef, yr hyn fe gydnebydd pawb ei
fód yn hocced dirfawr. Ymma hefyd y gellir
cyfrif y dwyll honno o *bwysau* a *mesurau* ffeil-
sion, canys y mae hyn yn cadw 'n ddirgel rhag
y pryn-ŵr ddiffygiad ym maentioli, fal y mae'r
llall ynghynneddf, y pêth a farchnettir, ac y
mae hefyd yn gwneuthur iddo dalu am y pêth

Dos. 12 nid yw yn ei gael. Y sáth ymma o hocced a grybwyllir am dano yn neillduol gan *Solomon Dihar.* 11. 1. sef bód hyn *yn ffiaidd gan yr Arglwydd.*

Rhoi gormod Prîs. 6. Yr *ail* fáth o hocced yn y gwerth-ŵr, yw rhoi *gormod prîs* ar ei farchnad; er na ddarfu iddo ef na chelu na chiddio ei feiau ef, etto os efe a esyd brîs anrhesymmol arno ef y mae efe yn twyllo'r pryn-ŵr: yr wyfi'n galw hynny yn brîs anrhesymmol, yr hyn sydd tu hwynt i wir werth y pêth, trwy Ystyried y bûdd gweddol hynny a fodlonir i'w ganniadu i Grefftŵyr yn y gwerthiad: Pa bêth bynnag sydd tu hwynt i hyn a ddygir i mewn, ond odid, trwy rai o'r ffyrdd hyn; megys yn *gyntaf* trwy gymmeryd mantes o Anwybodaeth y pryn-ŵr ymmhrîs y pêth, yr hyn sydd gymmaint Twyll a cham-ganmol ei ddaioni ef: Neu yn *ail* trwy gymmeryd mantes o'i angen ef; ti a weli ddyn ac arno yn bresennol eisieu rhyw bêth yn ddirfawr, ac am hynny wyt' yn cymmeryd achlysur i'w siommi ef; ond dyma'r pechod hwnnw yn uniawn o Drais a gorthrech a grybwyllwyd am dano o'r blaen; canys yn ddiammeu nid oes dim a ddichon godi prîs rhyw bêth yn gyfiawn, ond naill a'i fód efe yn ddruttach iti, neu'i fod ef yn well yntho'i hûn; ond nid ydyw angen dy frawd yn achos o'rûn o'r rhain; nid ydyw ei noethni ef nag yn gwneuthur i'r dillad yr wyti 'n i werthu iddo ef sefyll iti mewn ychwaneg, nag yn ei gwneuthur nhw ychwaith yn well; ac am hynny os codi di ei prîs nhw oblegid hynny, yr wyti'n cyfnewid dy ffordd o Farsiandiaeth, ac yn gwerthu *angen* ac *eisieu* dy

Gymydog,

Gymydog, yr hyn ſydd yn ddiammeu yn alwedigaeth anghyfreithlon iawn. Neu yn *Drydydd* yſgatſydd trwy gymmeryd mantes o ddiddarbodaeth y marchnat-ŵr: Y mae rhyw ddŷn yſgatſydd yn ffansio y cyfryw béth yn dramawr, ac felly yn goddef i'w ffansi draarglwyddiaethu ar ei Reſwm cymmhelled, a'i fód éf yn llawnfwriadu ei gael ef béth bynnag a goſtio ef. Os canfyddi di hyn yntho ef, ac ar hynny wyt yn codi ei brîs ef, y mae hyn yn gwneuthur iddo brynu ei ynfydrwydd, yr hyn yw'r pwrcas drudaf o'r cwbl: yn ddiammeu nid yw ei ffansi ef yn anghwanegu dim at wîr brîs y béth, mwy nag yr oedd ei angen ef yn y cyflwr or blaen, am hynny ni ddylid mo briſio'r péth yn uwch oblegid hynny. Y nêb gan hynny a chwennycho werthu mewn módd goneſt a chyfiawn, gwilied gymmeryd gafael ar bôd mantes y bo tymmer ei Farchnat-ŵr yn ei roddi iddo, eithr yſtyried yn ddifriſol, béth a dâl y pêth, ac am ba faint y gwerthei ef fo i ûn arall, yr hwn ni chae efe mo'r cyfryw fantes arno, ac felly ei ganniadu ef yn yr ûn brîs iddo yntef. Sul. 12.

7. Nid oes yn gyffredinol gynnifer o óddfau i'r *Pryn-wr* i *dwyllo*; etto fe all ddigwydd i ddŷn weithiau werthu rhyw bêth na ŵyr efe mo'i brîs ef, ac yna fe fydd mor anghyfiawn i'r pryn-ŵr wneuthur bûdd trwy ei anwybodaeth ef, ac oedd i'r gwerth-ŵr yn y cyflwr o'r blaen. Ond y péth ſydd yn damwain fynychaf yw oblegid angen, yr hyn a ddichon ddychwelyd yn gyſtal i'r gwerth-ŵr a'r prynŵr: y mae angen dŷn yn gwneuthur iddo werthu, Twyll yn y Pryn-wr.

 ac

Dos. 12 ac heb oddef iddo ef aros i wneuthur gwell bargen, ond yn ei gymmell ef i gymmeryd y cynnyg cyntaf; ac ymma 'ir pryn-ŵr bwyso arno ef, oblegid iddo ei weled ef yn y cyfyngder ymma, ydyw'r unrhyw bechod ac a ddangosais i o'r blaen ei fod yn y gwerth-ŵr.

8. Y mae mewn matter o *Farsiandiaeth* gynnifer o Brofedigaethau i dwyllo, ac y dylei ddŷn ei arfogi ei hûn a llawnfwriad gadarn yn y gwrthwyneb, ié a chariad dirfawr o Gyfiawnder, onid-ë fe fydd mewn perigl o Syrthio tan demtasiwn; oblegid fal y dywed y gŵr Doeth, *Ecclus.* 27. 2. *Fal y gyrrir gwanas rhwng cyssylt carreg, felly rhwng prynu a gwerthu yr ymwthia pechod*; y mae hocced gwedi ei gyd-gyssylltu felly a phób marsiandiaeth, a chwedi ei gymmyscu felly a'r gwreiddyn a'r sylfaen cyntaf o honynt, ac y byddys arferol o gyd-ddyscu'r naill a'r llall; ac felly y mae Twyll yn dychwelyd i fód yn gyfran o'r gelfyddyd; yn gymmaint ac na thybir yn y dyddiau yma fód néb yn gymwys i arferu Trâd yn y bŷd ond y néb a fedr dwyllo, ac y mae'r néb sydd gantho fwyaf o'r gelfyddid resynol yma o siommi yn ei ymoleithio ac yn ei ganmol ei hûn, ié, ac ysgatfydd yn ymffrostio wrth eraill, pa fódd yr aeth ef tros ei gymydog mewn rhyw fargen.

tu hwynt

9. Pa gywilydd anrhaethadwy yw hyn, fód i ni Gristianogion, y rhai trwy orchymynion ein Meistr a rybuddir i gwplhau'r Dledswyddau uchaf hynny o Gariad, yn lle ymarferu hynny, yn llwyr dad-ddyscu'r rheolau cyffredinol hynny, o Gyfiawnder, y rhai y mae Natur ei hun

yn

yn ei dyſcu ? Oblegid yr wyfi'n meddwl nad oes Sul. 12.
y rûn o'r amryw ddoſparthiadau hynny o anghyfiawnder tu ag at Feddiannau ein Cymydog, na farnei pób Pagan ſobr ei bód felly; fal y dywed St. *Paul* gan hynny wrth y rhai o'r Enwaediad *fód Enw Duw yn cael ei gablu ymyſg y Cenhedloedd*, trwy 'r anghyſſondeb oedd rhwng ei hymarfer hwynt a'i Cyfraith, *Rhuf*, 2. 24. felly y gellir yr awrhon ddywedyd am danon ninnau, y *ceblir Enw Crîſt ymyſg y Tyrciaid a'r Cenhedloedd*, oblegid ein bucheddau ffiaidd a Sarháaus ni y rhai ſydd yn ein galw ein hunain Griſtianogion, ac yn neillduol yn y pechod hwn o anghyfiawnder; gadewch i ni rhag Cywilydd o'r diwedd ymegnío i fwrw ymmaith y gwradwydd hwn oddiar ein Proffes, trwy ymadel a'r cyfryw ymarfer, yr hyn, debygwni, a ddyle'r Yſtyriaeth hon yn unig ein hannog ni i wneuthur.

10. Etto heb law hyn y mae ychwaneg o annogaethau i'n cynnhyrfu ni; ymyſg pa rai y mae ûn o'r cyfryw Natur ag a ddichon gyffrhoi'r Cybydd mwyaf, ſef, na wîr gyfoethoga 'r helynt yma monynt hwy byth; y mae melldith dirgel yn ei gynllwyn ef, yr hwn fal rhŵd a yſſa'r hóll fûdd a ddiſgwylwyd oddiwrtho ef. Ni ammheua nêb mo hyn a'r ſydd yn credu'r Scrythur, lle y mae llaweroedd o byngciau i'r pwrpas hwn : megys *Dihar*. 22. 16. *Y néb a wasgo ar y tlawd er chwanegu ei gyfoeth, a ddaw i dlodi*. Felly *Habac*. 2. 6, 7. *Gwae a helaetho y pêth nid yw eiddo ef : pa hyd? ac a lwytho arno y Clai tew : oni chyfyd yn ddiſymmwth y rhai a'th frathant ? ac oni ddeffru y rhai a'th*

Dos. 12 *chwalant? ac oni byddi yn wasarn iddynt?* Hyn sydd yn damwain yn gyffredinol i'r rhai sydd yn gorthrechu ac yn Twyllo eraill, y maent o'r diwedd yn cyfarfod a'r rhai a wnânt y cyffelyb iddynt hwythau. Ond y mae'r lle yn *Zacharias* yn gyflawn i'r pwrpas hwn, *Pen.* 5. lle tan arwydd y Llyfr hedegoc yr arwyddocceir y felldith sydd yn myned allan yn erbyn y pechod hwn, *gwer.* 4. *Dygaf hi allan, medd Arglwydd y lluoedd, a hi a ddaw i Dy y lleidr, ac i dy y nèb a dyngo yn gelwyddog i'm henw, ac hi a erys ynghanol ei dy, ac a'i difa ef, a'i goed a'i gerric.* Lle y gwelwch mae *lledrad* ac *anudonedd* yw'r ddau bechod, yn erbyn pa rai y bwriedir y felldith hon (ac y maent hwy yn rhy fynych yn ymgyfarfod ynghyd mewn Twyll) a Natur y felldith hon yw dita'r Tŷ, a llwyrddinistrio'r cwbl óll a berthyno i'r nêb a fo euog o' rûn o'r pechodau hyn. Am hynny tra'i bóch di fal hyn yn rheipus ar ôl dâ neu dŷ dy Gymydog, nid wyti ond casglu tân-wŷdd i losci yr eiddo dy hûn. Ac ni a welwn beynydd y ffrwyth o'r bygythion ymma o eiddo Duw, yn yr aflwyddiant rhyfeddol o gyfoeth a gesclir ar gam, yr hyn y mae pób dŷn yn ddigon parod i ddal sulw arno mewn cyflwr rhai eraill: yr hwn a welo'i gymydog yn myned yn ôl llaw, fe fedr yn ebrwydd ddwyn ar gôf, Fe a gasclwyd hwn trwy orthrymder a thwyll; etto yr ydyni mor orphwyllus, a chwedi yn llygattynu cymmaint a chariad elw, ac na ddichon yr hwn sydd yn ystyried hyn mewn arall, wneuthur deunydd o hyn iddo'i hûn ond yn anfynych, nid yw efe ddim llai rheipus, nag anghyfiawn ei hûn, er yr hóll ddial y mae efe yn ei ddirnad i ddychwelyd i eraill.

11. Ond

11. Ond och! pe byddit ficcr na rwygid odddiwrthiti dy Feddiannau anghyfiawn, etto pan gofiech di mor ddrûd y bydd rhaid iti dalu am danynt mewn byd arall, nid oes iti ond achos bychan i ymffroftio o'th fargen. Yr wyti 'n meddwl y buofti yn gywraint iawn, pan dwyllaifti dy gymydog; ond fe ŵyr Duw yn y cyfamfer fôd ûn arall yn dy fiommi dithau, ac yn dy Dwyllo di o béth fydd yn aneirif yn wertfawroccach, fef, dy Enaid: y mae 'r Cythrel yn gwneuthur a thydi yn hyn fal y mae arfer Pyfgodwŷr; y mae y rhai a chwennychantd dal pyfgodyn mawr yn abwydo ei bâch ac ûn llai, ac felly 'r mawr yn dyfod yn rheipus i lyngcu r' llall a ddelir ei hunan: felly tydi yr hwn wyt yn fafn-rythu i lyngcu i fynu dy frawd tlawd, a wneir yn yfglyfaeth i'r Dinistrydd mawr hwnnw. Ond och! béth a efmwythá hynny arnati yn Uffern, ddarfod i ti adael cyfoeth o'th ôl ar y ddaiar, pan fo arnati eifieu yno y péth y mae 'r cardottyn gwaelaf ymma yn ei fwynhau, fef defnyn o ddwfr i oeri dy dafod? Yftyria hyn, ac ymróa o hyn allan i roi 'r hóll boen a'r ddiwydrwydd hynny a arferaifti i dwyllo eraill, i'th achub dy hûn rhag hocced y twyllwr mawr.

12. I'r diben hwn y mae 'n gwbl angenrheidiol i ti wneuthur *Adferiad* i bawb ar y gwnethofti gam iddynt; oblegid tra y cedwi di yn dy feddiant ddim o'r elw anghyfiawn, y mae hynny megys ceiniog-ernes oddiwrth y Cythrel, yr hon fydd yn rhoddi iddo ef gwbl hawl i'th Enaid ti. Ond yfgatfydd, fe ddywedir nad yw

 boffibl

Pos. 12 bossibl mewn pób rhyw gyflwr wneuthur *Atgyweiriad* i'r nêb y gwnaethpwyd Cam ag ef, fe allei fód ef gwedi marw; os felly gwná ef i'w Etifeddion ef, i ba rai y mae ei hawl ef yn descyn. Ond fe ellir heuru trachefn ddarfód ond odid i'r néb a arferodd Dwyllo yn hîr, wneuthur cam a llaweroedd, nad yw ef yr awrhon yn medru ei cofio, a llaweroedd trachefn nid oes iddo fódd yn y bŷd i gael gafael arnynt: yn y cyflwr yma y cwbl a alla'i gynghori yw hyn: Yn *Gyntaf* bód mor ddiwyd ac y bo possibl i atgofſhau pwy oeddynt, ac hefyd i ymegnío ar ddyfod i hŷd iddynt; ac os methu di hynny ar ól dy hóll ddiwydrwydd, gwná 'r Diwygiad i'r Tlodion, ac fal na bónt mewn rhan yn unig, bydd mor ofalus ac y gellych i gyfrif hyd yn oed y ffyrling leiaf o elw anghyfiawn; ond lle nid ellir gwneuthur mo hynny yn hollawl, fal yn ddiammeu ni all y rha sydd gwedi amlhau y gweithredoedd hyn o Dwyll, etto yno gwnánt ryw fesur cyffredinol, trwy by ûn i gymmhwyso ei hadferiad: megys, er Esampl, *Marsiand-wr* yr hwn ni fedr gofio pa faint a Dwyllodd ef mewn pób rhw gyfran neillduol, etto a all, ond odid, ddyfalu yn gryno a oedd ef yn arfer o siommi hyd y drydydd neu 'r bedweredd ran o'r farsiandiaeth, ac yna pa ddogn bynnag a dybio fo ddarfoed iddo ef felly ei dwyllo, rhoed yn gyfattebol i hynny allan o'r golud a gasclodd efe wrth ei farchnad: ond yn hyn y mae 'n sefyll ar bób dŷn wneuthur yn uniawn, megys ger bron Duw, ac nid cymmeryd mantes o'i angôf ei hún i gwttogi 'r *Adferiad*, eithr yn hyttrach myned ar y llaw arall, a bôd yn siccr o roddi yn hyttrach ormod na rhŷ fychan. Os digwydd iddo

ef

ef rôddi ychydig tros ben, nid rhaid iddo wrwgnach mo drául y cyfryw *Aberth* tros *Bechod*, ac yn ddiammeu ni wnâ efe, os ydyw efe yn ddiffúant yn deisyfu *Cymmod.* Llawer eraill o anhawsder a ddichon fôd yn y matter yma o *Adferiad*, y rhai ni ellir mo'i rhag-weled, ac felly ni ellir mor traethu am danynt yr awrhon yn neillduol; ond po mwyaf o'r rheini sydd, mwyaf a ddyle dynion arswydo rhedeg i'r pechod o *Anghyfiawnder*, yr hwn sydd mor anhawdd, onid yw ammhossibl, iddynt ei Ddiwygio, a mwy ofalus a ddylent hwy fôd i farw-hau *Cybydd-dod*, yr hwn yw gwreiddyn pób anghyfiawnder. Sul. 12.

DOS-

1 Pet. 3. 10. Y neb a ewyllysio hoffi bywyd a gweled dyddiau da attalied ei dafod oddiwrth ddrwg ai wefusau rhag adrodd twyll.

# DOSPARTHIAD, XIII.

Llan. 24. 8br. 703.
Llanin a 26. Jany. 706/7

*Am Ddrwg-Absen*, *Cam-dystiolaeth*, *Enllib*, *Hustyng*; *gwawdio am Wendid*, *Trallodau*, *Pechodau*, &c. *Am Gyfiawnder gweithredol*, *am Wirionedd*, *Celwydd*, &c. *Am Genfigen ac Anair*, *Am Ddiolchgarwch*, &c.

ei Fri.

§. 1. Y *Pedwerydd* Caingc o *Gyfiawnder* o *Ommeddiad* a berthyn i *Fri* ein Cymydogion, yr hwn ni ddylen ni mo 'i leihau na 'i waethygu mewn môdd yn y bŷd, yn enwedig nid trwy *ddrwg-Absen*: o ba rai y mae dau fáth, *ûn* yw pan fo dŷn yn dywedyd rhyw béth am ei gymydog yr hyn a wŷr efe yn hollawl ei fod yn gelwydd. y *llall* yw pan fo gantho ef ysgatfydd ryw debygoliaeth wael, neu eiddigedd o'r péth; ond hynny ar y cyfryw Sylfaen gwan, a bod y péth mor debyg i fôd y ffals ac yn wîr. Ymmhób ûn o'r rhain y mae euogrwydd mawr yn sefyll ar y Traeth-ŵr. Fôd felly yn y cyntaf o'r rhain nid oes néb yn ammeu gan fôd pawb yn cydnabod mae 'r brynti mwyaf yw dychymmig *celwydd* ar ûn aral; ond y mae cyn lleied o reswm i ammeu 'r llall, oblegid pwy bynnag a draetha ryw béth megys gwirionedd, yr hyn nid yw ond ammheus, sydd yn gelwydd-ŵr, neu os efe

ni thraetha mono ef megys siccrwydd, ond yn unic megys cyffelybrwydd i fôd yn wir, etto er nad yw etc yn hynny yn euog o gelwydd, y mae efe o anghyfiawnder yn yspeilio ei gymydog o'i Enw dâ; oblegid y mae y táth dueddiad mewn dynion i goelio yn ddrŵg am eraill, ac y gwasanaetha 'r cyffelybrwydd lleiaf i'r diben hwnnw, os tenir hynny ûnwaith allan; ac yn ddiammeu anghyfiawnder tra-echryslon yw ar bôb tebygoliaeth a ffansi wag beryglu dwyn cymmaint o ddrŵg ar ûn arall; yn enwedig pan ystyrir, fôd y dychymygion hynny gan mwyaf yn tarddu allan oddiwrth ryw ragfarn, drŵg-nawsrwydd, neu falis yn y drwg-dybŵr, yn hyttrach nag ûn bai cyhoeddus yn y dŷn a enllibir. Sul. 13.

2. Nid yw 'r môdd o danu 'r ddau fáth yma o Ddrŵg-absen yn unrhyw yn wastad; y mae ef weithiau yn fwy *cyhoeddus* ac agored, weithiau yn fwy *dirgel* a chuddiedig: y módd cyhoeddus yw yn fynych trwy gam-dystiolaeth o flaen y Barn-ŵyr yn y Dadleu-dŷ: ac nid yw hyn yn unig yn briwo dŷn yn ei enw dá, eithr mewn moddion eraill hefyd: y mae hynny yn ei roi fo i fynu i gospedigaeth y Gyfraith, ac yn gwneuthur iddo ef niwed mwy neu lai, yn ôl maentioli 'r bai y cyhuddir ef am dano; ond os bŷdd efe o'r fáth uchaf, fe all gyrrhaeddid ei fywyd ef, fal y gwelwn ni wneuthur o hono ef ynghyflwr *Naboth*, 1 *Bren.* 21. mor fawr ac echryslon yw 'r pechod hwn o herwydd hyn, ac oblegid yr anudonedd hefyd, chwi a ellwch ddyscu wrth y péth a draethwyd am bób ún o'r pechodau hynny. Cam-dystiolaet

Yr

Dos.13 Yr ydwyfi 'r awrhon i'w Ystyried ef yn unig megys ac y mae efe 'n cyrrhaeddid yr enw dá; ac i hwnnw y mae efe yn archoll resynol, cael fal hyn dystiolaethu bai yn gyhoeddus yn erbyn ûn, a'r cyfryw nad ellir mo 'i ddiwygio ond pryn trwy ddim er a ellir ei wneuthur ar ôl hynny i'w ddiheuro ef; ac am hynny y mae pwy bynnag sydd yn euog o hyn yn gwneuthur anghyfiawnder tra-echryslon a'i gymydog; dymma 'r péth a waherddir yn hynod yn y *Nawfed Gorchymyn* ac a ordeinwyd gan Dduw i'w gospi trwy roddi arno ef yr unrhyw gospedigaeth, ac a amcanodd ei gau-dystiolaeth ef ei ddwyn ar y llall *Deut.* 19. 16,17, &c.

Enllib choeddus. 3. Yr *ail* modd cyhoeddus o danu 'r drwg-absen ymma yw ei mynegi nhw yn sasn-rhwth yn gyffredinol; er nid o flaen Swydd-ŵr, megys o'r blaen, etto mewn pób cyfeillach, ac oflaen cyfryw rai ac a fo debyg i'w ddwyn ef ymmhellach, a hyn a wneir gan mwyaf ynghŷd a sarháad a dirmyg chwerw-dóst, gan mae arferol gelfyddyd Enllib-wŷr yw rhoi senn a drygair i'r néb y bónt yn ei enllibio, fal trwy doster yr achwyniad y gallont roddi dysnach seliad ym meddyliau y gwrandawŷr; Y mae hyn yn gystal o herwydd yr Enllib, a'r drygfri, yn gam mawr, a phób ún o honynt yn gyfryw ac a gau y rhai a'i gwnánt allan o'r *Nef*; felly *Psal.* 15. lle y Portréir y gŵr cyfiawn, a gaiff ei gyfran yno, hyn yw ûn péth arbennig, *gwer.* 3. Nad ydyw ef yn enllibio ei gymydog; ac am ddrygfri a sarháad y mae 'r Apostol mewn amryw fannau yn ei cyfrif hwynt ymysg y gweithredoedd hynny o'r Cnawd y

rhai

ond ychydig gyssur i'w ddisgwyl mewn prio- Sul. 15.
das.

17. Fe ddyle pôb dŷn gan hynny a'r sy'n bwriadu myned i'r cyflwr hwn ystyried yn ddarbodus ymlaen llaw, a dewis ún, a pha ún y gallo ef gael y gymdeithas Ysprydol hon, hynny yw, y cyfryw ún ac sydd ýn *gwîr ofni Duw*. Y mae amryw gau-ddibennion Priodas yn y bŷd: rhai yn priodi o ran Cyfoeth, eraill o ran Glendid, ac yn gyffredinol rhyw gyfleusdra bydol yn unic yw'r cwbl a ystyrir; ond yr hwn a briodo fal y dyle, a ddylei ddychymmig pa fôdd i wneuthur ei Briodas yn fuddiol i'r dibennion gwell hynny o wasanaethu Duw, a chadw ei Enaid ei hûn; o'r lleiaf fe ddyle fôd yn siccr na bo'r cyflwr hwn yn rhwystr iddynt, ac i'r pwrpas hwnnw y mae Rhinwedd y néb a ddewisir yn fwy buddiol na hôll olud y bŷd, er nad wyf fi yn dywedyd, na ddylid hefyd edrych am gymmedrolder o hwnnw.

18. Ond o flaen dim, bydded i bawb ofalu na wnelont y cyfryw Briodasau, ac nid yn unic a all ddamwain i fôd yn ddrŵg rhag llaw, ond sydd yn bechodau yn y cyfamser; o'r fath hyn yw Priodasau 'r rhai a *addawyd* o'r *blaen* i *ún arall*, y rhai yn ddiammeu ydynt yn perthyn i'r néb y gwnaethant hwy'r addewid cyntaf iddo; ac yna i ún arall ei Priodi hwynt tra'i bo hwnnw byw, nid yw ddim amgenach na chymmeryd gŵr neu wraig y cyfryw ún, yr hyn yw *godineb*, fal y dywed St. *Paul*, *Rhuf.* 7. 3. Anghyfreithlon hefyd yw Priodasau'r cy-

Dos. 15 fryw rai ac sydd o *fewn* y *graddau* hynny o *garennydd* a waherddir gan Dduw, y rhai i osodir ar lawr yn neillduol yn y 18, a'r 20. o *Levit.* ac y mae pwy bynnag a briodo ún o fewn y graddau hynny o garennydd, naill a'i iddo ei hun, neu'i wraig o'r blaen, yr hyn sydd cyn-ddrwg, yn gyneuthur y pechod mawr hwnnw o *Drallosgach*, a thra'i parhâo fo i fyw gydá 'r cyfryw wraig anghyfreithlon, y mae fo'n aros yn yr euogrwydd gresynol hwnnw. Yr astudrwydd hwn yn dewis cymmar a attaliai lawer o'r ffrwythau gresynol hynny a welwn ni beunydd yn dilyn y cyfryw briodasau byrbwyll neu anghyfreithlon; da fydde gan hynny pe edrychei pobl ar Briodas, fal y mae ein Heglwys ni yn cynghori, megys péth nid *i'w gymmeryd mewn byrbwyll, o yscafnder meddwl, neu nwyfiant, er mwyn digoni deisyfiad a chwantau cnawdol; eithr yn barchedig, yn bwyllog, yn sobr, ac mewn ofn Duw*; ac yn gwneuthur felly nid oes ammeu na bydd bendith yn calyn, yr hyn os amgen nid oes ond achos bychan i'w ddisgwyl. Fe ddarfu i mi bellach a'r Carennydd hwnnw, rhwng Gŵr a Gwraig.

Diarheb. 18.24. Y neb y mae iddo gyfeillion cadwed gariad; Ac y mae cyfaill a lyn wrthit yn well na brawd.
Llan[illegible]. 16. Janry. 1703.

Cyfeillach. 19. Y nessaf yw rhwng *Cyfeillion*; ac y mae'r perthynasrwydd hwn, os iawn ystyrir ef yn agos iawn ac yn dra-defnyddiol; ond nid oes yr ún a gam-gymmerir fynychach yn y bŷd na hwn; y mae dynion yn arfer o alw' rheini yn gyfeillion iddynt a pha rai y byddant fynychaf a chynnefinaf yn ymarweddi, er dychwelyd i'r cynnefindra cú hwn fod dim ond cyttundeb a chydsynniad mewn pechod. Y mae'r *Meddwyn* yn ei dybied ef yn garedigol yr hwn a gadwo

Lanina 15. feb. 707.

gymdeithas

gymdeithas ac efo; y dyn *twyllodrus*, yr hwn a'i cynnorthwya ef yn ei ddichellion; y dyn *balch*, yr hwn a'i gwenhieithio ef: Ac felly yn gyffredinol ymmhób rhyw ddrygau, y rhai hynny a edrychir arnynt megys cyfeillion anwylaf y rhai a'n helpa ni ymlaen ynddynt. Ond fe wyr Duw fód hyn ymmhell oddiwrth wîr gyfeillach; y cyfryw gyfell a hyn yw'r Cythrel ei hún yn y rádd uchaf, yr hwn nid yw ún amser yn ddiffygiol yn y cyfryw swydd-dau. Y gwîr gyfeillach ydyw ún yn union yn y gwrthwyneb; sef cydsynniad a chyttundeb mewn Rhinwedd, ac nid mewn pechod: mewn gair, y mae gwîr gyfaill yn caru ei gyfaill felly, yn gymmaint ac i fod yn drachwannog o'i ddaioni ef; ac yn ddiammeu pwy bynnag sydd fal hyn, ni bydd ef bŷth yn achos o'i ddwyn ef i'r drygau mwyaf. Dledswydd cyffredinol cyfell gan hynny a grynhoir mewn diwyd gynllwyniad gwîr fudd a llesháad ei gyfaill, ymmha ûn y cynnhwysir amryw rannau neillduol. Sul. 15. Dledswyddau Cyfeil lach yw.

20. Megys yn *gyntaf ffyddlondeb* mewn pób rhyw *ymddiried* a orchymynnir iddo ef gan ei gyfaill, a hynny pa ûn bynnag ai o dda, neu o ddirgelwch; yr hwn a fradycho ymddiried ei gyfaill, yn y' rûn o'r rhain, fe fydd pôb dŷn yn ei gasfhau ac yn ei ffieiddio ef, gan mae ûn o'r ffalsder a'r anffyddlondeb mwyaf yw hynny, ac oddiwrth y cyfryw archollion twyllodrus y *ffy pôb cyfaill ymmaith*, fel y dywed y Gŵr doeth, *Ecclus.* 22. 25. Ffyddlondeb.

Cym-
morth.

21. Yn *ail*, Dléd cyfaill yw *cymmorth* ei gyfaill yn ei holl angenrheidiau oddiallan; ei gynghori ef, pan fo arno eisieu cyngor; ei lonni ef, pan fo arno ef eisieu cyssur; rhoddi iddo, pan fo arno ddiffyg porth; ac ymegnío i'w wared ef allan o bób helbul, neu enbydrwydd. Esampl ragorol sydd i ni o hyn yn *Jonathan* tu ac at *Ddafydd*, *yr oedd ef yn ei garu ef fal ei enaid ei hun*, ac ni a'i gwelwn ef nid yn unic yn llunio módd i'w amddiffyn ef pan oedd ef mewn enbydrwydd, ond yn ei beryglu ei hûn ei achub ac i waredu ei gyfaill, ac yn dwyn digofaint ei Dâd arno ei hûn, er mwyn ei dynnu ef oddiwrth *Ddafydd*, fal y darllennir yn helaeth, 1 *Sam.* 20.

Rhybudd
a Chyn-
gor.

22. Y *Drydydd* Ddledswydd cyfaill a'r fwyaf yw cymmorth a gwneuthur llesháad i Enaid ei gyfaill, ymegnío i osod hwnnw ymlaen mewn Duwioldeb a Rhinwedd, trwy bób rhyw foddion ar a allo, séf trwy annog a chyffroi i bób rhinwedd, ei droi ef yn daer ac yn ddifrifol oddiwrth bób pechod, ac nid hynny yn unic yn gyffredinol, ond yn ól ei angenrheidiau neillduol ef, trwy ei argyoeddi ef yn llymm ac yn gariadus, lle y gwypo ef, neu y tybio fo mewn rheswm iddo ef wneuthur arfai. Hyn yn anad dim yw gwîr arbennig Ddledswydd cyfaill, gan nad oes néb yn wîr yn gymwys i hynny ond y cyfryw ûn. Y mae'r cyfryw anewyllysgarwch yn y rhan fwyaf o ddynion i glywed sôn am ei beiau, a bód yn rhaid i'r néb a gymmero'r gwaith hwn arno fód gwedi rhagfeddiannu ei calonnau hwynt yn ddirsawr,

er

er mwyn ei gwneuthur hwynt yn oddefus o hynny: ié, fe gydnabyddir mor gyffredinol mae priodol waith cyfaill yw argyoeddi, yn gymmaint ac os ommedda fo hynny, y mae fo'n bradychu y troſſedd-ŵr i ddiofalwch: fe wná ei fód ef heb argyoeddi, i'r llall feddwl ond odid nad yw efe yn gwneuthur dim a haedda argyoeddiad, ac felly y mae fo tan dewi yn chwareu'r *gwenhieithi-wr*, trwy ei achlesu a'i druthio ef yn ei bechod; pan yſtyrir etto ymmhellach faint o eisieu'i gynghori a'i argyoeddi sydd ar bób dŷn ar ryw amser, fe welir mae péth anghariadus, ie creulon iawn yw esgeulufo hynny; y mae gennin ni'r cyfryw duedddiad naturiol tu ac attom ein hunain, na fedrwn ni amgyffred mor barod ein camweddau ein hunain, a'r eiddo eraill, ac am hynny traangenrheidiol yw i ni, gael gan rai eraill ei dangos hwynt i ni, y rhai sydd yn ei canfod hwynt yn eglurach; a gwneuthur hyn ar y cyntaf a ddichon lestr i ún ei amlhau hwynt ymhellach; lle os cynnhwysir i ni fyned ymlaen heb ein hargyoeddi, fe a ddigwydda'n fynych yn gyfryw gynnefin arfer, na wná ceryddion i ni mo'r lleshâad. Ac yna pa fódd y dichon y cyfryw ún atteb am hyn nag i Dduw, nag iddo ei hún, yr hwn trwy ei ddistawrwydd a fradychodd ei gyfaill i'r drŵg mawr hwn? Gair Duw ei hún yw yn traethu am gyfaill, *Dy gyfaill yr hwn sydd fal dy enaid dy hun*, *Deut.* 13. 6. Ac yn wîr ni a ddylen yn hyn gyfrif ein cyfeillion fal ein heneidiau ein hunain, trwy fód gennini yr unrhyw dynnerwch eiddigus a gofal tros ei heneidiau hwynt, ac sydd gennini tros ein heiddo ein hunain.

Sul. 15.

Dos. 15 hunain. Cymwys iawn gan hynny a fydd i bôb rhai a fo gwedi ei rhwymo ei hunain mewn anwyl gymdeithas wneuthur hyn yn ún pwngc arbennig yn ei cyttundeb, sef, bód iddynt rybuddio ac argyoeddi y naill y nall; ac felly fe ddigwydda hyn i fód yn gyfryw ran addunedus o'i cyfeillach hwynt, na cham-gymmera 'r ûn o honynt yr argyoeddiad hwn am sarrugrwydd neu anghardigrewydd.

Gweddi. 23. Yn *Bedwerydd*, rhaid yw anghwanegu *Gweddi* at yr amryw rannau hyn o twyneiddra; nid digon i ni gymmorth ein cyfeillion ein hunain i'n gallu, ond rhaid i ni alw hefyd am gymmorth yr Holl-alluog iddynt, trwy ei taer orchymyn hwynt i Dduw am ei holl fendithion, yn gystal amserol ac Ysprydol.

Bód yn Ddiysgog. 24. Yn *ddiweddaf*, rhaid i ni fôd yn *Ddiysgog* yn ein Caredigrwydd, ac nid o wîr ysgafndra meddwl blino ar gyfaill, yn unig oblegid ei fód ef gennin ni yn hir. Y mae hyn yn anghyfiawnder mawr tu acc atto ef, yr hwn os ymddygodd ef ei hún yn dda, a ddyle gael gwneuthur mwy cyfrif o hono, po hwyaf y parháodd ef felly: Ac y mae hyn yn ynfydrwydd mawr ynom ein hunain, oblegid nid yw hyn ond bwrw ymmaith y tryssor mwyaf yn y bŷd hwn, canys y cyfryw yn ddiammeu yw Cyfaill profedig. Y mae 'r doethaf o ddynion yn rhybuddio am hyn, *Dihar.* 27. 10. *Nag ymado a'th gydymaith dy hún, na chydymaith dy Dâd.* Ié ymmhellach, ni ddyle pób camwedd gwael dy gyfail wneuthur i ti ymado a'i gymdeithas ef, rhaid yw cyd-ddwyn

péth

péth a gwendid dynion, ac os bydd i ti achos i faddeu iddo fo ryw béth heddyw, fe all ynteu ysgatfydd gael odfa i dalu hynny yn ôl i ti y foru; am hynny ni ddyle dim ond anffyddlondeb, neu ryw fai tra-echryslon dorri y rhwymedigaeth hwn. Sul. 15.

25. Y Perthynasrwyd *ddeweddaf* sydd rhwng *Meistraid* a *Gweision*, ac y mae ar bôb ûn o'r rhain Ddledswydd i'w gilydd: Y *Cyntaf* o eiddo 'r Gwâs yw *Ufydd-dod* i bób Gorchymynion cyfreithlon; hyn a osynnir yn bendant gan yr Apostl, *Col.* 3. 22. *Y Gweision ufyddhewch i'ch meistred ymmhób dim*, &c. Ac ni wasanaetha i'r *ufydd-dod* hwn fôd yn ún *gwrwnachus* anfodlon, ond yn ewyllysgar ac yn llawen, megys yr â fo ymlaen i gynghori, gan *wneuthur gwasanaeth trwy ewyllys da*; ac i'w helpu nhw yn hyn, ystyrian mai i'r Arglwydd y mae hynny ac nid i ddynion; Duw a orchymynnodd i weision fal hyn, ufyddhau i'w meistred; ac am hynny yr Ufydd-dod y maent yn ei dalu sydd i Dduw, ac y mae hyn yn ddigon i beri iddynt wneuthur hynny yn furriol, er mor sarrug ac annheilwng a fo 'r Meistr, yn enwedig os ystyrir ymmhellach béth y mae'r Apostol yn yn ei ddywedyd *Eph.* 6. 8. *y derbyn ef wobr gan Dduw am hynny.*

Y Gweision yn dylu i'w meistraid, Ufydd-dod.

*Coloss. 3. 22. Lanim... 7. March 1707.*

26. *Ail* Ddledswyd *gwas* yw *ffyddlondeb*, a hwnnw sydd o ddau fáth; ûn yngwrthwyneb i lygad-wasanaeth, a'r llall i dwyll a hocced. Y rhan gyntaf o ffyddlondeb yw gwneuthur pób gwasanaeth cywir i'w feistr, nid yn unig pan fo ei olwg arno ef, a phan ddisgwylio ef gerydd am ei esgeulusdra, ond bób amser, iè

Ffyddlondeb.

Pos. 15 pan ni bo'i feistr yn debyg i ganfod ei fai ef ; ac y mae 'r gwâs hwnnw, ymmhell oddiwrth fod yn wenidog ffyddlon, yr hwn ni wná gydwybod o hyn ; Y mae 'r Apostol yn gosod y *llygad-wasanaeth* ymma yn gwrthwyneb i'r *symlrwydd calon* hwnnw, a ddisgwylir gan weision, *Eph.* 6. 5. yr *ail* fath ar *ffyddlondeb* yw trefnu a goruchwylio yn onest bób béth a ymddiriedir iddo gan ei feistr, peidio a cham-dreulio ei dda ef ( fal y dywedir i'r *goruchwyliwr anghyfiawn* wneuthur, *Luc.* 16. ) pa ún bynnag a'i trwy ei afradloni nhw yn ddiofal, neu droi dim o honynt i'w berchenogaeth ei hún heb gennad ei feistr, yr hyn yw 'r twyll hwnnw y mae 'r Apostol yn rhybuddio gweision o'i blegid, *Tit.* 2. 10. Yr hyn nid yw yn wîr ddim amgenach na lledrad ; o'r fáth hyn yw 'r holl ffyrdd hynny fydd gan y gwenidog i ennill iddo ei hun trwy golledi ei feistr, megys trwy dderbyn gwobr er gwneuthur drŵg-farchnad trosto ef, a'r cyffelyb : Ié, yn wîr y mae 'r cyfryw anffyddlondeb a hyn yn waeth na lledrad cyffredinol, o gymmaint ac yr ymddiriedir mwy iddo ef, ac y mae bradychu 'r ymddiried hwnnw yn anghwanegu 'r bai. Am y fàth arall o anffyddlondeb, fef treulio ei dda ef o esgeulusdra, heb ennill dim iddynt ei ei hunain, nid oes fawr ragor rhyngddo ef a'r llall, gan y dichon y meistr golli cymmaint y naill ffordd a'r llall, ac yna pa ragor iddo ef gael ei yspeilio trwy gybydd-dra neu esgeulusdra ei wenidog ? Ac y mae hyn yn torri ymddiried yn gystal a'r llall ; canys y mae pôb meistr yn ymddiried ei orchwylion yn gastal i

ofal

osal ac i onestrwydd ei wâs: Oblegid pa lês i'r meistr fód yn siccr, nad yw ei wâs ef ei hún yn ei dwyllo ef, pan yw ef yn y cyfamser trwy ddiofalwch yn rhoddi odfa i eraill i wneuthur hynny; y mae gan hynny yr hwn nid yw yn edrych yn ofalus am fûdd ei feistr, yn gwneuthur twyll trwy ymddiried, yn gystal a'r hwn a gascla 'n anghyfiawn iddo ei hûn.

27. *Trydydd* Ddledswydd gwas yw ammynedd a llaryeidd-dra tan argyoeddion ei feistr, heb *ail-ddywedyd*, fal y cynghora'r Apostol, *Tit.* 2. 9. hynny yw, heb roddi 'r cyfryw attebion sarrug diwybod, ac a anghwanega ddigofaint y meistr. Péth rhy gynnefin ymysg gweision, ië yn yr argyoeddion cyfiawnaf; lle y mae St. *Petr*, yn ei cynghori nhw i ddioddef yn ammyneddgar y ceryddon ni bónt yn ei haeddu, sef pan fónt *yn gwneuthur yn dda*, *ac yn goddef er hynny*, 1 Pet. 2. 20. Ond nid goddef argyoeddion yn ammyneddgar yw 'r cwbl a ofynnir gan weision yn hyn ymma, rhaid iddynt hefyd ddiwygio 'r bai yr argyoeddir hwynt o'i blegid, ac nid tybied iddynt wneuthur digon, gwedi iddynt (er mor ostyngedig) wrando ar ei meistr. Llaryeidd-dra tan Argyoeddion.

28. Pedwerydd Ddledswydd gwâs yw *Diwydrwydd*: rhaid iddo ef yn wastad wilied ar hôll Ddledswyddau ei le, heb ymroi i ddiogi a syrthni, nag ychwaith i gadw ofer-gyfeillach, na chwaryddiaeth, nag unrhyw gwrs afreolus arall, yr hyn a dichon ei dynnu ef ymmaith oddiwrth achosion ei feistr. Y mae hyn oll yn Ddledswyddau angenrheidiol ar Diwydrwydd.

wâs

Dos. 15 wâs y rhai sydd raid iddo ei cwplhau yn ofalus ac yn gydwybodus nid cymmint er mwyn gochelyd digofaint ei feistr, a Duw, yr hwn yn ddiammeu eilw ar bòb ún o honynt i gyfrif, pa fodd yr ymddygasant hwy tu ac at ei meistred daiarol.

Meistraid yn dylu i'r Gweision, Gyfiawnder.

29. Y mae hefyd ar tu arall rai pethau yn ddyledus ar y *Meistred* tu at ei *Gweision*: megys yn *gyntaf*, y mae 'r meistr yn rhwym i fôd yn gyfiawn tu ac attynt, yn cyflawni 'r ammodau hynny ar ba rai y llogwyd ef, y cyfryw yn gyffredinol yw rhoddi iddynt ymborth a chyflog, ac y mae 'r meistr hwnnw a attallio y rhai hyn yn Orthrym-ŵr.

Cyngor.

30. Rhaid i'r meistr *Gynghori* ac argyoeddi ei wâs am ei fai, a hynny nid yn unic am feiau yn ei erbyn ei hún, lle nid oes ond ychydig feistred yn ddiffygiol, ond hefyd ac yn fwy enwedig am feiau yn erbyn Duw, o achos pa rhai y dyle dôb meistr ei gythrwblio ei hún yn fwy nag am feiau sydd yn unig yn tueddu at ei golled neu'i anghyfleusdra ei hûn, gan yr haedda ddianrhydedd Duw, ac enbydrwydd Enaid y gwaelaf o ddyn, ein cythryfwl ni yn fwy o anfeidrol, na dim arall. Ac am hynny pan fo meistred yn ebrwydd ar dân am ryw esgeulusdra bychan ei gwâs tu ac attynt ei hunain, ac etto a fedran edrych arnynt yn ddi-gynnwrf yn rhedeg i'r pechodau mwyaf yn erbyn Duw, arwydd yw hynny ei bôd nhw yn ystyried gormod ei hachosion ei hunain, a gogoniant Duw ac Eneidiau ei Gwenidogion rŷ fychan. Hyn yn rhŷ gyffredinol yw tymmer Meistraid y maent hwy gan mwyaf yn

ddi-

ddi-fatter pa fódd yr ymddŵg ei gweision hwy ei hunain tu ac at Dduw, ni waeth ganddynt er mor afreolus ac halogedig a fo ei teuluoedd, ac am hynny ni ròn hwy ûn rhybudd, na chyngor iddynt, i'w hannog hwynt i Rinwedd; y mae 'r cyfryw Feistred yn anghofio y bydd raid iddynt ryw ddydd roddi cyfrif pa fodd y llywodraethasant ei teuluoedd. Yn ddiammeu Dledswydd pôb Llywiawdwr yw ymegnío i anghwanegu Duwioldeb a Chrefydd ymŷsg pawb a fo tan ei ofal ef, a hynny yn gystal yn y Llywodrath leiaf hon o deulu ac yn y fwyaf honno o Deyrnas neu genhedl. Yr oedd Dafydd mor ofalus am hyn, a'i fôd ef yn proffessu, *Psal.* 101.7. *Na thrig o fewn ei dy ef y rún wnelo dwyll, na chadarnheuid yn ei olwg ef yr hwn a ddywedai gelwydd*; roedd ef yn ei dybied ei hún cymmhelled yn rhwym i weled fôd ei deulu ef yn fáth ar Eglwys, neu Gymmanfa o wŷr duwiol dihalog: a phe bydde pôb Meistred teuluoedd o'r ún feddwl, nhw a gaen heb law 'r gwobr tragywyddol am hynny ar ôl hyn, weled bûdd presennol yn hynny, fe ái ei hachosion bydol hwynt, yn well ymlaen o lawer; canys, os dygid ei gweision hwynt i wneuthur cydwybod o'i ffyrdd, yna ni feiddien nhw fôd nag yn esgeulus nag yn ffals. Sul. 15.

31. Ond megys ac mae Dledswydd Meistraid yw Rhybuddio ac argyoeddi ei Gwenidogion, felly rhaid iddynt edrych hefyd am wneuthur hynny mewn *modd ddyladwy*, hynny yw fal y bo cyffelypaf wneuthur daioni iddynt; nid mewn gwŷn a chynddaredd, yr hyn ni

wná

Dos. 15 wná i'r gwenidog ond ei ddirmygu a'i gashau ef; ond a'r cyfryw ymadroddion Sobr a phwyllog, ac a'i gwnelo ef yn deimladwy o'i fai, ac a'i ficcrháo ef hefyd mai gwîr ddeisyfiad o'i wellháad ef (ac nid ewyllys i ddangos allan ei gynddaredd ei hún) fydd yn gwneuthur i'r Meistr fal hyn ei argyoeddi ef.

Esampl dda.

32. *Trydydd* Dledswydd Meistr yw gosod *Esampl dda* o onestrwydd a Duwioldeb i'w weision, heb ba ún ni wná ei holl gynghorion, na'i argyoeddion ef ddim llesháad; oblegid onid-é y mae fo yn tynnu i lawr mwy a'i *Esampl*, nag yw bossibl iddo ef ei adeiladu a'r llall; ac ynfydrwydd yw i feistr meddw, neu halogedig ddisgwyl teulu sobr, a duwiol.

Moddion o Addysg.

33. Yn *Bedwerydd*, rhaid i'r Meistr edrych na bo ar ei Wenidogion ef eisieu moddion o gael ei haddyscu yn ei Dledswyddau, ac hefyd ar fód iddynt gael amserau arbennig i addoli Duw yn gyhoeddus trwy gael Gweddiau yn y teulu: Ond mi a rois hyn ar lawr yn barod wrth draethu am *Weddi*, ac am hynny ni adrodda'i ymma ddim anghwaneg.

Cymmedrolder yn ei Orchymyn.

34. Yn *bummed*, Rhaid i'r Meistr yn ei holl negeseuau ei hunan, roddi *Gorchymynion* rhesymol a *chymmedrol*, heb osod ar ei Weision fwy beichiau nag a allont ei ddwyn, yn enwedig na ofynno gymmaint o waith ganddynt, ac na bo iddynt ddim amser i'w dreulio ar ei Heneidiau; megys o'r tu arall ni wasanaetha iddo ef oddef iddynt fyw mor segur, ac a'i gwnelo hwynt nag yn anfuddiol iddo ef, nag a'i bradycho hwynt i ddrwg yn y býd.

35. Yn

Sul. 15.
Cyssur i wneuthur yn yda.

35. Yn *chweched*, rhaid i'r Meistr gyssuro, a rhoi calon yn ei Wenidogion i wneuthur yn dda, trwy ymddwyn mor hael a chariadus tu ac attynt ac y bo ei ffyddlondeb a'i diwydrwydd a'i Duwioldeb hwynt yn haeddu : ac yn ddiweddaf yn ei hóll ymddygiad tu ac attynt, rhaid iddo ef gofio fód gantho ef ei hún, fal y dywed yr Apostol, *Eph. 6. 9. Feistr yn y Néf*, i ba ún y bydd raid iddo ef roddi cyfrif o'i ymddygiad tu ac at ei Wenidog gwaelaf ar y ddaiar. Fe ddarfu i mi bellach redeg ar fyrr trwy'r holl amryw berthynasau hynny, i ba rai y mae ún Ddledswydd neillduol yn ddyledus, ac felly fe ddarfu i mi ar gaingc gyntaf o Ddledswydd tu ac at ein Cymydogion, sef *Cyfiawnder*.

---

DOS-

St. Jo. 13. 34, 35. *



Xan.th 23. Jan'y. 703/4
Lamina 13. Juny. 708. usq3 ad pag. 365.

# DOSPARTHIAD. XVI.

*Dosparthau eraill o'n Dledswydd tu ac ein Cymydog. Am Gariad i Eneidiau dynion, i'w Cyrph, i'w Golud, a'i Henwau da hwynt.*

Cariad.

1. YR *Ail* Dosparth o'n Dléd tu ac at ein *Cymydogion* yw *Cariad*. Hon yw'r Ddledswydd Esenylaidd fawr honno a orchymynnir i ni cyn synyched gan Grist; y *Gorchymyn Newydd*, fal y mae efe ei hún yn ei alw ef, *Jo.* 13. 34. *ar fód i chwi garu ei gilydd*, a hyn a adroddir drachefn ddwywaith yn yr unrhyw bennod, séf *Jo.* 15. 12, 17. Ac Epistol cyntaf St. *Joan* a dreulir agos yn hollawl mewn annogaeth i'r ûn Ddledswydd hon, trwy hyn óll y gwelwn ni nad péth gwael yw hwn, ond péth a orchymynnir yn gaeth iawn ar bawb sy'n proffessu Crist. Yn wîr fe roddes ef ei hûn hyn allan megys nôd ac arwydd ei Ddiscyblion ef, *Jo.* 13. 35. *Wrth hyn yr adnebydd pawb eich bód yn Ddiscyblion i mi, os bydd Cariad rhwng pawb o honoch ai gilydd.*

Drwy hyn —*

Mewn Tuedd meddwl.

2. Fe ellir ystyried y Cariad hwn ddwy ffordd; yn gyntaf, mewn *tuedd meddwl*; yn ail, mewn *Gweithredoedd*. Cariad mewn Tuedd meddwl yw mwyneidd-dra diffúant, yr hon a'n cymmhwysa ni i ewyllysio pôb rhyw ddaioni

ddaioni i eraill, a hynny yn ei hóll leoedd a'i hamgyffred yn yr únrhyw fódd ac y mae Cyfiawnder yn ein rhwymo ni na ewyllysion ni ddim niwed i ún dŷn, nag i'w Enaid, nag i'w Gorph, na'i Olud, na'i henw da : felly y mae'r rhan gyntaf ymma o Gariad yn ein rhwymo ni i ewyllysio pób rhyw ddaioni iddynt ymmhób ún o'r rhain. Sul. 16.

3. An yn *gyntaf* am yr *Enaid*. Os oes genini ond y gwreichionyn lleiaf o Gariad, nid allwn ni lai nag ewyllysio yn dda i Eneidiau dynion; nid yw ond rhesymol i ni ddangos ein Caredigrwydd mwyaf a'n hewyllys da i'r pethau gwerthfawr hynny y tybiodd Crist a haeddai ei prynu a'i waed ei hún; ac am hynny os nyni ni charwn ein gilydd fal hyn, yr ydyn ni ymmhell oddiwrth Ufyddhau'r Gorchymyn hwnnw o garu megys y carodd ef; canys Eneïdiau dynion a garodd ef mor dyner, a darfod iddo wneuthur a dioddef cymmaint trostynt. Y mae dau ffrwyth mawr ac arbennig o'r cariad hwn o'i eiddo ef tu ac at Eneidiau : yn *gyntaf*, ei Puro hwynt ymma trwy'i râs ; yn *ail*, ei gwneuthur hwynt yn ddedwydd yn dragywyddol yn ei ogoniant; a rhaid i ninnau goppío allan bób ún o'r rhain cymmhelled yn ein Caredigrwyd, a dymuno o eigion ein Calonnau i bób dŷn ddyfod i'r purdeb a'r Sancteiddrwydd hynny ymma, fal y gallo ef fód yn gyfrannog o ddedwyddwch tragywyddol ar ól hyn. Fe ellid gobeithio nad allei néb y sydd gantho Enaid o'i eiddo ei hún fód mor greulon i Enaid ún arall, ac nad ewyllysio fo hyn yn ddifrifol, oni bae ein bód ni yn gweled fód

i Eneidiau Dynion.

rhai

Dos. 16 rhai a'i malis mor gythreulig, ac i gyrrhaeddid yn union i'r gwrthwyneb, sef i ddeisyfu nid yn unig pechod, ond hefyd damnedigaeth rhai eraill. Fal hyn y bydd rhai, pan ddioddefant ryw gam neu orthrech, yn ei cyssuro ei hunain, am fód ei gelynnion yn ei *damnio* ei hunain wrth hynny; pan ddyle hynny fód yn fwy gresynol o lawer i Gristion, na phenyd yn y býd neu orthrymder a allant hwy ei ddwyn arno ef. Y mae'r hwn sydd o'r dymmer ymma yn Ddiscybl i Satan, ac nid i Grist, gan fód hyn yn union yn y gwrthwyneb i hóll fwriad y Gorchymyn mawr Cristianogaidd hwnnw, o *garu ein Cymydogion fel ni ein hunain*. Oblegid yn ddiammeu nid oes néb ar sydd yn credu fód y cyfryw béth a *damnedigaeth*, yn ei ewyllysio ef iddo ei hún; er hoffed gantho'r ffyrdd sydd yn denu iddi hi, etto ni ewyllysia fo i hynny fód yn ben ei Siwrne; ac am hynny trwy'r rheol honno o Gariad fe ddyle arswydo cymmaint rhag dychwelyd o hynny i'w gymydog.

I'w cyrph, i'w Golud, a'i henwau da hwynt.

4. Yn *ail*, rhaid ini ewyllysio pob daioni i *Gyrph* dynion, sef pob rhyw iechyd a dedwyddwch; yr ydyni gan mwyaf yn dyner iawn o'n Cyrph ein hunain, yn ofni'r boen neu'r niwed leiaf a áll ddigwydd iddynt: yr awrhon y mae Cariad, trwy rinwedd y Gorchymyn rhagddywededig, yn estyn allan y tynnerwch ymma at bawb eraill, a pha béth bynnag a dybion ni yn ofidus i ni ein hunain, rhaid i ni fód yn anfodlon iddo ddychwelyd i eraill. Yr ûn péth sydd i'w ddywedyd am y ddau eraill, sef ei Golud, a'i henwau da hwynt,

fal

fal megys ac yr ydyni yn ewyllysio ein gwellháad a'n brî ein hunain, felly y dylen ni hefyd eiddo eraill, onid-ë nid ellir byth ddywedyd ein bód ni yn *caru ein Cymydog fal ni ein hunain*. Sul. 16.

5. Fe sydd i'r Cariad hwn mewn Tuedd meddwl, os bydd ef yn ddiffuant, yr amryw ffrwythau hyn, y rhai sydd mor ddiwahan oddiwrtho ef, a'i bód hwynt yn fynych yn y Scrythur yn cael ei cyfrif megys rhannau o'r Ddledswydd, ac felly a ofynnir yn dra-chaeth gennini; Yn *gyntaf*, fe a geidw'r meddwl mewn tymmer heddychlon a *llaryaidd* tu ac at eraill, cymmhelled oddiwrth geisio achosion o ymrysonau, na ddichon annogaeth yn y bŷd ein denu ni i hynny; oblegid anhawdd iawn i ni gwerylu lle y bo gennini Garedigrwydd, gan mae ûn o arbennig cynnheddfau Cariad yw, *na chythruddir mono ef yn hawdd*, 1 Cor. 13. 5. Ac am hynny y mae pwy bynnag sydd yn annhangneddyfus yn dangos nad yw'r *Cariad* hwn yn ei galon ef. Yn *ail* fe a gyd-tosturia a holl drueni rhai eraill; y mae pób anffawd a ddigwydd lle y bo ni yn ewyllysio yn dda, yn fáth ar drychineb ac aflwydd i ni ein hunain; ac am hynny, os ydyn ni yn ewyllysio yn dda i bawb, ni a ddylen fal hyn ein hymddwyn ein hunain am drueni pawb, séf, ymofidio yn ddifrifol wrth weled néb mewn helbul, a hynny yn ól fel y bo'r gofid arnynt. Yn *Drydydd*, fe a wná i ni lawenhychu yn llwyddiant rhai eraill; fe ddywed *Solomon* Dihar. 13. 19. *Mae dymuniad wedi ei gyflawni sydd hyfryd gan yr Enaid*; ac os felly, yna pwy Ffrwythau Cariad

Dos. 16 bynnag sydd gantho'r ewyllys difrifol hwn o ddedwyddwch ei Gymydog, y mae ei ddymuniad ef gwedi ei gyflawni yn ei lwyddiant ef, ac felly nid all ef ond ymfodloni, ac ymhyfrydu yn ddirfawr yn hynny. Y mae St. *Paul* yn yr ûn man yn gorchymyn pób ûn o'r rhain, *Rhuf.* 12. 15. *bód yn llawen gyda'r llawen, ac wylo gyda'r wylofus.* Yn *Bedwerydd*, fe a'n hannog ni i weddío tros eraill: yr ydyni o honon ein hunain yn greaduriaid lléfg egwan, heb allu rhoddi bendithion lle yr ewyllysion ni fwyaf, am hynny os ydyn ni yn gwir-ddeisyfu daioni eraill, rhaid i ni geisio hynny drostynt gantho ef, oddiwrth ba ûn y mae pôb *rhódd dda a pherffaith yn dyfod, Jaco.* 1. 17. Y mae hyn yn rhan mor angenrheidiol o Gariad, nad yw ein mwynder ni heb hyn ond péth disylwedd, a máth ar ofer-foes gwâg. Oblegid pa fódd y gellir credu fôd gantho ef wîr ewyllys da i ûn yr hwn ni chlyw ar ei galon weddío trosto, heb yr hyn béth nid yw ei ewyllysion ef ond gwâg a difuddiol? Nid oedd yr Apostol yn tybied yn gymwys adael dynion i'w hewyllysion da yn unig, ond y mae efe yn annog fód *ymbil gweddiau, a thalu diolch dros bôb dyn,* 1 *Tim.* 2. 1. Yr hwn orchymyn fe gyd-ffurfia pób dŷn ac ef yn barod, ar sydd gantho'r gwîr garedigrwydd calon ymma. Y mae'r amryw bethau hyn mor naturiol yn ffrwythau o'r Cariad hwn, fal nad yw'r dŷn hwnnw ond ei siommi ei hûn ar sydd yn meddwl fód y Cariad hwn gantho, yr hwn ni ddichon brofi hynny yn eglur trwy'r ffrwythau hyn.

6. Ond

Sul. 16.

6. Ond y mae etto odidowgrwydd anghwaneg o'r grâs hwn; y mae ef yn cadw'r meddwl yn ddiogel oddiwrth amryw drosseddiadau dirfawr a pheryglus; megys yn *gyntaf*, oddiwrth *Genfigen*; hyn, medd yr Apostol, yw priodoldeb Cariad, 1 *Cor*. 13.4. *Cariad ni chenfigenna*; ac yn wîr fe all rheswm cyffredin gadarnhau hyn i ni, oblegid *Cenfigen* gofid yw am lwyddiant arall, ac am hynny rhaid iddo fód yn union yngwrthwyneb i'r deisyfiad hwnnw, yr hwn a ddangosasom o'r blaen sydd yn tarddu o Gariad; yn gymmaint, ac os yw Cariad yn rheoli yn y galon, yn ddiau fe a ymlid allan *genfigen*. Mor ofer gan hynny y cymmer y rheini arnynt fód ganddynt y Rhinwedd hon, y rhai ydynt yn wastad yn gwrwgnachu, ac yn ymofidio am bób damwain da i eraill?

Mae ef yn bwrw allan Genfigen.

7. Yn *ail*, y mae ef yn cadw i lawr *Falchder* ac *Uchder*. Hyn hefyd y mae'r Apostol yn ei ddyscu ini, 1 *Cor*. 13. 4. *Cariad nid yw anhydyn, nid yw yn ymchwyddo*; ac yn gyfattebol i hyn ni a welwn, mae lle y gorchymynnir y Rhinwedd hon o *Gariad*, yna y cyssylltir hefyd *ddarostyngeiddrwydd*: megys *Col*. 3. 12. *Gwiscwch ymysgaroedd tosturiaeth*, *gostyngeiddrwydd*, *addfwynder*, a *Rhuf*. 12. 10. *mewn Cariad brawdol byddwch garedig i'w gilydd*, *gan flaenori ei gilydd yn rhoddi parch*; lle y gwelwch chwi mor agos y cyd-sylltir y ddau ymma, gostyngeiddrwydd a Chariad. Y mae hwn yn wîr yn tarddu yn naturiol o gariad, canys y mae Cariad, yn wastad yn gosod brî a pharch ar y péth a gerir; fal hyn y gwelwn ni yn rhŷ fynych mewn

Balchder.

Dos.16 priod-gariad, fe a wná i ni feddwl yn uchel o honom ein hunain, ein bód ni yn fwy rhagorol na dynion eraill. Yr awrhon os ymddug Cariad a fo fal hyn gwedi ei sefydlu arnon ein hunain falchder, trown ond yn y gwrthwyneb, a throswn y Cariad hwn ar ein Brodyr, ac efe yn siccr a ymddug ostyngeiddrwydd, canys yna ni a welen ac a barchen y donniau a'r godidowgrwydd hynny o eiddo eraill, y rhai y mae ein balchder ni yr awrhon, neu ein Casineb yn gwneuthur i ni ei dirmygu, neu ei hesgeuluso; ac nid tybied yn rhesymol na'i dibrisio hwynt, na'n mawrygu ein hunain ar y cyfryw gyffelybiaeth; ni a welen yn ddiammeu achos i arferu cyngor yr Apostol, *Phil.* 2. 3. *i dybied eraill yn well na ni ein hunain.* Pwy bynnag gan hynny sydd cyfuwch ei feddwl ac i ddirmygu a dibrisio eraill, gwybydded yn ddiammeu nad yw'r Cariad hwn gwedi gwreiddio yn ei galon ef.

Cam-dyb. 8. Yn *drydydd*, y mae ef yn bwrw ymmaith *Cam-dyb*, a *barn fyrbwyll*; Cariad, medd yr Apostol, 1 *Cor.* 13. 5. *ni feddwl ddrwg*, ond o'r tu arall, fal y mae'n calyn, *gwer.* 7. *y mae'n credu pób dim, yn gobeithio pób dim*; hynny yw, y mae ef yn barod i gredu ac i obeithio 'r goreu am bób dŷn; ac yn wîr y mae'n profiad ein hunain yn dywedyd i ni yr ûn péth, canys lle y bo ni yn caru, nid ydyw mor hawdd gennini ganfod beiau, er maint fyddont (fal y tystia'r dallineb mawr sydd gennini yn gyffredinol tu ac at yr eiddom ein hunain) ac felly yn ddiammeu ni a fyddwn pell oddiwrth wneuthur beiau, lle ni bónt, neu'i gwneuthur

thur nhw yn fwy nag yn wîr y maent: Ac yna o bale y mae'r tŷb annrhugarog a'r barnau byrbwyll o eraill, mor gyffredinol ymysg dynion yn tarddu, ond o eisieu 'r Cariad hwn? Sul. 16.

9. Yn *Bedwerydd* y mae'r Cariad ymma yn bwrw heibio *Ledrith* a llaryeidd-dra ffugiol; lle y mae'r gwîr a'r diffúant gariad hwn, y mae'r ún ffals eulunaidd hwnnw yn diflannu, a dymma'r Cariad a orychmynnir i sód gennini, séf, *Cariad heb ragrith*, *Rhus*. 12. 9. Yn wîr lle y bo hwn wedi ei wreiddio yn y galon, ni ddichon bód desnydd yn y bŷd o Ragrith: oblegid y mae hwn mewn gwirionedd yn gymmaint óll ac y chwennychei'r ún ffals ymddangos i sód, ac felly y mae ef cymmhelled tu hwynt iddi hi, ac y mae Natur tu hwynt i gelfyddid; neu yn hyttrach cymmhelled ac y mae rhinwedd dduwiol tu hwynt i bechod ffiaidd, canys y cyfryw ún yw'r Caredigrwydd ffugiol hwnnw; ac etto se ellir ofni sód hwnnw yn rhŷ synych yn trais-feddiannu lle'r gwîr gariad hwn; y mae'r ffrwythau o hyn yn rhŷ hynod yn ein mysg ni, gan nad oes dim yn fwy cyffredin na gweled dynion yn gwneuthur addewidion helaeth o Gariad i'r rhai cyn gynted ac y tróant ei cefnau y bónt hwy naill ai'n ei gwatwor neu'i drygu. Lledrith.

10. Yn *bummed*, *Nid yw Cariad yn ceisio yr eiddi ei hunan*, 1 *Cor*. 13. 5. Y mae ef o dymmer mor hynaws a bonheddigaidd, a'i sód yn dirmygu pób cynllwynion er mwyn ei sudd, neu'i elw ei hunan. Ac am hynny y mae'r sáth wael sarsiandiaidd honno o Gariad mor gyn- Bûdd-gynllwyn.

Dos. 16 nefin yn y bŷd, yr hon sy'n ei sefydlu ei hûn yn unig lle y bo bûdd i'w ddisgwyl, ymmhell iawn oddiwrth y Cariad hwn.

Díal. 11. Yn *ddiweddaf*, y mae 'r Cariad yma yn torri allan o'r galon bób malis a chwennych díal, yr hyn sydd yn hollawl mor wrthnebus iddi hi, nad ydyw bossibl iddynt ill dau aros yn yr ûn fonwes; Priodoldeb Cariad yw, *goddef pób dim*, 1 *Cor*. 13. 7. Cyd-ddwyn a'r cam mwyaf, heb feddwl gwneuthur tál yn y bŷd am danynt ond gweddiau a Bendithion, ac am hynny y dŷn maleisus, a'r ymddial-ŵr yw'r dieithraf yn y bŷd i'r Cariad hwn.

12. Gwîr yw, os bydd rhaid arferu'r Rhinwedd hon ond tu ac at rai máth ar ddynion, hi a ddichon gyd-sefyll a malis tu ac at eraill, gan y dichon ûn sydd yn llwyr gashau'r naill ddŷn, garu'r llall; ond rhaid i ni ystyried na wasanaetha gosod tersyn felly i'r Cariad hwn, ond rhaid iddo ymystyn allan, a chyrrhaeddid pób dŷn yn y bŷd, yn bendifaddeu *Gelynnion*, neu onid-ë nid yw ef y Cariad duwiol hwnnw a orchymynnir i ni gan Grist. Y mae caru ein *cyfeillion a'r sawl a'n caro ninnau* yn râdd mor isel o gariad ac y gallei 'r *Pwblicanod a'r Pechaduriaid ei chyrrhaeddid hi*, séf, y gwaethaf o ddynion, *Mat*. 5. 46. Ac am hynny ni chyfrifir moni hi i haeddu gwobr mewn Discybl i Grist; na, fe ddisgwylia fo i ni ehedeg yn uwch, ac am hynny y gosododd ef i ni y Gorchymyn mwy Ysprydol a rhagorol hwn o garu ein gelynnion, *Mat*. 5. 44. *Yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych chwi, carwch eich Gelynnion, ben-*

dithiwch

*dibiwch y rhai a'ch melldithiant, a gweddiwch* Sul. 16.
*tros y rhai a nél niwed ichwi ac a'ch erlidiant*; a phwy bynnag ni wnelo fal hyn, ni chymmerir mono fŷth am Ddiſcybl i Griſt. Rhaid i ni gan hynny wybod fód y cwbl ar a draethwyd ynghylch y Cariad hwn yn perthyn yn gyſtal i'n gelyn mwyaf ac i'n gelyn carediccaf. Ond oblegid mae Dledſwydd yw hon i bâ ûn y mae natur ffromm dŷn yn annhueddus iawn iddi, mi a ſafaf ychydig ar rai yſtyriaethau i'n hannog ni iddi hi.

Lan. 30 Jany 1703
Llanina 11 Jun. 708

13. Ac yn gyntaf yſtyriwch béth a ddywedwyd yn barod, mae *Gorchymyn* Criſt yw hyn yn y Teſtyn a oſodwyd ar lawr uchod, ac yn amryw eraill, gan nad oes ond prin ûn Gorchymyn a roddir ar lawr mor fynych yn y Teſtament newydd, a hwn o garu a maddeu ein gelynnion; megys *Eph.* 4. 32. *Byddwch gymmwynaſcar i'w gilydd, a thrugarogion, gan faddeu i'w gilydd*; a thrachefn, *Col.* 3. 13. *Gan gydddwyn a'i gilydd, a maddeu i'w gilydd, os bydd gan ûn gweryl yn erbyn néb: megys y maddeuodd Criſt i chwi, felly gwnewch chwithau*; felly hefyd, 1 *Pet.* 3. 9. *Nid yn talu drwg am ddrwg neu ddirmyg am ddirmyg; eithr yngwrthwyneb, bendithiwch.* Aneirif o leoedd a ellid ei ddwyn i'r pwrpas hwn, ond y mae y rhain yn ddiammeu yn ddigon i brofi yn eglur fód Criſt yn gorchymyn i ni hyn yn gaeth; ac yn wir yr wyfi'n meddwl nad oes nemmawr a glywodd erioed ſôn am yr Efengyl, na ŵyr hyn; mwy rhyfedd aruthrol yw fód dynion ſy'n ei galw ei hunain yn Griſtianogion heb roddi Ufydd-dod yn y bŷd iddo ef, ac nid hynny yn

Dosp.16 unic ond adrodd ar gyhoedd ac addef y gwrthwyneb, fal y gwelwn ni rai beunydd yn gwneuthur, yn gymmaint a bód yn arferol i ddynion lawn-fwriadu a chyhoeddi na faddeuan nhw byth i'r cyfryw a'r cyfryw ddŷn, ac ni ddichon yr ystyriaeth o Orchymyn Crist ei troi nhw o'r meddwl hwnnw. Yn ddiammeu nid yw'r cyfryw ddynion yn deall beth ydys yn ei feddwl wrth y gair *Cristion*, yr hwn sy'n arwyddoccau gwâs a Discybl i Grist, a'r Cariad hwn yw arwydd y naill, a gwers y llall: ac am hynny anghysson iawn a diresŵm yw i rai ei professu ei hunain yn Gristianogion, ac etto yn yr ún amser gwrthwynebu y Gorchymyn arbennig hwn o eiddo Crist, yr hwn y maent yn ei gydnabod megys yn *feistr* iddynt. *Os ydwyf fi feistr*, medd Duw, *pa le y mae fy ofn? Mal.* 1. 6. Y mae Ufydd-dod a Pharch yn Ddledswyddau gweision, yn gymmaint na thybiir, fód néb yn edrych arno ef yn feistr, i ba ún nid yw ef yn ei talu hwynt. *Pa ham yr ydych yn fyngalw i Arglwydd, Arglwydd, gan nad ydych yn gwneuthur yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd?* medd Crist, *Luc.* 6. 46. Yr hóll fŷd a gyfrennir yn ddau deulu mawr, eiddo *Crist*, ac eiddo *Satan*, ac y mae'r Ufydd-dod y mae pób dŷn yn ei dalu yn arwyddoccau i ba ún o'r meistred ymma y mae ef yn perthyn; os ydyw ef yn Ufydd-hau *Crist*, i *Grist*; os *Satan*, i Satan. Yr awrhon nid ellir mewn dim Ufydd-hau mwy i'r Yspryd drŵg hwnnw, na thrwy'r pechod hwn o falis a dial, yr hwn yw cymmeriad ei wîsg ef am ein cefnau, a chyhoeddiad hynod gweision i bwy ydyn ni. Pa ddigywilydd-dra rhyfeddol gan hynny yw i ddynion y

rhai

rhai a'i hymroesant ei hunain sal hyn i fód o deulu Satan, gymmeryd arnynt fod yn weision i Grist? Gwybydded y cyfryw rai yn ddiammeu na chymmer Crist mo honynt yn eiddo ef, eithr y try efe hwynt, ar y dydd mawr o gyfrif, at ei Meistr priodol, i dderbyn ei gwobrau mewn tân a brwmstan. Sul. 16.

cof

14. Yr *ail* ystyriaeth yw *Esampl Dduw*: Rheswm yw hwn y gwelodd Crist ei hún yn gymmwys i'w arferu, er mwyn ymhyrddu'r Ddledswydd hon arnon ni, *Luc.* 6. 35, 36. lle gwedi iddo ef roddi'r Gorchymyn *o garu gelynion*, y mae ef yn annog i'r ymarfer o hynny, trwy ddywedyd mae hynny a'n gwná ni yn *Blant y Goruchaf* (hynny yw, a'n gwná ni yn debyg iddo ef, sal y mae Plant i'w Rhieni) *Canys daionus yw efe i'r rhai anniolchgar a drwg*; ac i'r unrhyw bwrpas y darllennir, *Mat.* 5. 45. *Y mae efe yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn glawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn.* Ac y mae hyn yn ddiau yn ystyriaeth rymmus iawn i'n hannog ni i'r Ddledswydd hon. Ni a wyddon mae Duw yw ffynnon perffeithrwydd, a bód yn debyg iddo ef yw summ y cwbl a allon ni ei ewyllysio; ac er mae cwymp *Lucifer* oedd ei chwant ef i fód yn debyg i'r Goruchaf, etto pe buasei fo yn chwennych ond yn unig fód yn debyg iddo mewn Sancteiddrwydd a daioni, fe allasei etto fód yn Angel goleuni: Yr ewyllys hwn o ddilyn Esampl ein Tâd Nefol yw arbennig nôd plentyn iddo ef. Yr awrhon y mae'r addfwynder a'r daioni hwn i elynion yn dra hynod a rhagorol yn Nuw, ac hynny nid yn unic o herwydd

cof

Pos. 1·6 wydd y trugareddau amserol, y rhai y mae efe yn ei rhoddi i bawb yn ddiwahan, sef *ei haul a'i law ar yr anghyfiawn*, fal yn y Testyn uchod, ond yn enwedig yn ei drugareddau Ysprydol. Yr ydyn ni oll trwy ein drwg weithredoedd yn *Elynnion iddo ef*, *Col.* 1. 21. ac fe syrthiasei echrys y gelyniaeth hwnnw yn hollawl arnom ein hunain, nid oedd gan Dduw annogaeth yn y bŷd heb law ei dosturi tu ac atton ni i chwennych cymmod, etto cymmhelled oedd efe oddiwrth ddial arnon ni am ein gelyniaeth ni, (fall y gallasei fo'n hawdd i'n tragywyddol ddinistr ni) a'i fód ef yn dychymmig ac yn bwriadu pa fódd i'n dwyn ni i fód mewn heddwch ac efo. Grâdd anfeidrol o drugaredd a charedigrwydd yw hyn, ond y mae'r moddion a arferodd ef i ddwyn hynny i ben, tu hwynt etto i hynny; Efe a *anfonodd ei fâb ei hún* o'r Nefoedd i weithio hyn allan, a hynny nid yn unic trwy addysc a chynghorion, ond trwy ddioddefiadau hefyd; cymmaint brî a osododd ef arnon ni greaduriaid truain, ac na thybiodd ef yn rhŷ ddrûd iddo ein prynu ni a gwaed ei Fâb ei hún. Yr unrhyw Esampl o drugaredd ac ammynedd a welwn ni yn *Ghrist*, yn gystal *yn gosod ei einioes i lawr troston ni ei Elynnion ef*, ac hefyd yn y módd llaryaidd hwnnw o wneuthur hynny, yr hyn a osodir ar lawr yn rhagorol gan yr Apostol, 1 *Petr.* 2. 22, 23, 24. ac sydd er siampl i ninnau, *gwer.* 21. Yr awrhon yn ddiammeu pan ystyrir hyn óll, ni a allwn yn dda ddywedyd gyda St. *Joan*, *Anwylyd, os felly y carodd Duw ni, ninnau a ddylem garu ei gilydd*, 1 *Jo.* 4. 11. Mor gywilyddus o bêth yw i ni gadw digofaint yn erbyn ein

Brodyr,

Brodyr, pan yw Duw fal hyn yn dodi he- Sul. 16.
bio ei ddigofaint ef tu ac atton ni, a hynny gwedi i ni ei annog ef mor ddirfawr?

15. Hyn a'n cyfarwydda ni i'r *drydydd ystyriaeth*, cyffelybu ein pechodau ni yn *erbyn Duw*, a chamweddau ein brodyr yn ein herbyn ni, yr hyn cyn gynted ac a gwnelon, fe geir gweled rhagoriaeth ddirfawr rhyngddynt, a hynny mewn amryw bethau; canys yn *gyntaf* y mae *Mawrbydi* yr hwn yr ydyn ni yn trosseddu i'w erbyn, yn anghwanegu 'r euogrwydd yn ddirfawr, lle ni ddichon bód cymmaint cyfrwng rhwng dŷn a dŷn, canys er bôd rhai dynion gwedi ei derchafu gan Dduw i'r cyfryw uchder breiniol, ac a wná 'r camwedd a wneir i'w herbyn hwynt yn fwy, etto nid ydynt hwy ond dynion o'r ûn anian a ninnau, lle y mae fo yn *Dduw bendigedig yn oes oesedd*; Yn *ail*, y mae ei *oruchafiaeth* a'i allu ef, yr hyn sydd o'r dechreuad yn Nuw, oblegid ei greaduriaid ef ydyn ni, ni a derbyniasom ein cwbl *fôd* oddiwrtho ef, ac am hynny ydyn yn rhwymedig yn y mesur eithaf i berffaith ufydd-dod, lle nid yw'r holl oruchafiaeth a dichon fód gan y naill ddŷn tros y llall, ond gwedi ei roddi iddo gan Dduw, a chan mwyaf nid oes dim o hyn ychwaith yn y matter, gan fód cwerylon yn gynnefinaf rhwng rhai cydradd. Yn *drydydd*, y mae ei *annherfynol haelioni* a'i ddaioni ef tu ac atton ni, gan mai ei rôdd ef yn hollawl yw 'r cwbl yr ydyn ni yn ei fwynhau, pa ûn bynnag ai a berthyn i'r bywyd hwn, neu i ûn gwell, ac felly fe adroddir yr anniolchgarwch

mwyaf

Dos.16 mwyaf at ein camweddau eraill ; o herwydd yr hyn beth hefyd ammhossibl yw i'r naill ddŷn drosseddu yn erbyn y llall yn y cyfryw fesur, oblegid er y dichon ûn fód ( ac y mae gormod ysowaith) yn euog o anniolchgarwch tu ac at ddynion,etto o herwydd fôd y doniau mwyaf a ddichon dŷn ei rhoddi, o anfeidrol yn fyrr o'r rhai y mae Duw yn ei rhoddi, nid all yr anniolchgarwch o lawer fód cymmaint a hwnnw tu ac at Dduw. Yn *ddiweddaf*, y mae *mawredd* a *lliaws* ein pechodau ni yn erbyn Duw yn fwy o anfeidrol na 'r hôll rai a ddichon y dŷn mwyaf camweddog ei gwneuthur yn ein herbyn ni ; oblegid yr ydyn ni ôll yn pechu yn fynychach o lawer ac yn echryslonach yn ei erbyn ef, nag y medr ûn dŷn, er mor faleisus y bo, gael odfáu i ddrygu ei frodyr. Yr anghyfartalrwydd a'r anghymmesurwydd hwn y mae ein Hiachawdr yn crybwyll am dano yn y ddammeg, *Matth.* 18. lle yr arwyddocceir ein camweddau ni yn erbyn Duw trwy 'r *deng mîl o dalentau*, ac y portreiir eiddo ein brodyr yn ein herbyn ninnau trwy 'r *can ceiniog* ; y mae Talent yn drymmach o anfeidrol na cheiniog, a deng mîl yn fwy o rîf o lawer na chant,[ etto cymmaint a hynny a mwy o lawer] y mae pŵys a nifer ein pechodau ni tu hwynt i holl gamweddau rhai eraill i'n herbyn ni : llawer mwy a ellid ei ddywedyd i ddangos yr anghymmesurwydd dirfawr rhwng y beiau y mae Duw yn ei maddeu i ni, a'r rhai a all fód gennin ni] i faddeu i'n Brodyr : Ond yr wyfi 'n meddwl fôd hyn yn ddigon i ostegu y cwbl a all dynion creulon ac ymddial-wŷr ei draethu

thu yn erbyn y Caredigrwydd hwn i *Elynion.* Sul. 16.
Y maent hwy yn barod i edrych ar hyn megys ſpéth anghyſſon a *direſwm*, ond gan fôd Duw yn gwneuthur hyn mewn meſur uwch o lawer, pwy a ddichon heb gabledd ddywedyd fód hynny yn ddireſwm ? Os ymddengys hon, neu unrhyw Dledſwydd ysprydol arall felly i ni, ni a allwn ddyſcu yr achos o hynny gan yr Apoſtol, 1 *Cor.* 2. 14. *Dyn anianol nid yw yn deall y pethau ſydd o Yſpryd Duw, canys ffolineb ydynt gantho ef*; cnawdoliaeth ein Calonnau ni ſydd yn gwneuthur iddynt ymddangos felly, ac am hynny gadewch i ni yn lle ymddadleu yn erbyn y Ddledſwydd, burb ein calonnau oddiwrth hynny, ac yna ni a ganfyddwn hynny yn wîr, yr hyn y mae Doethineb yſprydol yn ei draethu am ei hathrawiaethau, *Dihar.* 8. 9. *Y maent hwy oll yn amlwg i'r neb a ddeallo, ac yn uniawn i'r rhai a chwenychant wybodaeth.*

16. Ië, y mae caru Gelynion nid yn unic yn Ddledſwydd rheſymol, ond yn ûn *hyfryd* hefyd, a dena 'r bedwerydd Yſtyriaeth; y mae llawer iawn o felusdra ac o ddifyrrwch i'w gael ynthi hi ; yr wyf i'n cynabod na dichon néb farnu yn gyſtal o hyn, ar' rhai a'i harferaſant hi, gan fôd natur pleſerau diarol hefyd yn gyfryw, ac mai ei mwynháad nhw yn unic a ddichon gwneuthur i ddŷn ei gwir-hadnabod hwynt, ni ddichon ûn dŷn felly draethu i arall archwaeth rhyw béth danteithiol, fal y gallo ef wrth hynny wybod ei flâs ef ; rhaid iddo yn gyntaf ei archwaethu ef ei hún ac yn ddiammeu y mae yn ſwy o lawer felly mewn pleſerau

Hyfrydwch y Ddledſwydd hon.

Dos. 16 rau Ysprydol, ac am hynny pwy bynnag a chwennycho wybod yn gyflawn felusdra ac hyfrydwch y Ddledswydd hon, ymroed i'w harferu hi, ac yna ei brofiad ei hún a ddwg hynny iddo ef oreu ar ddeall: Ond yn y cyfamser, mor dra-anghyfiawn ac ynfyd yw traethu yn ddrwg am dano cyn profiad? I ddynion ddywedyd, fôd hyn yn flin ac yn anoddefus, y rhai ni chynnigiasant erioed brofi a yw hynny yn bòd mewn gwirionedd, a'i nad yw? Etto trwy 'r moddion hyn y dygir tŷb ddrwg o'r *Ddledswydd dra-hyfryd* hon, ac y mae dynion yn hygoelyiawn o hyn, lle mewn pôb cyfiawnder, ni ddylid mor cymmeryd tystiolaeth o hyn ond gan y rhai a'i profasant hi, a rheini yn ddiammeu a fodde i gyfrif amgenach o honi hi.

17. Er nad ellir cael llawn wybodaeth o hyn ond yn unic trwy 'r cydnabyddiaeth agos ymma, etto mi debygwn y galle y rhai sy'n edrych arni hi ond o hirbell ddirnad péth *hawddgarwch* ynddi hi, pette ond trwy ei chyffelybu hi ac anesmwythdra y gwrthwyneb: malis a dîal yw 'r anwydau anesmwythaf a blinaf ar a ddichon feddiannu meddwl dŷn, y maent yn cadw dynion mewn astudrwydd a gofal diibaid pa fódd i ddwyn ei hamcanion drŵg i ben, y maent yn aflonyddu ei cwsg hwynt, fal y dywed *Solomon, Dihar.* 4. 16. *Ni chyscant nes gwneuthur drwg, a'i cwsg a gollant nes iddynt gwympo dyn*: Ie, y maent yn chwerwi 'r holl bethau daionus y maent yn ei fwynhau, fal nad ydynt yn ei harchwaethu nag yn clywed blâs arnynt; esampl eglur o hyn sydd

Hyfrydwch y Ddledswydd hon.

i ni

i ni yn *Haman*, yr hwn er bôd gantho ddigo- Sul. 16.
nedd ac helaethrwydd o fawredd a dedwydd-
wch y bŷd, ettó yr oedd y malis oedd gan-
tho i ddŷn truan dirmygus, *Mordecai*, yn
rhwystro iddo ef *arclwaithu bodlonrhwydd* yn
y bŷd yn y cwbl, fal y gellwch weled, *Est.* 5.
lle gwedi iddo ef draethu i'w gyfneseifiaid ei
holl wynfŷd, *gwer.* 11. y mae fo yn dibennu
fal hyn, *gwer.* 13. *Ond nid yw hyn oll yn lleshau
i mi, tra 'r ydwyf fi yn gweled Mordocëus
yr Iddew yn eistedd ymmhorth y brenin.* O'r tu
arall y mae 'r Yspryd heddychlon, yr hwn a
ddichon basio heibio bôb camwedd a farhâad
yn llonydd, yn mwynhau tawelwch dibaid, ac
y mae ef uwchlaw malis ei elynion, canys
gwnánt hwy a allont, nid allant ddwyn ei
lonyddwch ef oddiarno, y mae efe yn gadarn
fal y *graig*, yr hon ni ddichon na thymestl na
gwynt mo 'i fymmud, pan yw 'r dŷn naw-
fwyllt a'r ûn fy 'n hoffi diall fall *tonn*, yr hon
y mae 'r awel leiaf yn ei thaflu ac yn ei bw-
hwmman o'i lle. Ond heb law 'r aflonydd-
wch ymma oddimewn fydd i'r ymddialwŷr
y maent hwy yn fynych yn dwyn llawer o
helbul oddiallan arnynt ei hunain, y maent yn
cythruddo ei gelynion, ac yn ei hannog hwynt i
wneuthur y drygau mwyaf iddynt ar a allont,
ië y maent yn fynych yn ei rhedeg ei hunain
ar y trueni mwyaf wrth gynllwyn ei dial,
i ba ûn y mae 'n gyffredinol gweled rhai yn
aberthu ei *Golud*, *Esmwythdra*, *Enw da*, *Bywyd*,
ië a'i *Heneidiau* hefyd, heb fôd yn waeth gan-
ddynt beth a ddioddefont ei hunain am y
caffont ddrygu ei gelyn; mor rhyfeddol y mae
'r wŷn echryslonhon yn ynfydu ac yn dallu dy-
nion.

Dos.16 nion. O'r tu arall y mae 'r dŷn *llarÿaidd* yn fynych yn toddi digofaint ei wrthwyneb-ŵr, *atteb arafaidd a ddettry lîd*, medd *Solomon, Dihar.* 15. 1. Ac yn wîr nid oes dim well i'r diben hwnnw ; ond os digwydd i'w elyn ef fôd mor greulon, fal na thyccia hyn, etto y mae efe yn ennill-ŵr trwy 'r cwbl a all ef ei ddioddef. Canys yn *gyntaf*, y mae efe 'n ennill odfa i arferu 'r grâs tra-christianogaidd honno o gariad a maddeuant ; ac felly o'r unwaith o ufyddhau 'r gorchymyn, a dilyn siampl ei Iachawdr, yr hyn sydd fudd gwerthfawr i'r gwîr Gristion ; a thrachefn yn *ail* y mae fo 'n ennil cynnydd ac anghwannegiad ei wobr ar ôl hyn. Ac os *dywedir*, na ddylid cyfrif hynny yn bleser presennol y Ddledswydd : mi a *attebaf*, fôd y disgwyliad o hynny trwy ffydd yn bleser, ac y mae hynny yn unic yn fwy gwîr hyfrydwch o lawer nac y dichon mwynháad presennol holl ddifyrrwch bydol fôd.

18. Y *Pummed* Ystyriaeth yw'r *Enbydrwydd o esgeuluso 'r Ddledswydd hon* ; y rhai ydynt amryw, ond mi a safaf yn unic ar yr ún fawr honno, yr hon sy'n cynnwys y lleill ei gyd tani, a honno, yw *fforffedio ein holl bardwn ein hunain* gan Dduw. Y mae hon yn ystriaeth debygwn i a ddyle ein dychrynu ni i natur dda ; onyd-ë mae 'n malis ni yn fwy i ni ein hunain nag i'n gelynion. Oblegid och! pa drŵg a elli di ei wneuthur i arall cyfattebol i'r hwn yr wyt ti yn ei wneuthur i ti dy hún, trwy golli maddeuant o'th bechodau ? yr hyn sydd yn ddrŵg mor annrhaethadwy na ddichon y *Cythrel* ei hún a'i hôll falis ewyllysio i ti ûn mwy ;

dena

dena'r cwbl y mae efe yn ei geisio, yn *gyntaf*, i Sul. 16.
ni bechu, ac yna na bo i'r pechodau hynny gael byth ei pardynu, oblegid yna fe a wyr ei fod yn ddigon siccr o honom ni; gan mae Uffern a dinistr heb law'r holl ffrwythau eraill o ddigofaint Duw yn y byd hwn, yn ddiammeu yw cyfran pób pechadur a'r nís maddeuir iddo; Ystyria hyn, ac yna dywed i mi beth a ennillaisti trwy'r díal mwyaf a wneith ti erioed ar arall. Ymadrodd Cythreulig yng enau dynion yw, *melus yw dial*: ond a'i possibl y dichon fod (ië i'r gêg annhymmerusaf) y cyfryw *felusdra* ynthi hi ac a wná iawn am y *chwerwder* tragywyddol hwnnw sy'n ei dilyn hi? Yn ddiammeu, ni ddichon néb yn ei gôf ar farn bwyllog a dybia hynny. Ond och! nid ydyn ni yn canniadu amser i ni ein hunain i bwyso pethau, ond goddef ini ein hunain gael ein chwyl-droi gan boethni gwŷn ddiglloni, heb ystyried ún amser mor ddrûd y bydd raid ini dalu am hynny: fal y *Wenynen* ffôl, yr hon mewn digofaint a âd ar unwaith ei cholyn a'i bywyd o'i hôl, fe all y colyn ysgatfydd ofidio péth am dró y cnawd y bo fo yntho, ond etto nid oes néb na wêl mae'r *Wenynen* sy'n cael y gwaethaf, yr hon sy'n talu ei bywyd am ddíal mor wael; felly y mae yn ein díal mwyaf ninnau, ni a allwn ysgatfydd adael ein colyn mewn eraill, ei rhoi nhw i ychydig ofid presennol, ond nid yw hynny wrth ei gystadlu a'r niwed a ddychwel i ni ein hunain wrth hynny, ddim mwy na'r boen ferr honno i farwolaeth; ië, na chymmaint ychwaith, oblegid y mae'r drygau'r ydyn ni yn ei dwyn arnom ein hunain yn dragywyddol, i ba rai ni ddichon dim

Dos. 16 tersynol ddwyn cymmesurwydd yn y bŷd. *Cofia* gan hynny, pa brŷd bynnag y boch di yn dychymmig ac yn llunio díal, dy fód ti yn hollawl yn cam-gymmeryd y nôd; yr wyt ti yn meddwl taro dy elyn, ond och! yr wyti yn dy archolli dy hún i farwolaeth. Ac na thraethed neb heddwch iddo'i hún, neu feddwl mai dychryniadau ofer yw y rhai hyn, ac y gall ef gael maddeuant gan Dduw, er na faddeu fo i'w frodyr: Canys yr hwn sydd wirionedd ei hún a'n siccrhaodd ni o'r gwrthwyneb, *Mat.* 6. 15. *Oni faddeuwch i ddynion ei camweddau, ni faddeu eich Tâd i chwithau eich camweddau.* A rhag ini anghofio mor angenrheidiol yw'r Ddledswydd hon, efe a'i cyfléodd hi yn ein Gweddiau beunyddiol ni, lle yr ydyn ni yn gwneuthur hyn yn ammod, ar ba ún yr ydyn ni yn erfyn maddeuant gan Dduw; *Maddeu ini ein Dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n Dyled-wyr.* Pa ryw felldith resynol gan hynny y mae pób ymddialydd yn ei osod arno'i hún, pan yw ef yn adrodd y Weddi hon? Y mae fo ar y matter yn erfyn na bo i Dduw faddeu iddo; ac yn rhŷ siccr fe wrandewir y rhan honno o'i Weddi ef, fe faddeuir iddo yr ûn módd, ac y maddeu yntau. Hyn a eglurir i ni etto ymmhellach yn Nammeg yr Arglwydd a'r Gwâs, *Mat.* 18. fe a gawse'r gwâs gan ei Arglwydd faddeuant o Ddléd ddirfawr, *deng mîl o dalentau*, etto yr oedd efe mor greulon wrth ei gydwâs, a mynnu gantho trwy drais ddyléd fechan wael o gan ceiniog, ar hyn fe alwodd ei Arglwydd yn ôl ei faddeuant, ac a holodd drachefn oddiarno yr holl Ddléd: a hyn y mae Crist yn ei gyfaddasu i'n pwrpas presennol ni,

gwer. 35.

*gwer.* 35. *Felly y gwná fy Nefol Dâd i chwithau, oni faddeuwch o'ch calonnau bób ún i'w frawd eu camweddau.* Un gyfryw weithred o angharedigrwydd sydd abl i fforffedio 'r pardwn a ganiadháodd Duw i ni, ac yna y mae ein holl bechodau ni yn ymchwel arnoni trachefn, ac yn ein suddo ni i lwyr ddinistr. Yr wyfi'n meddwl mai afraid imi bentyrru ychwaneg o sannau o'r Scrythur i dystiolaethu 'r gwirionedd o hyn; y mae'r rhai hyn mor eglur, ac a wasanaetha yn dddiammeu i beri i ún dŷn, a'r sy'n cydnabod y Scrythur, goelio enbydrwydd mawr gresynol y pechod hwn o anghariad. *Yr Arglwydd a feddianno ein Calonnau ni a'r cyfryw iawn deimlad o honaw ac a wnelo i ni ei ochelyd ef.* Sul. 16.

19. Yr Ystyriaeth ddiweddaf yw *Diolchgarwch* i Dduw. Fe ddangosodd Duw drugareddau rhyfeddol i ni, fe ddioddefodd Crist bethau creulon i'n dwyn ni i fód yn gymwys o'r drugaredd a'r maddeuant hwnnw gan Dduw: oni thybiwn ni ein hunain yn rhwym i fód yn ddiolchgar am y cwbl? Os cymmerwn ni farn yr *Apostol*, y mae fo'n dywedyd i ni, 2 *Cor.* 5. 15. *Gan ddarfod i Grist farw troston ni óll, nid yw ond cymwys na bo i ninnau fyw o hyn allan i ni ein hunain, ond i'r hwn a fu farw troston ni.* Yn wîr pette bób munudyn o'n bywyd gwedi ei gyssegru i'w wasanaeth ddigyfwng ef, ni fydde hynny ddim mwy nag y mae diolchgarwch cyffredinol yn ei ofyn, ac yn llai nag y mae'r cyfryw ddoniau annrhaethadwy yn ei haeddu; pa ryw anniolchgarwch cywilyddus gan hynny yw i ni neccau iddo'r cyfryw fod-

Dos.16 londeb gwael a hyn, sef, madden i'n brodyr? Bwriwch fod i ddŷn a ryddhawyd naill ai oddiwrth *angeu* neu *gaethiwed*, trwy haelioni a dioddefaint ún arall, gael ar ei ryddháad ei siarsio gyn yr hwn a'i rhyddháodd ef, i faddeu rhyw ddylêd wael oedd yn ddyledus iddo ef oddiwrth ryw ún arall, oni thybiech chwi fo yn anniolchgaraf dŷn yn y bŷd, yr hwn ni chydnabydde'r cyfryw gymwynas o'r blaen, eithr a neccáu ganhiadu hyn iddo ef? Etto 'r cyfryw ũn, ië a gwaeth o lawer yw pób dŷn maleisus a'r ymddial-ŵr. Crist a'n prynnodd ni allan o gaethiwed tragywyddol, a hynny nid a *phethau llygradwy, megys aur ac arian*, 1 Petr. 1. 8. ond a'i *werthfawr waed ei hun*, ac a orchymynnodd i ni yn daer garu ein brodyr, a hynny trwy resymmau cadarn, a gymmerwyd oddiwrth fawredd ei gariad ef tu ac atton ni; ac os nyni yn wrthnysig a neccawn iddo béth mor gyfiawn a rhesymol a hynny, pa ryw waeledd a budredd annrhaethadwy yw hynny? Ac etto hyn yr ydyn ni yn bendant yn ei wneuthur, os cadwn ni lîd yn y bŷd na malis i néb. Ië ymmhellach, nid yw hyn yn unic yn anniolchgarwch, ond y mae hefyd yn ddirmygiad ac yn ddibrisiad gresynol o hono ef. Yr oedd y *Tanghneddyf* hwn a'r Undeb ymysg brodyr yn béth mor rhagorol a gwerthfawr yn ei olwg ef, a phan oedd efe yn ymadel a'r bŷd, yr oedd efe yn edrych arno ef megys y péth gwerthfawroccaf a alle fo'i adael o'i ôl, ac am hynny fe a'i gadawodd ef megys trwy Lythr Cymmun i'w Ddiscyblion, *Jo.* 14. 27. *Yr wyf yn gadel i chwi Danghneddyf*; yr ydyn ni arferol o osod prîs mawr ar y pethau lleiaf

a adawo

a adawo ein cyfneseifiaid i ni wrth farw, ac i fód yn ofalus iawn rhag ei colli hwynt, ac am hynny os nyni yn fyrbwyll a daflwn ymmaith y rhôdd mor werthfawr hon o eiddo Crist, arwydd hynod yw hynny nad oes gennin ni gymmaint o barch ac o gariad iddo ef, ac sydd gennin ni i'n cyfeillion daiarol, a'n bód ni yn ei ddirmygu ef yn gystal a'i Ródd. Gorfodaeth dirfawr y pechod hwn o anghariad a wnaeth i mi sefyll ar yr ystyriaethau hyn cyhyd, er mwyn ei orchfygu ef. *Duw a ganniadháo fôd iddynt weithio cymmhelled ar galon y darllenydd, ac i'w gymhwyso ef i'r pwrpas hwnnw.* Sul. 16.

Llan^th. 5 mar. 708.

20. Ni adrodda'i ond ún cyngor ychwaneg, séf, bód yn rhaid arferu'r rhain, neu ddiwygiadau eraill yn erbyn y pechod hwn, *mewn pryd*: y mae meddiginiaethau *Corphorol* yn myned yn fynych yn ofer eisieu ei harferu mewn prŷd, ac y mae hynny yn dychwelyd yn fynychach o lawer mewn rhai *Ysprydol*: Am hynny, os bydd possibl, bydded yr Ystyriaethau hyn, a'r cyffelyb, gwedi ei sefydlu mor wastadol yn dy galon, fal y bo iddynt ei thymmeru hi i'r cyfryw addfwynder, ac a luddio pób dechreuad malis a díal ynot ti, canys gwell o lawer yw iddynt wasanaethu megys arf i ragflaenu, nag megys ennaint i iacháu'r archoll. Ond os bydd y wŷn hon etto heb ei gorchfygu ynot ti, eithr yn cynnhyrfu peth ynot, etto yna bydd siccr o'i gymmeryd ef ar y codiad cyntaf, ac na âd i'th feddwl gnoi'r cîl megys ar y camwedd, trwy fyfyrio arno ef yn fynych, ond cofia mewn prŷd yr Ystyriaethau o'r blaen, ac hefyd, mae amser a phrŷd profedigaeth iti yw

Dos. 16 hwn, ymmhá ûn y gelli di ddangos pa fódd y gwellhéaist yn yscol Grist, gan fod iti yr awrhon odfa naill ai i ufyddhau a bodloni Duw, trwy faddeu'r camwedd hwn i'th frawd, neu ynteu i ufyddhau a bodloni Satan, carwr ymryson, trwy feithrin casineb i'w erbyn ef. Cofia hyn, meddaf, *mewn pryd*, cyn iti ymennynnu, canys os cynneu'r tân hwn trwyddo, efe a fwrw allan y cyfryw fŵg, ac a ddalla dy reswm di, ac a'th wná di yn anghymmwys i farnu o hyn er mor eglur yw, sef, pa un oreu a'i pwrcasu i ti dy hûn *wynfyd* tragywyddol trwy ufyddhau Duw; neu trwy ufyddhau Satan, *boenau* tragywyddol. Lle os gofynni di hyn iti dy hún cyn y cynnwrf hwn, a chythrwblaeth dy feddwl, yn ddiammeu fe ddadcan dy synwyr di tros Dduw; ac yna oddigaeth iti fód mor anhynaws a dewis marwolaeth yn rhagfyfyriol, yn ddiau ti a arferu yn ól barn dy ddeall; Ni adrodda'i ddim anghwaneg, ar y rhan gyntaf ymma o Gariad, sef, mewn *Tuedd meddwl*.

Cariad mewn Gweithredoedd.

21. Yr awrhon mi a âf ymlaen at y rhan arall o Gariad, sef mewn *Gweithredoedd*; ac wrth hwn yn wîr y bydd raid profi'r llall; ni a allwn gymmeryd arnon fód gennin ni gariad mawr o'n mewn, ond os ni thardda dim allan yn y Gweithredoedd, ni a allwn ddywedyd am y *Cariad* hwnnw, fal y dywed St. *Jaco* am y *ffydd* y mae fo'n sôn am dani, *ei bód hi yn farw*, *Jac*. 2. 20. Cariad mewn *Gweithred* a gwirionedd a gymmeradwya ein Calonnau ni ger bron Duw, 1 *Jo*. 3. 18. fe ellir dosparthu'r Cariad hwn hefyd mewn Gweithredoedd, fel y llall,

yn ól pedwar ehangrwydd gwahanredol ein brodyr, sef, ei *Heneidiau* hwynt, ei *Cyrph*, eu *Golud*, a'i *Henwau da*. Sul. 16.

22. Fe ellir ystyried yr Enaid, fal y dywedais i o'r blaen, naill ai mewn synniad *Naturiol*, neu *Ysprydol*, ac ymmhób ún o honynt y mae Cariad yn ein rhwymo ni i wneuthur yr holl ddaioni a allon ni. Megys ac yr arwyddoccá'r Enaid *feddwl* dŷn, felly y bydd raid i ni ymegnío cyssur a diddanwch ein Brodyr, ac ewyllysio rhoddi iddynt bób rhyw wîr achos o lawenydd a llonder, yn enwedig pan welon ni hwynt tan ryw dristwch neu drymder, yna ymegnio trwy bób rhyw foddion cristianogaidd a chymmwys i lonni Yspryd helbulus ein Brodyr, *diddanu y rhai sydd mewn gorthrymder*, fal y dywed yr Apostol, 2 *Cor*. 1. 4. Tu ac at Feddwl ein cymydog.

23. Ond y mae'r Enaid mewn Ystyriaeth *Yspryd ol* etto yn fwy rhagorol, ac y mae siccrhau hwnnw yn beth mwy *pwysfawr*, na llonni'r *meddwl* yn unic, yn gymmaint ac y mae gofidiau tragywyddol Uffern yn myned tu hwynt i ofidiau mwyaf y byd hwn; ac am hynny er na ddylen ni esgeuluso'r cyntaf, etto yn hyn y bydd raidd i ni ddangos ein Cariad eithaf, lle nid digon yw i ni ewyllysio yn dda i Eneidiau ein Brodyr, nid yw hynny yn unic ond máth fwrth ar garedigrwydd, rhŷ wael ac annheilwng o'r rhai sydd raid iddynt ddilyn Esampl Iachawdr Eneidiau, yr hwn a wnaeth ac a ddioddefodd cymmaint er mwyn ei prynu nhw: ond rhaid i ni hefyd ymegnio i'w gwneuthur hwynt yn gyfryw, ac yr ydyn ni yn ewyllysio Ei Enaid.

Dos. 16 iddynt fod ; i'r pwrpas hwn tra-chymwys a rhesymol yw i ni yn ein holl ymddygiad tu ac eraill fwriadu gwneuthur rhyw ddaioni i'w heneidiau hwynt. Pe bydde 'r bwriad hwn gwedi ei sefydlu yn ein meddyliau ni, yna ni a gansydden ysgatsydd lawer odsa i wneuthur daioni ar yr ydyn ni yr awrhon yn esgeuluso. Fe fydde *anwybodaeth* ddirfawr y naill yn galw arnat ti i ymegnio ei addyscu ef ; *pechod hynod* y llall, i'w argyoeddi a'i gynhori ef ; *Rhinwedd* lêsg egwan ûn arall i'w gadarnhau a'i lonni ef. Fe a ddichon pôb *angen ysprydol* dy frawd rodddi i ti ryw achos i arferu rhyw ran o'r Cariad hwn ; neu os wyt ti yn tybied, gwedi ystyried yn bwyllog, mai ofer yw i ti dy hun, ymosod at hyn ymma, megys os bydd dy waelder di, neu 'th anghydnabyddiaeth, neu ryw gyffelyb rwystr yn debyg i wneuthur dy gynghorion di yn ddirym, etto os byddi di ddiwyd yn dy Gariad, ti a elli ond odid gansod rhyw foddion eraill, trwy ba rai y gelli wneuthur hyn yn fuddiol. Ni all neb ymosod ar Orchwyl anrhydeddusach na bwriadu pa fodd i leshau Eneidiau dynion, ac am hynny lle bo 'r naill foddion yn anaddas, ni a ddylen ddyfal-chwilio a myfyrio am rai eraill. Yn wir cywilydd yw na bo ni mor ddiwyd ynghylch y pethau a berthyn i Eneidiau dynion, ac ydyn ni am wael-drafferthion bydol o'n heiddo ein hunain ; etto yr ydyn ni yn y pethau hyn yn ddigon diflin, ac yn profi 'r naill foddion ar ól y llall nes i ni ddwyn ein hamcan i ben. Ond os bydd cyndynrwydd dynion gwedi ein holl ddiwydrwydd ni, yn rhwystro i ni, neu yn hyttrach iddynt hwy leshau trwy 'r cwbl,

cwbl, os ni thyccia ein holl ymegniad ni a'n gofal yn annog ac yn erfyn ar ddynion drugarhau wrth ei Heneidiau ei hunain, etto er dim parháa i'w hannog nhw trwy dy ſiampl; bydded i'th fawr ofal di a'th dynnerwch am dy Enaid dy hûn bregethu iddynt odidowgrwydd a phrîs ei heneidiau hwythau, ac nac attal dy doſturi oddiwrthynt, eithr gyda 'r Prohwyd *Jerem.* 13.17.*Wyled dy Enaid yn ddirgel troſtynt*; a chyda 'r *Pſalmydd*, *Bydded i afonydd o dyfroedd redeg o'th lygaid, am na chadwant dy Gyfraith di*, Pſal. 119. 136. iê a chyda Criſt ei hun, *wyla troſtynt, am na fynnant wybod y pethau a berthyn i'w heddwch.* Luc. 19. 42. A phan na thyccia taerni yn y bŷd gydâ hwynt, etto na phaid ti ac ymbil ar Dduw troſtynt, ar fód iddo ef ei tynnu nhw atto ei hun; felly y gwelwn ni *Samuel*, pa nad alle fo gynghori 'r bobl i ymadel a'r bwriad pechadurus yr oeddynt arno, etto er hynny ei gŷd y mae fo yn addaw, na phaid ef a Gweddío troſtynt; ié, yr oedd ef yn edrych ar hynny yn ddyléd arno, yn gymmaint ac mai pechod fydde iddo eſgeuluſo hynny, *Na atto Duw*, médd ef, *i ni bechu yn erbyn yr Arglwydd, a pheidio a gweddio troſſoch*, 1 *Sam*, 12. 23. Ac na ofnwn y bydd ein Gweiddiau ni yn ofer, canys os ni wnáant hwy leſháad i'r rhai y bo ni yn ei tywallt hwynt troſtynt, etto pa un bynnag nhw a ddychwelant i'n *monwesau* ein hunain, *Pſal.* 35. 13. Yn ddiammeu ni ddeuwn ni ddim yn yn fyrr o wobr y Cariad hwnnw.

24. Yn *ail*, rhaid i ni arferu 'r *Cariad Gweithredrol* hwn tu ac *Cyrph* ein Gymydogion; nid digon

Cariad tu ac at y Corph.

Dos. 16 digon i ni yn unic *dosturio* tros ei helbul a'i trueni hwynt, ond hefyd *gwneuthur* a allon ni er ei cymmorth a'i hesmwytháad hwynt. Ni buaisid byth yn gosod y *Samaritan* da, *Luc.* 10. megys yn siampl i ni, oni bae ddarfod iddo gynnorthwyo 'r dŷn archolledig yn gystal a thosturio trosto. Nid deisyfiadau da, ié na geiriau da ychwaith sydd ddigon yn hyn ymma, fal y dywed St. *Jaco*, *Os bydd brawd neu chwaer yn noeth, ac eisieu beunyddol ymborth, a dywedyd o un o honoch wrthynt, ewch mewn heddwch, ymdwymnwch, ac ymlenwch, ac etto heb roddi iddynt angenrheidiau 'r Corph, pa lês fydd?* *Jac.* 2. 15. 16. Dim yn ddiammeu, ni wná hynny lês yn y bŷd i'w Cyrph hwynt nag i'th Enaid tithau, ni chyfrifir mo hynny i ti byth megys Cariad. Y mae achlesu ein brodyr yn ei *hangenrheidiau Corphorol* yn beth a ofynnir mor gaeth ar ein dwylo ni, ac y gosodir hynny ar lawr, megys y peth enwedigol trwy ba ûn y *profir* ni, ar y Dŷdd *Diwaethaf*, ar ommeddiad pa ûn yr adroddir y farn echryslon honno, *Mat.* 25. 41. *Ewch oddiwrthif rai melldigedig i'r tân tragywyddol yr hwn a baratowyd i Ddiafol ac i'w angelion.* Ac os gofynnir bêth yw 'r pethau neillduol hynny sydd raid i ni ei cwphlhau, ni allwn ni ddyfod i'w hadnabod hwynt yn hyspysach nag o'r bennod hon, lle y gosodir ar lawr yr amryw rai hyn, *rhoddi bwyd i'r newynog; a diod i'r sychedig, lletteua 'r dieithr, dilladu 'r noeth ac ymweled a'r clâf a'r carcharedig;* trwy ba *ymweliad* ni ddeallir yn unig dyfod i'w gweled hwynt, ond dyfod felly megis ac i'w cyssuro a'i cynnorthwyo hwynt; canys

onid-

onid-e ni bydde hynny ond fel y gwnaeth y Lefiad yn yr efengyl, *Luc.* 10. yr hwn a ddaeth ac a *edrychodd ar y dyn archolledig*, ond ni waeth ddim anghwaneg, yr hyn ni bydd byth gymmeradwy gan Dduw. Y mae y rhain yn arferion cyffredinol o'r cariad hwn, i ba rai nid all bod eifieu aml odfau. Ond heb law 'r rhai hyn, fe ddichon, trwy arbennig ragluniaeth Duw, ddychwelyd i ni achlysur i wneuthur fwyddau da eraill i gyrph ein Cymydogion; ni a allwn weithiau gyda 'r *Samariad* weled dŷn archolledig, ac yna ein Dled ni yw gwneuthur fal y gwnaeth ef; ni a allwn weithiau weled dŷn di-euog gwedi ei farnu i farwolaeth, megis y gwnaed a *Susanna*, ac yna rhaid i ni gyda *Daniel* arferu pôb moddion i'n gallu er ei waredu ef: Hyn y mae *Solomon* ond odid yn pennodi atto, *Dihar.* 24. 11, 12. *Os ni waredu 'r rhai a lusgir i angeu, a'r neb a ddywysir i'w lladd, Os dywedi, wele, ni wyddom ni hyn; onid yw mesur-wr y Calonnau yn deall? a'r neb sydd yn cadw dy Enaid oni wyr efe? ac oni thal efe i bawb yn ôl ei weithred?* Ni wasanaetha i ni fwrw 'r peth heibio ac efcufion ofer, eithr cofio y bydd i Dduw yr hwn a wyr ein meddyliau dirgelaf ni, brofi yn fanwl a efceulufon ni o'n gwirfodd gwplhau 'r cyfryw weithred o Gariad: weithiau trachefn (ië yn fynych, fe ŵyr Duw, yn y dyddiau ymma) ni a allwn weled Dŷn trwy anghymmedrolder mewn enbydrwydd o deftrywio ei Iechyd, a byrrhau ei ddyddiau, ac yna Cariad ddyledus nid yn unig i'w Enaid, ond i'w Gorph ef hefyd yw ymegnío i'w dynnu fo o hŷnny. Amhoffibl yw gofod ar lawr yr *holl* rywogaethau o'r *Cariad*

Sul. 16.

Dos.16 *riad Corphorol* hwn ar a allo ddychwelyd, oblegid fe ddichon damwain weithiau y cyfryw odfáu na all néb ei rhag-weled; rhaid i ni gan hynny yn wastad lawn-fwriadu yn ddifrifol wneuthur pa ddaioni bynnag o'r sáth hyn ar a gansyddon ni achos am dano, ac yna pa brŷd bynnag y dychwel y cyfryw odfa, edrychwn ar hynny megys galwad arnon ni o'r Nés i osod y llawnfwriad hwnnw ar waith. Y mae y rhan ymma o Gariad wedi ei gwreiddio cymmhelled yn ein calonnau ni, megys yr ydyn ni yn *ddynion*, a'n bôd ni yn gyffredinol yn ei cyfrif hwynt nid yn unic yn anghristianogaidd, eithr yn annhirion a chreulon y rhai sydd ddeffygiol o hono ef; ac am hynny yr wyf fi 'n gobeitho na fydd eisieu llawer o annogaethau i hyn ymma, gan fôd ein hanian ni yn tueddu at hynny: Ond yn ddiau fe wasanaetha 'r Ystyriaeth hono i anghwanegu 'n ddirfawr euogrwydd y rhai sydd ddeffygiol o'r Cariad hwn: oblegid gan fôd y Gorchymyn hwn mor gysson i gîg a gwaed, ni ddichon ein hanufudd-dod ni iddo ef darddu ond oddiwrth ein cyndynrwydd a'n gwrthryfelgarwch yn erbyn Duw yr hwn sydd yn ei roddi ef.

DOS-

# DOSPARTHIAD, XVII.

*Am Gariad, Elusen, &c. Am Gariad a berthyn i Enw da ein Cymydog, &c. Am wneuthur, Tangnheddyf: Am fyned i'r Gyfraith: am Gariad i'n Gelynion, &c.*

Lan^th 12 mar. 703

§. 1. Y *Trydydd* modd o ddangos y Cariad hwn yw tu ac at *Dda* neu *Gyflwr* ein Cymydog *oddiallan*; rhaid i ni ddyfal-geisio ei wellhâad a'i lwyddiant ef yn y pethau da ymma oddiallan; ac i'r diben hwnnw, ymsodloni i'w gynnorthwyo ef i'w cynnal ac i'w hangwanegu hwynt ym mhób ffordd onest, trwy wneuthur iddynt bób rhyw swydd gymydogaidd a charedig: y mae odfâu i hyn ymma yn dychwelyd yn fynych iawn. Fe all dŷn weithiau naill ai trwy grysder neu annogaeth waredu da ei gymydog allan o ddwylaw lleidr neu orthrym-ŵr; weithiau trachefn fe a ddichon trwy ei gyngor ei osod ef mewn ffordd i lwyddo, neu ei droi fo oddiwrth ryw ffordd dramgwyddus a dinistriol; ac amryw achosion eraill a ddichon fód o wneuthur llesháad i arall, heb ein drygu na'n colledi ein hunain, ac yna rhaid i ni ei gwneuthur hwynt, ie i'n Cymydogion *goludog*, y rhai sydd mor gyfoethog, ie ysgatfydd yn gyfoethoccach o lawer na ni ein hunain; canys er nad yw *Cariad* yn ein rhwymo ni

Cariad tu ac Dda ein Cymydog.

Tu ac at y Goludog.

Dos. 17 ni i roddi i'r rhai sydd a llai angen arnynt na ni ein hunain, etto y mae'n gofyn hyn ar ein dwylo ni, pa brŷd bynnag y gallon ni ei gwellhau nhw, heb leihau ein golud ein hunain: iè os bydd y golled ond ysgafn i ni wrth ei chyffelybu a'r budd a ddychwel iddo ef, fe weddai i ni yn hyttrach ersbydu'r golled fechan honno, na cholli iddo ef y budd mwyaf hwnnw.

Tu ac at y Tlawd.

2. Ond y mae Cariad yn ein rhwymo ni i wneuthur mwy o lawer i'n brawd *Tlawd*; rhaid ini yno edrych yn unic am gyflawni ei eisieu ef, ac nid sefyll ac ymadel a'n heiddo ein hunain er mwyn ei gymmorth ef, ond rhoddi yn rhwydd iddo hyd y gallon ni y péth sydd arno ei eisieu. Y mae'r Ddledswydd hon o *roddi Eleusen* yn hollawl yn angenrhéidiol er egluro ein Cariad nid yn unig i ddynion, eithr hefyd i Dduw ei hun, fal y dywed St. *Joan*, 1 *Jo.* 3. 17. *Pwy bynnag sydd ganddo olud y byd hwn, ac a wêl ei frawd mewn eisieu, ac a geidw ei dosturi oddiwrtho, pa fódd y mae Cariad Duw yn aros yntho ef?* Ofer yw i'r dŷn hwnnw gymmeryd arno ei fôd yn caru na Duw na Dŷn, yr hwn sy'n caru ei arian cymmaint, ac yr edrych ef ar ei frawd tlawd (yr hwn sydd yn ddŷn, ac yn dwyn delw Dduw arno) yn dioddef pób adfyd a chyni, yn hytrach nag yr ymedy ef a dim i'w gynnorthwyo fo: Or tu arall, y mae cwplhâad y Ddledswydd hon yn gymmeradwy iawn gyda Duw, yn gystal a chyda dynion.

3. Fe

3. Fe elwir hyn, *Hebr.* 13. 16. *Yn aberth a pha un y bodlonir Duw*; a thrachefn, *Phil.* 4. 18. Y mae St. *Paul* yn galw ei *Eluseni* nhw iddo ef yn *aberth gymmeradwy a boddlon gan Duw*; ac yr oedd yr Eglwys bób amser yn edrych arni hi felly, ac am hynny a'i cyssylltodd hi a'r rhan gyhoeddaf o Addoliad, sef y Cymmun Sanctaidd. Ond oblegid y gwneid hyn yn oed yr aberthau ei hunain tan y Gyfraith yn fynych yn anghymmeradwy trwy ei bod yn glóff neu yn anafus, angenrheidiol a fydd ymma edrych beth ydyw iawn gynneddfau'r Aberth hon y rhai a'i gwná hi yn gymmeradwy.

Annogaethau o roddi Elusen.

4. O'r rhai hyn y mae dau fáth, rhai o herwydd yr *annogaeth*, a rhai o herwydd y *módd* o roddi Elusen; fe ddichon yr annogaeth fód yn *dri dyblyg*, a hynny o herwydd Duw, ein Cymydog, a ni ein hunain. Yr annogaeth oblegid Duw, yw Ufydd-dod a Diolchgarwch iddo ef: fe a orchymynnodd ef i ni roddi Elusen, ac am hynny dena un diben arbennig o hyn, sef Ufyddhau ei Orchymyn ef. Ac o'i haelioni ef yn unig yr ydyn ni yn derbyn ein holl lawndra, a hon yw'r módd gymmhwysaf o ddangos ein diolchgarwch iddo ef am hynny; Canys fal y dywed y *Psalmydd*, *nid yw ein Da ni ddim i Dduw*, *Psal.* 16. 2. Nid allwn ni dalu iddo ef y deyrnged a chwennychen ni ei thalu allan o'n golud. Y tlodion yw y rhai fydd yn derbyn trosto ef, ac am hynny ein Heuluseni ni yw'r modd o dalu beth bynnag a ddylen ni mewn modd o Ddiolchgarwch ei roi yn ôl drachefn i Dduw. Yn *ail*, yr annogaeth oblegid ein

Dos. 17 ein Cymydog, yw gwîr gariad a thosturi trosto ef, cyd-teimlad tyner o'i eisieu ef, a dersyfiad o'i ddiddanwch ef, ac o roddi cymmorth iddo. Yn *Drydydd*, rhaid i'r gobaith o'r gwobr tragywyddol hwnnw a addawyd i'r rhai a wnelont hyn ein hannog ni, o'n plegid ein hunain, i'r Ddledswydd hon. Hyn y mae Crist yn ei ddywedyd i ni pan yw yn gorchymyn i ni *osod ein tryssor yn y Nef*, *Mat.* 6. 20. A *gwneuthur i ni gyfeillion o'r golud twyllodrus, fel pan fo eisieu arnom i'n derbyniont i'r tragywyddol bebyll*, *Luc.* 16. 9. hynny yw, fal y gallon ni trwy roddi yn gariadus o'n golud amserol i'r tlodion, osod i fynu dryssor yn y nefoedd, ac ennill hawl i'r dedwyddwch tragywyddol hynny a addawodd Duw i'r Elusengar. Dena'r cynhayaf sydd i ni i'w ddisgwyl o'r peth a hauon ni yn y gweithredoedd hyn o drugaredd, yr hwn a fydd mor berffaith-gwbl ac a dâl yn helaeth i ni hyd adref, pe rhoen, fal y dywed yr Apostol, 1 *Cor.* 13. 3. *a phe porthen ni'r tlodion a'n holl Dda.* Ond rhaid i ni fod yn siccr mai hyn yw ein hunig ddiben ni, ac nid yn lle hyn, addaw i ni ein hunain glôd dynion, oblegid hynny a'n hyspeilia ni o'r llall; Hyn a ddywed Crist yn eglur, *Mat.* 6. Rhaid i'r rhai sydd yn gosod ei calonnau ar y *glôd* a ennillant hwy gyda dynion gymmeryd hynny megys ei gwobr, *gwer.* 3. *Yn wîr meddaf i chwi y maent yn derbyn ei gwobr*; nhw a ddewisasant yn hytrach gael dynion yn dâl-wyr iddynt na Duw, ac am hynny y troir nhw attynt hwy, a'r awel wael honno o glôd y maent yn ei dderbyn ganddynt hwy yw'r holl wobr sydd iddynt i'w ddisgwyl: *Ni chewch dâl gan fy nhâd yr hwn*

sydd

*sydd yn y Nefoedd, gwer.* 1. Y mae'n sefyll arnom ni gan hynny wilio ar ein calonnau yn fanwl, na bo i'r chwant ymma o wág-orfoledd ledratta i'n mewn ni, a'n twyllo ni i'r gysuewid resynol honno o chwythad wael anadl dynion am y gwîr a'r didrangc lawenydd hynny yn y nefoedd. Sul. 17.

5. Yn *ail*, rhaid i ni edrych yn ofalus ar y *modd o roddi Elusen*; ac yn *gyntaf*, rhaid ini roddi'n *llawen*; y mae dynion yn arferol o brisio yn fwy ryw béth bychan a roddir iddynt yn llawen, ac a chalon rwydd, na rhôdd fwy o lawer a dynnir megys o anfodd oddiar ddŷn gwrwgnachus anewyllysgar; ac y mae Duw o'r ûn meddwl, y mae fo *yn caru rhoddwr llawen*, 2 *Cor.* 9. 7. Yr hyn y mae'r Apostol yn ei osod ar lawr megys rheswm o'r Cyngor o'r blaen, sef nid *rhoddi yn athrist*, *neu megys o gymmell*. Ac yn wir nid yw hyn a osynnir gennin ni yn béth anrhesymol, gan nad oes yr ún Ddledswydd yn rhoddi mwy o bleser ac o ddifyrrwch i natur ddynol, na hon, oddigaeth lle y darfu i Gybydd-dod a chreulondeb yn llwyr fwrw allan y dŷn, a gosod anifail rheipus yn ei le ef. Ond hyfrydwch anrhaethadwy yw i'r dŷn sydd ganddo ddim ymysgaroedd weled y llawenydd y mae Elusen mewn prŷd yn ei ddwyn i ddŷn truan? Pa fodd y mae hynny yn ei lonni ef, ac yn rhoddy Yspryd o newydd yntho ef, yr hwn oedd ym mron suddo gan drymder? Yn ddiammeu ni ŵyr y dŷn mwyaf trachwantus yn y bŷd pa fodd i osod ei arian allan ar ddim a ddŵg i mewn idde gymmaint o ddiddanwch, ac am hynny mi a

Y mòdd o roddi Elusen.

Yn llawen.

Dos. 17 debygwn na bydde anhawdd gennin ni roddi, nid yn unic heb wrwgnach, ond yn ſuriol iawn ac yn llawen, gan fôd hynny yn dwyn i mewn ddiſyrrwch i ni ein hunain.

6. Nid oes ond ûn péth a ellir ei ddywedyd yn erbyn hyn, ſef y dichon yr enbydrwydd o'n *tlodi ein hunain* trwy ein rhoddion, dynnu ymmaith y diddanwch hwnnw, a gwneuthur naill ai na rothon ni ddim, neu nid mor llawen. I hyn mi a attebaf: Yn *gyntaf*, pette 'r enbydrwydd hwn yn hynod, etto gan mae Gorchymyn Duw yw i ni roddi ſal hyn, rhaid i ni ufuddhau yn ewyllyſgar, a bód mor ſodlon i ymadel a'n Dá bydol er mwyn dilyn y Ddledſwydd hon, ac y gelwir ni lawer gwaith i wneuthur ar ryw Ddledſwydd arall. Yn yr hyn beth y mae Criſt yn dywedyd ini, *na ddichon ef fód yn ddiſcybl iddo ef, yr hwn ni ymedy a chymmaint oll ac a fêdd efe.*

7. Ond yn *ail*, ofer ini ſeddwl hyn, gan ddarfod i Dduw addaw yn bendant y gwrthwyneb i'r Eluſengar; y dŵg eluſen ſendithion arnynt, ië yn y pethau ymma oddiallan. *Y Gwr hael a gaiff ddigon: a'r néb a ddwfrháo a ddwfrhéir, Dihar.* 11. 25. A thrachefn, *y néb a roddo i'r Tlawd, ni bydd angen arno, Dihar.* 28. 27. Ac amryw leoedd o'r fâth hynny ſydd, yn gymmaint ac y dichon dŷn ddywedyd yn hŷf, fôd yr ammheuaéth hwn wedi ei ſylfaenu ar anghrediniaeth. Mewn gair, ni feiddiwn ni gredu gair Duw am hyn: rhoddi i'r tlawd yw goſod ein golud yn union yn ei ddwylaw ef. *Y néb a gymmero drugaredd ar y tlawd ſydd yn*

*rhoddi*

*rhoddi echwyn i'r Arglwydd*, *Dihar*. 19. 17. a Sul. 17.
hynny hefyd ar addewid cyhoedd o dalu yn ôl, fal y calyn yn y wers honno, *a'i rodd a delir iddo drachefn*. Fe debygir yn ammarch mawr ymysg dynion, pan neccáon ni ymddiried iddynt; y mae hynny yn dangos ein bód ni yn meddwl ei bód hwynt naill ai heb fód yn abl i gyflawni, neu yn anonest: Pa ammarch anfeidrol gan hynny i Dduw, yw ei ammeu fo fal hyn? ié yn wîr pa gabledd echryslon yw, ammeu siccrwydd y peth y mae fo mor hynod gwedi rhoddi ei air am dano, yr hwn sydd yn Arglwydd pób péth, ac am hynny yn abl; a'r hwn sydd Dduw y gwirionedd, ac am hynny yn barod i gwplhau ei addewidion? Na bydded gan hynny i'r *Ofn anghredadwy* hwnnw o eisieu ar ôl hyn gloi i fynu dy ymysgaroedd di oddiwrth dy frawd anghenus; oblegid er nad yw ef debyg i dalu i ti byth, etto y mae Duw yn ymrwymo megys meichiau trosto ef, ac efe a dál iti yn ddiammeu gydá llôg. Am hynny y mae rhoddi fal hyn cymmhelled oddiwrth fód yn golled i ti, a'i fód ef yn fudd dirfawr i ti: fe ddewisei pób dŷn roddi ei arian mewn rhyw law ddiogel, lle y gallo fo ei anghwanegu nhw, a bód yn siccr o honynt wrth ei raid, yn hytrach na gadael iddynt orwedd yn anfuddiol wrtho ef, yn enwedig os bydd ef yn ofni lladron, neu ryw ddamweiniau eraill, trwy ba rai y gall efe ei colli hwynt: Yr awrhon y mae'r cwbl yr ydyn ni yn ei feddiannu mewn enbydrwydd o golli bob munudyn; y mae aneirif o ddamweiniau a ddichon yn ddisymwth ddwyn gŵr goludog i dlodi; y néb sydd yn ammeu hyn, darllenned ond *Histori Jôb*,

Dos. 17 ac fe a gaiff weled yno siampl o hyn: am hynny pa gwrs synhwrolach a allwn ni ei gymmeryd am ein golud, na'i gosod hwynt allan o gyrrhaedd y damweiniau hynny, trwy roddi ei benthyg nhw fal hyn i Dduw, lle y gallwn ni fód yn ddiogel o'i cael nhw yn barod wrth ein hangen mwyaf, a hynny hefyd gydá llôg? O blegid hyn y mae'r Apostol yn cyffelybu *Elusen* i *hâd*, 2 *Cor*. 9. 10. Ni a wyddon mai natur *hâd* a heuir yw amlhau ac anghwanegu, ac felly y gwná ein hôll weithredoedd ni o drugaredd, nid ydynt yn dychwelyd yn unig ac yn llwmm i ni, eithr yn dorethog, trwy ddwyn cynhayaf helaeth i mewn. Nid yw Duw yn gwneuthur a'n *Helusenau* ni, fal yr ydyn ni yn gwneuthur a'i *rasau* ef yn synych, ei rhwymo nhw i fynu mewn *cadach*, fal na ddyceo nhw fûdd yn y bŷd i ni, eithr y mae fo yn ei talu nhw yn ôl i ni yn helaeth: ac am hynny y mae i ni achos dirfawr i ymosod yn llawen ac yn gyssurus ar y Ddledswydd hon, i ba ûn y mae i ni gymmaint gwahodd, yn gystal o herwydd ein bûdd ein hunain, ac angen ein Cymydogion.

Mewn pryd cyfaddas.

8. Yn *ail*, rhaid ini roddi mewn *pryd cyfaddas*: gwîr yw fód rhai mor dlawd, a bôd Elusen yn wastad yn amserol iddynt, oblegid fód arnynt eisieu bob amser, etto i'r rhai hyn fe ddichon bód rhyw brŷd yn fwy cyfamserol i'w bûdd hwynt na'r llall; oblegid fe ddichon Elusen weithiau nid yn unig waredu dŷn tlawd o'i angenoctyd presennol, ond hefyd, wrth ei roddi ef mewn *pryd*, ei osod ef mewn rhyw ffordd i fyw yn gyssurus rhag llaw. A chan

mwyaf

mwyaf, yr wyfi'n meddwl mae Rheol dda yw Sul. 17.
*cyfrannu i'r néb y bon ni yn amcanu cyn gynted ac y gallon ni*, o blegid niweidiol yw oedi yn fynych iddynt hwy, ac i ninnau hefyd; yn *gyntaf*, am danynt hwy, diammeu yw, mai po hwyaf yr oedon ni, hwyaf y parhán nhw tan ei hangen presennol, a chwedi ini unwaith amcanu cymmorth iddynt, máth ar greulonder yw oedi ei roddi ef, canys tros hynny o amser yr ydyn ni yn hwyau ei helbul hwynt; chwi a'i tybiech ef yn Bysyg-ŵr calon-galed yr hwn a chanddo feddiginiaeth a allai fo ei roddi yn ebrwydd i ddŷn mewn penyd, a oedai heb fód yn rhaid, ac felly a gadwai 'r dŷn truan yn hwy mewn gofid: ac felly y mae ymma; y mae arnon ni eisieu iawn dosturi ac ymysgaroedd, os medrwn ni ymfodloni i'n brawd tlawd fód ún awr mewn penyd, a chennini yn y cyfamser fódd ac odfa i'w gynnorthwyo ef, neu os efe ni bydd yn y cyfryw eisieu dirfawr, etto béth bynnag yr ydyn ni yn ei amcanu iddo ef er ei ychwaneg gyssur, y mae fo yn colli o hynny cymmaint ac ydyw'r amser o oedi. Yn *ail* drwg yw oedi o'n plegid ein hunain; canys trwy hyn yr ydyn ni yn rhoddi achlysur naill ai i brofedigaethau Satan, neu ein Cybydd-dod ein hunain i droi ein meddyliau ni oddiwrth hynny. Fal hyn y mae yn rhŷ fynych gydá llawer o Ddledswyddau Cristianogawl; eisieu ei cwplhau nhw allan o law, y mae ein hamcanion ni yn oeri, ac heb ddyfod byth i ben; felly y mae llawer yn bwriadu edifarhau, ond o blegid nad ydyn nhw yn ymosod at hynny yn ebrwydd, y maent yn oedi o amser bigilydd, ac ysgatfydd byth heb wneu-

Dos. 17 thur hynny; ac felly y dychwel yn fynych yn hyn ymma, yn enwedig gydá dynion cybyddaidd, ac am hynny ni ddylent hwy yn anad néb ryfygu oedi fal hyn.

Yn bwyllog. 9. Yn *Drydydd*, rhaid i ni gymmeryd gofal am roddi yn *bwyllog*, hynny yw, roddi yn fwyaf lle y mae mwyaf o eisieu, ac yn y cyfryw fódd ac a wnelo fwyaf llês i'r derbyniwr: Y mae Cariad yn fynych yn mynd ar féth o eisieu'r gofal hwn; oblegid os rhoddwn ni ar ddamwain i bawb a dybion ni i fód mewn eisieu, ni a allwn weithiau roddi mwy i rai fydd mewn angen oblegid ei fyrthni a'i direidi, nag i'r rhai a'i haedda fo oreu, ac felly cadarnhau 'r naill yn ei diogi a'n gwneuthur ein hunain yn anghymmwys i roddi i'r lleill. Etto nid wyfi'n ammeu na ddichon bód rhai anheilwng iawn mewn cymmaint eisieu yn y cyfamser, ac y dylen ni ei cynnorthwyo hwynt, ond lle ni bo'r cyfryw ddirfawr angen yn gofyn, gwell yw i ni ddewis allan y rhai a haedda ein helusen ni yn well, sef y rhai naill ai nid ydynt yn abl i lafurio, neu y fydd gandynt fwy o fiars nag a all ei llafur hwynt ei gadw; ac i'r rheini hefyd rhaid yw rhoddi ein helusen yn y cyfryw fódd ac a fo tebyccaf i wneuthur iddynt fwyaf lleshâad; ac fe ddichon bód amryw foddion o hynny yn gyfattebol i'w hamryw gyflwr hwynt; i rai yfgatfydd goreu yw rhoddi iddynt o fesur ychydig ac ychydig; i eraill fe ddichon bód yn fwy buddiol roddi iddynt y cwbl a'r unwaith: ac weithiau fe all *benthyg* mewn prŷd fód yn gyftal a rhodd, ac fe ddichon hynny weithiau fód mewn gallu y

rhai

rhai nid ydynt abl i roi ond ychydig : ond pan Sul. 17.
senthyccon ni fal hyn mewn Cariad, rhaid i ni senthycca héb lôg, ac hefyd bwriadu, os dychwel iddo fôd heb allu talu, maddeu cymmaint o'r Corph iddo, ac y bo ei angen ef yn gofyn, a'n gallu ninnau yn rhoddi cennad. Y mae arnynt hwy eisieu llawer o'r cariad hwn, y rhai sydd yn taflu ei *Dlêd-wyr tlodion* i garchar, pan wypont nad oes ganddynt ddim i atteb y Ddlêd, yr hyn sy'n greulonder mawr, gwneuthur eraill yn helbulus, pan na bo ni ein hunain yn ennill dim wrth hynny.

Llan. 23 Ap. 704

10. Yn *Bedwerydd*, ni a ddylen roddi yn *hael*, Yn hael.
ni wasanaetha i ni fód yn grintach yn ein *Helusenau*, a rhai yn y cyfryw fesur prin, ac na ddŵg agos ddim cymmorth i'r derbyniwr, canys máth ar watwor yw hynny : nid yw hynny ond fel pe bae dŷn yn cymmeryd arno borthi ún ar lewygu o newyn trwy roi iddo friwsionyn o fara ; fe fydde'r cyfryw Gardodau a hynny yn beth i'w chwerthin am ei ben, etto mae arna'i ofn fód Elusenau rhai yn rhŷ agos at hyn ymma ; y mae y cyfryw ddynion islaw'r Discyblion hynny yr ydyn ni yn darllen am danynt, y rhai ni wyddent ond oddiwrth Fedydd *Joan* yn unig, canys fe ellir ystyried fód *Joan Fedyddiwr*, yr hwn nid oedd ond cennad o flaen Crist, yn gwneuthur yn rhan arbennig o'i athrawiaeth, ar fód i'r *nêb sydd ganddo ddwy bais, roi i'r nêb sydd heb yr ûn*, *Luc.* 3. 11. Nid yw ef yn dywedyd yr hwn sydd gantho gîst fawr o ddilladau, ond yr hwn nid oes gantho ond *dwy bais*, rhaid iddo ymadel ac ûn o honynt : wrth hyn y deallwn y

 dylid

Dos. 17 dylid fel hyn gyfrannu béth bynnag sydd gennin ni uwchlaw ( nid ein gwagedd, ond ) ein hangen, pan so angen ein brodyr yn gofyn hynny. Ond os edrychwn ni ar amser cyntaf yr Efengyl, ni a gawn weled Cristianogrwydd yn rhagori llawer ar ddiscyblaeth *Joan*; 'r oedd y rhai a drowyd i'r ffydd yn appwyntio nid rhan yn unig, eithr yn *rhoi'r cwbl* yn rhwydd i'r *Brodyr*, *Act*. 4. Ac er nad yw hynny, oblegid ei fód ef ar achosion anghyffredin, yn fesur o'n hymarfer beunyddol ni, etto fe all ddangos i ni pa ryw ran arbennig a sylfaenus o gristianogrwydd yw'r Cariad hwn, gan yr arferwyd ef mewn cymmaint mesur, pan seiliwyd yr Eglwys gyntaf; ac os ystyriwn ni ymmhellach pa ryw Orchymynion o gariad a roddir ini yn yr Efengyl, hyd yn oed *rhoi ein heinioes i lawr tros y Brodyr*, 1 *Jo*. 3. 16. Ni allwn ni feddwl fôd Duw yn cyfrif ein golud ni yn werthfawroccach na'n bywyd, yn gymmaint ac y gorchymynne fo i ni fód yn afradlon o'r naill; ac etto bodloni i ni arbed y llall yn gynnil.

11. Aneirif o Resymmau a ellid ei ddwyn i ganmol yr haelioni hwn wrth bawb ar sydd yn proffessu Crist; ni osoda'i ar lawr ond dau yn unig, y rhai y mae St. *Paul* yn ei arferu at y *Corinthiaid* ar yr unrhyw achos, 2 *Cor*. 8. 9. *Canys chwi a adwaenoch râs ein Harglwydd Jesu Grist, ac efe yn gyfoethog*, ei syned er *eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef*. Fe waccáodd Crist ei hun o'r holl ogoniant hwnnw a'r mawredd oedd gantho ef gyda'i Dâd yn y Nefoedd, ac a'i hymddarostyngodd ei hun i fuchedd wael a thlawd iawn

yn

yn unic i'n cyfoethogi ni. Ac am hynny rhag cywilydd na rusʃwn ninnau wacchâu ein ciʃtiau, a lleihau péth o'n pentwr, er mwyn cynnorthwyo ei aelodau tlodion ef. Yr ail Rheʃwm yw, diʃgwyliad gwobr, yr hwn a fydd yn ʃwy, neu yn llai yn ol y meʃur o'n Heluʃenau, 2 *Cor.* 9. 6. *A hauo yn brin, a féd hefyd yn brin, ac a hauo yn helaeth a féd hefyd yn helaeth.* Yr ydyn ni yn edrych arno ef megys hwʃmon anʃynhwyrol iawn, yr hwn er mwyn arbed ychydig hâd yn y cyfamʃer a haua mor deneu, ac i anrheithio ei gnŵd; a'r unrhyw ynfydrwydd a fydd ynom ninnau, os trwy arbed ein heluʃeni, y gwnawn ni i ni ein hunain gynhayaf teneu ar ôl hyn, trwy golli'r cwbl, neu ran fawr o'r gwobrau hynny a baratóodd Duw i'r Eluʃen-ŵr hael. Ni chymmera'i arnaf oʃod ar lawr, béth yw'r *cymmeʃurwydd* a ellir ei alw yn rhódd hael, gan fód graddau mewn haelder; fe ddichon un roddi yn hael, ac etto ún arall yn haelach nag yntau; heb law hyn, rhaid yw meʃur haelder, nid cymmaint yn ôl y péth a roddir, a gallu y rhoddwr. Fe ddichon dŷn o Yʃtâd wael roddi llai nag un cyfoethoccach nag ef, ac etto bód yn haelach dŷn, oblegid y dichon yr ychydig hynny fód yn ʃwy allan o'i eiddo ef, na'r llawer allan o eiddo'r llall. Fal hyn y gwelwn ni Criʃt yn dadcan ddarfod i'r *wraig weddw dlawd roddi mwy i'r Tryʃʃor-dy, na'r holl wyr goludog, Luc.* 21. 8. nid fel pe buaʃe ei *dwy hatling* hi yn ʃwy na'i rhoddion *goludog* hwynt, ond o ran bód hynny yn ʃwy iddi hi, gan nad oedd ganthi hi ddim gwedi ei adael, lle yr oeddynt hwy yn rhoddi o'i llawnder y péth a allen nhw

yn

Dos. 17 yn hawdd ei hepcor. Rhaid i bób dŷn yn hyn ymma farnu trosto'i hun; ni a welwn yr Apostol, er ei fód ef yn annog y *Corinthiaid* yn daer i haelioni, etto heb osod ar lawr iddynt, pa faint y roent, eithr yn gadael hynny i'w hymysgaroedd ei hunain, 2 *Cor.* 9. 7. *Pób ún fel y mae yn amcanu yn ei galon, felly rhodded.* Ond cofiwn yn wastad mae mwy cymmeradwy a fydd gan Dduw po mwyaf a rothon ni (trwy na wnelon ni wrth hynny gam a'r rhai yr ydyn ni yn rhwym i'w cynnal) a mwy gwobr a dderbyniwn ni gantho ef. Ac er mwyn siccrhau cwplháad y Ddledswydd o roddi elusen, da a fydd i ni ddilyn y cyngor y mae St. *Paul* yn ei roddi i'r *Corinthiaid* yn hyn, 1 *Cor.* 16. 2. *Pód dydd cyntaf o'r wythnos rhodded pob ún o honoch heibio wrtho ei hun ynghadw yn ól fel y llwyddodd Duw ef*; Pe gwnae dynion felly, sef rhoddi heibio beth bob *wythnos* ynghadw i'r weithred hon o Elusen, dena'r módd siccraf o fód péth yn wastad yn barod i'w roddi, pan ddychwelo achos, a thrwy roddi felly o fesur ychydig ac ychydig, ni a fydden yn llai teimladwy o'r draul, ac ni bydde mor fath *wrwgnachu* a *murmur* ddirgel a fydd gan ddynion wrth roddi llawer o'r unwaith: ac yn wîr fe fydde hyn yn rheol dda iawn mewn pethau eraill hefyd, canys pan fo *crefftwr* neu *Farsiand-wr* yn bwrw ei gyfrifon bób wythnos, ac yn gweled ei elw, dena'r amser cymmesuraf i offrwm y Deyrnged hon i Dduw allan o'r peth a ennillodd ef trwy ei fendith ef; os dywed rhai na allan nhw yn gystal gyfrif ei helw bób wythnos, a thrwy gymmeryd hwy o amser, ni ymryssona'i a nhw am yr amser

nodedig

nodedig hwnnw, ond gwnán bôb mis neu bód chwarter, am y gwnelont hynny: Ond yn ddiammeu iawn yw fód rhoddi peth heibio ir defnyddiau hyn yn hytrach na gadael hyn yn rhydd i'n Helusenau disymmwth ni; ac nid wyfi'n ammeu pwy bynnag a wnelo brawf o hyn, na chydnabyddâ fo hynny ar brofiad. Sul. 17.

12. Yn *Bedwerydd*, rhaid i ni arferu ein *Cariad* tu ac at *Enw-dâ* ein Cymydog: ac ni a allwn gael amryw achosion i hyn ymma; weithiau tu ac at y gwirion, ac weithiau tu ac at yr euog hefyd. Os bydd ûn a wypon ni fód yn ddieúog yn cael ei enllibio, a'i ddifenwi, y mae Cariad yn ein rhwymo ni i wneuthur a allon ni er eglurhau ei ddiniweidrwydd ef, a'i waredu ef oddiwrth yr enllib hwnnw, a hynny nid yn unic trwy dystiolaethu pan elwir arnon ni i hynny ond trwy gynnyg ein tystiolaeth o'n gwir-fodd yn ei blaid ef, neu os ni bydd y cyhuddiad o flaen Gorsedd Cyfiawnder, ac felly heb fod lle i'n tystiolaeth mwy cyhoeddus ni, eithr ei fôd yn unic yn enllib yn passio or naill i'r llall, rhaid i ni yno hefyd wneuthur a allon ni i eglurhau ei wirionedeb ef, trwy gymmeryd pób odfa i fynegu yn gyhoeddus y peth a wypon ni am ei ddiniweidrwydd ef. Ond y mae 'n rhaid i ni gwplhau peth Cariad or fáth ymma tu ac at yr euog hefyd, trwy gelu ei fai ef, os bydd ef yn gyfryw, na bydd rhan arall yn y bŷd o Gariad yn gwneuthur bód yn angenrheidiol ei ddadcuddio ef, neu os ni bydd y bai mor hynod, a bód yn sicer o'i fradychu ei hun. Y mae 'r archollion a roddir i fri ac Cariad tu tu ac at Enw dâ.

Enw

Dos.17 Enw da dynion o'r holl rhai eraill yn anhawsaf ei meddiginiaethu, ac am hynny fe weddai yn dda i Gariad Cristianogawl ei rhagflaenu hwynt, ië lle yr haeddwyd hwynt; ac fe ddichon ysgatfydd y cyfryw dynnerwch yn cuddio 'r bai ddwyn y Troseddwr yn gynt i Edifeirwch, os bydd hynny (fal y dyle fod) ynghyd a phob rhyw gyngor dirgel a difrifol: Ond os bydd y bai yn gyfryw, na ellir mo'i gadw fo yn gyfrinachol, etto er hynny fe ddichon bód lle i'r Cariad hwn, trwy ei leihau ef, cymmhelled ac y bo'r achos yn rhoddi cennad; megys os gwnaethpwyd ef yn *ddisymmwth* ac yn fyrbwyll, fe leihá Cariad hynny, trwy gyfaddasu péth atto ef ar a berthyn i weithred *bwyllog* a rhag-fyfyriol; ac felly yn gyfattebol mewn amgylchiadau eraill. Ond y mae 'n dychwelyd gan mwyaf i ni arferu 'r Cariad hwn tu ac at y rhai ni wypon ni ddim oddiwrth na'i diniweidrwydd na'i heuogrwydd hwynt, ond sydd trwy ryw *weithredoedd ammheus* gwedi ei dwyn i ddrwg-dyb: Ac ymma cofiwn mai priodoldeb Cariad yw bod heb *feddwl drwg*, ond barnu 'r goreu; ac am hynny rhaid i ni ochelyd oddiwrth feddwl anghariadus o honynt ein hunain, ac hyd y gallon ni, cadw eraill hefyd oddiwrth hynny, ac felly ymegnio i gynnal Enw da ein Cymydog, yr hwn sydd synych mewn cymmaint enbydrwydd trwy ammheuaeth anghyfiawn, a thrwy 'r achwyniad cywiraf. I hyn yr wyfi'n meddwl y perthyn Gorchymyn Crist, *Mat.* 7. 1. *Na fernwch*; a phan ystyrion ni 'r geiriau sydd yn calyn, *fel na 'ch barner*, ni edrychwn ni ddim ar hynny megys péth

cyn

cyn waeled ac y mae 'r bŷd yn arfer o'i gyfrif Jul. 17.
ef; fe a delir adref i ni ein barn anrhugarog o eraill, trwy ddwys a gerwyn barn Dduw.

13. Mi a eis bellach trwy 'r *Cariad Gweithredol* hwnnw a berthyn i'n brodyr yn ei pedwar amryw leoedd a'i sefyllfa, llawer o'r rhai neillduol o honynt y crybyllwyd ar fyrr am danynt o'r blaen, pan draethasom am *Gyfiawnder*. Os tybia néb yn anaddas gwneuthur yr unrhyw weithredoedd yn rhan o *Gyfiawnder* ac o *Gariad* hefyd, mi a ddymunaf arnynt ystyried, gan fód *Cariad* trwy Orchymyn Crist yn ddyléd arnon ni i'n brodyr, fe ddyle 'r holl rannau o *Gariad* yn yr ystyriaeth honno gael ei crynhoi tan y Prif-bwngc o *Gyfiawnder*, gan fód talu dléd yn ddiammeu yn rhan o honi hi: Etto oblegid ein bod ni yn gyffredinol yn gwneuthur rhagoriaeth rhwng swyddau *Cyfiawnder* a *Chariad*, mi a ddewisais draethu arnynt, megys y maent yn perthyn yn neillduol i *Gariad*. Ond yr wyfi'n deisyf fód cofio yn wastad, béth bynnag sydd tan Orchymyn, ei fôd ef yn gymmaint yn Ddléd arnon ni, a'n bôd ni yn trosseddu nid yn unic yn erbyn *Cariad*, ond *Cyfiawnder* hefyd, os nyni a'i hesgeuluswn ef; yr hyn a haedda ei ystyried, er mwyn cynnhyrfu ein gofal ni i gwplhau hynny, ac yn hytrach, oblegid fód dynion gan mwyaf yn cyfeiliorni yn hyn ymma; trwy édrych ar weithredoedd o drugaredd megys pethau yn sefyll yn hollawl ar ei hewyllys da nhw, heb fôd arnynt Rwymedigaeth yn y bŷd i hynny, a'r ffrwyth o hynny yw, fôd dynion yn barod i dybied yn fawr o honynt ei hunain, pan ddango-

Dos. 17 ddangoson nhw 'r Cariad lleiaf, ond ni fwriant fai arnynt ei hunain, er iddynt esgeuluso hynny yn hollawl. Os oes unrhyw gariad arall, yr hwn ni pherthyn i Gyfiawnder, y maent yn gyfryw rai ac na ofynnir oblegid ei graddau megis Dléd gaeth arnom ni, hynny yw, ni orchymynnir mo honynt yn y cyfryw fesur gan Dduw, ac etto am y rhain fe fydd resymol yn iawn i ni ymegnio; ond nid allwn ni wneuthur hynny heb gymmeryd y graddau angenrheidiol yn ein ffordd, ac am hynny bydded ein gofal *cyntaf* ni amdanynt hwy.

14. I'n hyfforddio ni yn hyn ni ddichon bôd gwell moddion, na chadw o flaen ein llygaid y rheol ragorol honno o *garu ein Cymydogion fel ni ein hunain*; hyn y mae 'r Apostol yn ei wneuthur yn grynhóad o'n hól *Ddledswydd ni tu ac at ein Cymydogion*, Rhuf. 13. 9. Bydded hyn gan hynny yn rheol i fesur ein holl weithredoedd ni tu ac at eraill wrtho; pan gansyddi di angen yn y bŷd o eiddo dy gymydog, gofyn i ti dy hún, Pe byddit ti yn yr un cyflwr, oni wnai 'r Cariad sydd gennit ti i ti dy hun iti ymegnio am gymmorth, ac yna llawn-fwriada ar fòd dy gariad tithau yn gyfryw tu ac at dy Gymydog. Hon yw 'r *Gyfraith Frenhinol* honno, fel y mae St. *Jaco.* yn ei galw hi, *Jac.* 2. 8. wrth ba un y bydd yn rhaid i bawb ar sydd yn ddeiliaid i Grist gael ei llywodraethu; a phwy bynnag sydd felly, fe fydd siwr o gwplhau pób Dledswydd o Gariad i eraill, oblegid y chwennychei fo i eraill, ar yr unrhyw achosion, ei cwplhau nhw

iddo yntau. Nid oes néb na ewyllysiei cael ymddiffyn ei Enw da, cymmorth ei dlodi, a chynnorthwyo ei ddioddefaint corphorol, yn unic fe ellir dywedyd, am *angenrheidiau Yspry-dol*, fod rhai mor esgeulus o honynt ei hunain na chwennychan nhw ddim cynnorhwy, ni ewyllysiant nag argyoeddiad, nag athrawiaeth, ië nhw a fyddant ddigllon pan roddir hwynt; fe all rhai gan hynny ddywedyd, nad ydyw 'r cyfryw rai yn rhwym trwy rinwedd y rheol hon i'r rhywogaethau hynny o Gariad. I hyn mi attebaf y deallir wrth y *Cariad* hwn-nw o *honom ein hunain*, yr hwn a osodir yma ar lawr megis mesur o'n *Cariad* tu ac at ein cymydog, y cariad rhesymol hwnnw a ddyle fód gennin ni i ni ein hunain; ac am hynny er dyfod o ddŷn yn fyrr o'r cariad hwnnw, sydd ddledus arno iddo 'i hun, etto ni fforffediodd ei Gymydog ei gyfiawnder ef trwy hynny, y mae iddo ef etto hawl i'r cyfryw fesur o'n Cariad ni, ac a ddyle fód gennim ni i ni ein hunain, a'r cyfryw yn ddiau yw 'r gofal hwn am ein cyflwr ysprydol; ac am hyn-ny er i ni esgeuluso ein Heneidiau ein hunain, ni ryddhâa hynny mononi oddiwrth y cariad dledus i eraill; ond ni phoena 'i yn pwyso llawer ar y cyfryw ddynion am gwplhau 'r Ddledswydd hon, gan nad ydyw debyg y gellir ei hannog nhw i hynny, nag y gwnaen nhw ddaioni trwy hynny pe gellid, gan y gorch-fygai ei siampl ddrŵg ei holl gynhorion da hwynt, ac felly gwneuthur y cwbl yn ofer ac yn anfuddiol. Sul. 17.

Rom. 12. 18.
Heb. 12. 14.
1 Pet. 3. 11.



Dos. 17

Gwneuthur Tangnheddyf

Llun. 20 Apr. 1704

15. Y mae etto ún weithred o Gariad yn ól, yr hon ni pherthyn yn briodol i'r un o'r rhai or blaen, ac etto mewn ffordd a ddichon berthynu iddynt oll, a houno yw, *Gwneuthur Tangnheddyf* a chymdeithas da ymysg eraill; trwy ba ûn y gallwn ni wneuthur llês mawr i Eneidiau, Cyrph, i olud, ac i Enw da ein Brodyr; oblegid y mae 'rhain o'l mewn enbydrwydd trwy gynnen ac ymryson. Y mae atgymmodi gelynion yn weithred tra-bendigedig, ac a ddŵg fendith ar y rhai a'i harferont: Y mae i ni air Crist am hynny, *Gwyn-fyd y Tangnheddyf-wyr*, Mat. 5. 9. ac am hynny y mae i ni annogiad i gymmeryd gafael yn ddiwyd ar bôb odfa o wneuthur y swydd hon o Gariad, trwy arferu ein holl gelfyddyd a'n hegni i ddiffodd pôb cwerylon ac ymryssonau a ganfyddon ni ymysg eraill; ac nid digon i ni yn unic ymegnío i edfrydu heddwch lle'i collwyd ef, ond ei gynnal ef lle y bo: Yn *gyntaf*, yn gyffredinol, trwy geisio sefydlu ynghalon pôb dŷn o'n cydnabyddiaeth wîr brîs y Tlŵs gwerthfawr hwnnw, Tangnheddyf; Yn *ail*, yn neillduol, trwy ragflaenu mewn prŷd y cynnhennau a'r amrafaelion hynny a welon ni yn debyg i ddychwelyd. Fe ddichon cyfaill neu Gymydog pwyllog yn fynych ddiwygio'r camgymmeriad a'r camsyniadau hynny y rhai yw dechreuad ymryssonau ac amryfuseddau, ac fe fydd yn hawsach ac yn fwy buddiol fal hyn rag-flaenu, nag heddychu amrafaelion. Y mae yn hawsach yn ddiammeu, oblegid pan fo ymryson unwaith gwedi tarddu allan, y mae ef fal

ffflamm

Cymmrodorion LIBRARY
61, Chancery Lane W C 2

Sul. 17.

fflamm angerddol, yr hon ni ellir ei diffodd cyn gynted, ac y gallesid pan ydoedd yn dechreu cynneu. Ac hefyd y mae hynny yn fwy buddiol, o blegid y mae ef yn rhagflaenu llawer o bechodau, y rhai ni ellir ond yn anhawdd ei gochelyd mewn parháad cynnen cyhoeddus. Y mae *Solomon* yn dywedyd, *yn am'der geiriau ni phalle fód pechod*, *Dihar*. 10. 19. Yr hyn ni ellir yn gymmhwysach ei draethu am unrhyw fáth ar eirieu, nag am y rhai hynny 'sy'n passio mewn digofaint; ac yna er i'r amrafael fód ar ôl hyn gwedi ei wneuthur i fynu, etto fe erys y pechodau hynny rhag llaw, ar ei cyfrif hwynt; ac am hynny Cariad mawr yw ei rhag-flaenu hwynt.

16. Ond i gymmhwyso dŷn i'r swydd ragorol hon o *wneuthur Tangnheddyf*, angenrheidiol yw ei fód ef mewn módd enwedigol yn *dangnheddyfus ei hunan*; canys a pha ryw wyneb y gelli di gynghori ac annog eraill i'r péth ni chwplhei di dy hun? Neu pa fodd y gelli ei ddisgwyl i'th gyngor dyccio? Atteb parod yngenau pób dŷn a fydd, *Tydi ragrithiwr, bwrw allan yn gyntaf y trawst allan o'th lygad dy hun*, *Mat*. 7. 5. Ac am hynny edrych yn ddyfal am dy gymmhwyso dy hun i'r gorchwyl hyn. Y mae un pwngc o dangnheddyf na wneir fawr gyfrif o hono ymysg dynion, a hynny yw mewn *trosseddiadau ymgyfreithiol*; nid yw dynion yn meddwl fód niwed yn y bŷd yn myned i'r *Gyfraith* ynghylch pób ffiloreg gwael, a thra'i caffon nhw ond y Gyfraith o'i tu, ni thybian nhw fód bai yn y bŷd arnynt: ond yn ddiammeu, pe bydde gennin ni y gwîr

Dos. 17 Yspryd heddychol hwnnw a ddyle fod gennin ni, ni sydden ni ddim parod am gyfryw achosion gwael i gythrwblio ac aflonyddu ein Cymydogion. Nid fal pe bydde pób mynediad i'r Gyfraith yn hollawl yn anghristianogaidd, ond y cyfryw *Gwynion*, ac a sylfaenir ar gynnen ac Uchder meddwl, i amddiffyn y cyfryw hawl gwael, na bydde i ni fawr golled na niwed er ymadel ac ef, neu 'r hyn sydd waeth etto, i ddíal y cyfryw gamwedd. Ac yn wir yr hwn mewn achosion mawr a ymedy a pheth o'i hawl er mwyn Tangnheddyf, sydd yn gwneuthur fwyaf Cristianogaidd, a mwyaf cyfattebol i gyngor yr Apostol, 1 *Cor.* 6. 7. Yn hytrach *dioddef cam, a chymmeryd colled.* Ond os bydd y niwed cymmaint, a bód yn angenrheidiol i ni fyned i'r Gyfraith, etto yno rhaid i ni edrych yn ofalus am gynnal Tangnheddyf; yn *gyntaf*, trwy fód gennin ni dymmer cymdeithgar a Christianogaidd tu ac at ein gwrthwyneb-ŵr, heb oddef i'n calonnau ymddieithro oddiwrtho ef; yn *ail*, trwy fód yn fodlon i ymroi i bób termau rhesymol o gyttundeb, pa bryd bynnag y cynnygir hwynt; ac yn wir oni bydd gennin ni'r meddwl addfwyn tymmherus hwn yn ymgyfreithio, ni wela'i pa fodd y gellir ei cymmodi nhw a'r Yspryd tangnheddyfus hwnnw a ofynnir mor gaeth gan bób Cristion. Ystyried y rheini hyn y rhai sydd yn ddigrif ganddynt aflonyddu ei Cymydog, neu Swydd pa rai yw cynnhyrfu eraill i hyn ymma. Y mae hoffi Tangnheddyf yn gystal ynom ein hunain, ac eraill, yn hollawl yn angenrheidiol i bawb ar sydd yn ei haddef ei hunain i fód yn wasanaeth-wŷr iddo ef, yr hwn a elwir *Twysog Tangnheddyf*, *Esa.* 9. 6.

Am fyned i'r Gyfraith.

17. Cym-

Sul. 17.

17. Cymmaint ac ſydd yn ôl i'w draethu am y *Cariad* hwn mewn *Gweithredoedd*, yw ei gyrthaeddiad ef, yr hwn ſydd raid fód mor ehang a'r llall yn yr anwydau, ſef i gynnhwyſo tano nid yn unic ddieithraid, ac eſtroniaid i ni, eithr hefyd ein gelynion mwyaf. Mi a draethais gymmaint yn barod am y Rhwymedigaeth ſydd arnon ni i faddeu iddynt, na ddyweda'i ddim anghwaneg ymma am hynny, ond os cydnabyddir hynny yn Ddledſwydd, ni ymddengys ond yn rheſymol iawn i ni ſyned ymlaen ûn rádd ymmhellach, ſef, i wneuthur cymwynaſau iddynt; oblegid gwedi i ni unwaith faddeu iddynt, ni allwn ni ei cyfrif hwynt yn Elynion mwyach, ac felly ni bydd yn béth anhawdd iê i gîg a gwaed wneuthur pób rhyw gymwynas iddynt. Ac yn wîr dymma'r módd i ni i brofi gwirionedd ein maddeuant. Hawdd yw dywedyd, yr wyf'n maddeu i'r cyfryw ddŷn, ond os gommeddi di wneuthur daioni iddo pan geffych odfa, amlwg yw fód yr hên falis etto yn llechu yn dy galon di; lle y mae maddeuant hollawl, fe fydd cymmaint parodrwydd i wneuthur cymwynas i Elyn ac i gyfaill: iê yſgatfydd mewn rhai pethau ychwaneg, gan fód dŷn gwîrgariadus yn edrych arno megys goruchafiaeth odidog, pan gyfarfyddo ef ac odfa i eglurhau gwirionedd ei gymmod, ac i ufyddhau Gorchymyn ei Iachawdr, *trwy wneuthur daioni i'r rhai a'i caſhâant ef*, *Mat.* 5. 44. Gwybyddwn gan hynny fód yn rhaid i ni gwplhau pób rhyw weithredoedd o garedigrwydd i'n gelynion, am yr hyn béth y mae inni nid yn unic *Orchymyn*, eithr hefyd *ſiampl*

 Criſt

Dosp. 17 Crist, yr hwn nid oedd yn unic yn tosturio troston ni ei elynion gwrthnysig a gwrthryfelgar, eithr a ddangosodd hynny mewn gweithredoedd, a hynny nid rhai gwael ac esmwyth, ond y cyfryw ac a gostiodd iddo ef ei werthfawroccaf waed. Ac yn ddíau ofer i ni gymmeryd arnom nag ufyddhau ei Orchymyn ef, na dilyn ei siampl ef, os bydd yn anhawdd genini ddangos allan ein Cariad tu ac at ein gelynion trwy'r ffyrdd esmwythach hynny o'i *porthi nhw yn ei newyn*, neu'r cyffelyb a osodir ar lawr i ni gan yr Apostol, *Rhuf.* 12. 20. Ond os gallen ni gwplhau'r gweithredoedd hyn o garedigrwydd i'n gelynion yn y cyfryw, fódd ac a'i tynne nhw oddiwrth ei gelyniaeth, ac a'i hennille nhw i heddwch, fe fydde'r Cariad yn ddau ddyblyg; Ac at hyn y dylen ni ymegnío, oblegid hynny y mae'r Apostol yn ei osod ar lawr megys y diben o'r gweithredoedd rhagddywededig o borthi, &c. *Fel y bo i ni bentyrru marwor am ei pennau hwynt*, nid marwor i'w llosgi, ond i'w toddi nhw i bód rhyw Gariad a thynnerwch tu ac atton ni; a hyn yn wîr a fydde'r módd berffeithiaf o *ddilyn siampl Crist*, yr hwn, yn y cwbl a wnaeth ef, ac a ddioddefodd ef troston ni, oedd yn rhag-luniaethu ein cymmodi ni ac ef ei hun.

Priawd-serch yn rhwystr i'r Cariad hwn.

18. Mi a ddongosais i chwi bellach yr amryw rannau o'n *Dlêd tu ac at ein cymydog*, er mwyn cwplhau pa ûn ni wn ni ddim mwy angenrheidiól na diyspyddu ein Calonnau o'r *Priod-gariad* hwnnw, yr hwn sydd mor fynych yn ei meddiannu hwynt, a hynny mor hollawl, nad yw yn gadael lle i Gariad, iê nag i

Gyfiawnder

Gyfiawnder ychwaith tu ac at ein Cymydog. Sul. 17.
Nid wyfi'n meddwl trwy'r *Priod-gariad* hwn y *gwîr-gariad* hwnnw o honom ein hunain, sef y Cariad a'r gofal am ein Heneidiau, ond y Cariad anghymedrol hwnnw o'n bûdd a'n mantes bydol, yr hyn yn ddíau yw gwreiddyn pób anghyfiawnder ac angharedigrwydd tu ac at eraill. Y mae'r Apostol yn gosod y pechod hwn o *serch i ni ein hunain* ym mhen lliaws o bechodau, 2 *Tim.* 3. 2. fel pe bydde fo yn ryw Swyddwr cyfrifol ym myddin Satan; ac yn wîr nid heb achos, oblegid nid yw ef ûn amser yn myned heb lu melldigedig o amryw bechodau eraill, y rhai fel *cynffon y Ddraig*, *Dadc.* 12. 4. sydd yn tynnu ymmaith bób gofal am Ddledswydd tu ac at eraill. Fe'n gwneir ni trwy hynny mor ddyfal a bwriadus ar ein boddhau ein hunain, na waeth gennin ni am néb arall, yngwrthwyneb i gyfarwyddiad St. *Paul*, *Rhuf.* 15. 2. yr hyn yw, nid i'n boddhau ein hunain, ond *i bawb foddhau ei gymydog yn yr hyn sydd dda i adeilad*; yr hyn y mae fo yn ei annog o ran siampl Crist, *gwer.* 3. *Canys Crist nis boddháodd ei hunan*: Os oes gan hynny ewyllys diffúant gennin ni o gael y Rhinwedd ymma o gariad wedi ei gwreiddio yn ein calonnau ni, rhaid i ni fód yn ofalus am chwynnu allan y pechod hwn o serch i ni ein hunain, oblegid ammhossibl yw iddynt hwy ill dau lwyddo yn yr ûn lle.

19. Ond gwedi i ni symmud ymmaith y Rhwystr hwn, rhaid i ni gofio nad yw hyn, mwy na grasau eraill, yn tarddu o honom ein hunain, *dawn Duw* yw efe, ac am hynny rhaid

Dos. 17 i ni *Weddio* yn daer arno ef am ei weithredu ef ynom ni, trwy ddanfon ei Yspryd glân, yr hwn a ymddangosodd unwaith mewn dull *Clommen* creadur *llaryaidd* a *di-fustl*, i ffurfio ein calonnau ni i'r unrhyw dymmer, ac i'n gwneuthur ni yn abl i gwplhau yn iawn y Ddledswydd hon.

Dledswyddau Cristianogawl yn bossibl ac yn hyfryd

20. Mi a eis bellach trwy'r amryw *Ddospar-thiadau* hynny a osodais i ar lawr ar y cyntaf, ac a ddangosais i chwi béth yw ein *Dledswydd* i *Dduw*, i ni *ein Hunain*, ac i'n *Cymydog*: Ac mi a allaf ddywedyd am hyn megis y mae, *Luc.* 10. 28. *Gwná hyn a byw fyddi.* Ac yn ddiammeu nid gorchwyl ammhossibl yw cwplhau hyn yn y cyfryw fesur ac y mae Duw yn fodlon i'w dderbyn yn rasusol, sef, mewn Purdeb, er nid mewn Perffeithrwydd, oblegid nid yw Duw yn gyfryw Feistr tôst, *Luc.* 19. 20. *Yn medi 'r péth ni hauodd*; nid yw efe yn gofyn dim gennin ni ond y péth y mae fo yn barod trwy ei Râs i'n helpu ni i'w gwplhau, oddigaeth i ni fód yn ddiffygiol i ni ein hunain, naill ai yn ei ofyn ef trwy Weddi, neu yn ei arferu ef trwy Ddiwydrwydd. Ac megys nad ydyw ef yn ammhossibl, felly hefyd nid yw ef yn orchwyl mor drwm, ac athrist, ac y mae dynion yn barod i feddwl o honaw. Cyfrwysder arbennig *Satan* yw gwneuthur fel y gwnaeth y *Spiwyr*, *Num.* 13. 32. *dwyn anglod i'r Tîr da hwn*, sef, *buchedd Gristianogawl*, i'n harswydo a'n digalonni ni rhag myned i mewn iddi hi, ac i'n brawychu ni ac ni wn ni pa *Gawri* a gawn ni ei cyfarfod; ond na siommer ni fal hyn, eithr ymwrolwn i brofi, ac yna ni

a gawn

a gawn ei gweled hi yn *Ganaan*, , *yn wlâd* Sul. 17.
*yn llifeirio o laeth a mêl* : Nid yw Duw yn *anialwch i'w bobl, nag yn dîr Tywyllwch. Jer.* 2. 31. Nid yw ei wasanaeth ef yn ein difeddu ni o ddim gwîr lawenydd, ond yn ein helpu ni i lawer iawn : *y mae jau Grist yn esmmyth*, iê ac yn *hyfryd* hefyd, *y mae ei faich ef yn ysgafn*, iê ac yn *rasusol* hefyd. Y mae mewn *ymarfer Dledswyddau Cristianogawl* lawer iawn o bleser presennol, ac os nid ydyn ni yn deimladwy o hynny, hynny sydd o ran y gwrthwynebiad y mae ein hymarweddiad trofaus bechadurus ni yn ei wneuthur, y rhai trwy'r ymrafael sydd yn codi anesmwythdra. Ond ymma yn *gyntaf* rhaid i ni roddi hyn ar ein cyfrif ein hunain, am i ni gael y drŵg arferion hyn, ac felly gwneuthur hynny yn anhawdd i ni, yr hwn o hono 'i hûn sydd yn dra-hyfryd ; ni wasanaetha bwrw bai ar y Dledswyddau am hynny. Ac yna yn *ail*, y mae'r hyfrydwch o orchfygu 'r arferion drŵg hynny yn gyfryw, ac a lwyr bwysa i lawr yr holl drafferth o'r frwydr.

21. Ond se ddywedir ysgatfydd fód rhai rannau o Dduwioldeb yn gyfryw, ac a fydd yn debyg iawn i ddwyn arnon ni *erledigaethau a blinderau* yn y bŷd, ac nad yw y rheini *yn hyfryd*, eithr *yn ofidus*. Mi a attebaf, fód yn y rheini achos o orfoledd : ni welwn fód yr Apostolion yn meddwl felly, *yr oeddynt yn llawénychu am ei cyfrif hwynt yn deilwng i ddioddef er mwyn Enw 'r Jesu, Act.* 5. 41. Ac y mae St. *Petr* yn dywedyd i ni, os bydd i néb oddef fel Cristion y dyle ef foliannu

Dos.17 liannu Duw am hynny; 1 Pet. 4. 16. Y mae 'r cyfryw rym a rhinwedd yn nhystiolaeth Cydwybod dda ac sydd abl i newid y Penydiau tostaf i'r gorfoledd mwyaf, ac ni allwn ni byth gael y dystiolaeth honno yn eglurach ac yn fywioccach na phan oddefon ni er mwyn Cyfiawnder; felly, chwi a welwch fód *Cristianogrwydd* yn dra-hyfryd yn ei hymwisgiad gresynolaf, y mae ei diddanwch hi oddi mewn yn rhagori llawer ar yr holl flinderau oddiallan sydd yn ei dilyn hi, a hynny yn y cyfamser, tra 'i boni yn y cyflwr o filwraeth ar y ddair. Ond os edrychwn ni *ymlaen* ar y *Goron* o'n buddugoliaeth ni, sef y gwobrau tragywyddol hynny yn y Nêf ni thybiwn ni byth fób y dioddefiadau hynny yn ofidus, na 'r Dledswyddau Cristianogawl ychwaith, er na bo dim gennini yn y cyfamser i'w pereiddio hwynt, gan fod y cyfryw dâl am danynt yn yn diwedd; bydded ein llafur ni mor dôst ac y mynno, ni all fôd achos i ni ddffygio tanynt. Gadewch i ni gan hynny pan gyfarfyddon ni a rhyw rwystrau yn ein hymdaith, sefydlu ein golwg ar y gyngwystl werthfawr hon, ac yna *rhedeg trwy ammynedd yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni*, Hebr. 12. 1. a dylin *Pen-twysog ein iechydwraeth* ni trwy 'r gofidiau trymmaf, ie trwy 'r unrhyw *Fôr côch* o waed yr aeth ef trwyddo, pan fo ein hufydd-dod ni iddo ef yn gofyn hynny; oblegid er i'n *ffyddlondeb* ni iddo ef ein tywys ni i angeu, yr ydyn ni yn siccr na byddwn ni golled-wŷr wrth hynny; oblegid i'r cyfryw rai yr addawodd ef *Goron y bywyd*, disgwyliad pa ûn a ddichon wneuthur Cristion yn fwy cyssurus

rus yn ei efynnau a phydew tomlyd, na cherlyn bydol ynghanol ei lwyddiant mwyaf.

22. Cymmaint ac fydd i mi i'w draethu yn anghwaneg yw, i ddeifyf ac i daer-ymbil ar y Darllenydd, ar iddo yn ddiattreg ymofod ar y Ddledfwydd hon fydd mor fuddiol a hyfryd, trwy ymarferu yn ddiffúant yr holl bethau hynny a genfydd ef trwy'r *Llyfr* hwn, neu ryw foddion eraill, i fód yn ddyledus arno, a pho pellaf yr aeth ef o'r blaen allan o'r ffordd, pryffurach y dyle fo geifio dyfod iddi hi, a bód yn fwy diwyd i rodio ynthi hi. Yr hwn fydd iddo fiwrne fawr i fyned, ac a wêl iddo golli rhan fawr o'i ddydd mewn *ffordd gyfeiliornus*, nid rhaid mor cymmell llawer arno i droi i'r ffordd union, nag i bryffuro ei fynediad ynthi hi. A dymma gyflwr y rhai óll a fuont fyw mewn rhyw gwrs o bechod, y maent hwy mewn llwybr cyfeiliornus, yr hwn ni ddŵg monynt byth i'r lle y maent yn amcanu, iè a'i dŵg hwynt yn ddiammeu i'r lle y maent yn ei gafhau ac yn ei arfwydo fwyaf; llawer o'i dydd a dreulwyd, ni ŵyr néb pa faint a adewir iddynt i orphen ei taith yntho, yfgatfydd yr awr neu 'r munudyn neffaf y daw nofweth marwolaeth ar ei gwartha hwynt; pa ynfydrwydd gan hynny yw iddynt oedi ûn munudyn ymchwelyd allan o'r llwybr hwnnw fydd yn arwain i ddiniftr anocheladwy, ac i ymofod yn y ffordd honno a'i dŵg hwynt i wynfyd a gogoniant? Etto y mae dynion gwedi ei llygattynu a'i hudo gan *Dwyll pechod* cymmhelled

Dos. 17 mhelled, na thyccia deisyfiad nac annogaeth yn y bŷd ddim gydá hwynt, i wneuthur y cyfnewid hwn sydd mor resymol ac angenrheidiol; nid fal pe byddent heb gydnabod fod hyn yn angenrheidiol, ond ei bôd yn anfodlon i wneuthur hynny etto; nhw a chwennychent fwynhau holl blesserau pechod tra 'i bônt byw, ac yna maent yn gobeithio gwneuthur y cwbl a berthyn i'w Heneidiau ar ei marwolaeth, neu ychydig amser cyn hynny. Ond och! Y mae 'r Nêf yn rhŷ uchel i neidio fal hyn iddi hi, y mae 'r ffordd iddi hi yn állt hír a pharhaus, yr hon a ofyn amser i'w rhodio. Fe draethwyd yn helaethach am y peryglon o oedi hyn yn y Traethawd am *Edifeirweh*: Nid á 'i ymma i'w hail-adrodd hwynt, ond deisyf yn unig ar y Darllenydd ei gosod nhw yn ddifrifol at ei galon, ac yna yn ddiammeu fe dybia mai cyngor mewn prŷd a roddir gan y gŵr doeth, *Eccles* 5. 8. *Na fydd hwyrfrydig i droi at yr Arglwydd, ac na oeda o ddydd i ddydd.*

---

# TERFYN.

---


Bonum est confiteri Domino et
psallere tuo nomini Altissime.
Te decet Hymnus.
Domus
orationis
Vaughan sculp.
Gloria
Miserere
Confiteor

# Dwywolder

NEILLDUOL

Ar amryw

ACHOSION,

Yn Gystal

*CYFFREDINOL*

Ac

*ANGHYFFREDINOL.*

---



---

*LONDON*,
Printed for *R. Royston*, 1671.

Y DARLLENYDD CRISTIANOGAWL,

FE *ddarfu i mi er Cymmorth i'th Ddefosiwnau di osod ar lawr rai* FFURFAU *o* WEDDIAU NEILLDUOL *ar amryw Achosion : Os tybiir yn fyrr ynof nad oes yr un i Deuluoedd, rhaid i mi atteb trossof fy hun, nad oedd hynny o herwydd fy mód i yn meddwl na ddylid addoli Duw yn gystal yn y Teulu ac yn y Stafell ; ond o herwydd darfod i Ragluniaeth Duw a'r Eglwys baratoi yn barod i'r pwrpas hwnnw tu hwynt o anfeidrol i'r eithaf a allasei fe niwydrwydd i ei wneuthur, sef y* LITYRGY PUBLIC *neu'r* LLYFR GWEDDI GYFFREDIN, *y rhai am bôb dynessâad cyhoeddus at Dduw (a'r cyfryw yw* Gweddiau Teuluaidd) *ydynt mor rhagorol a defnyddiol, ac y gall a'i ddywedyd am danynt, fal y dywedodd* Dafydd *am gleddyf* Goliah *gynt*, 1 *Sam.* 21. 9. Nid oes yr un tebyg iddo ef.

---

## CYFARWYDDIAD am y BOREU.

*Cyn gynted ac y deffróech di 'r boreu, derchafa dy galon at Dduw Yn hon neu ryw gyffelyb Weddi ferr arall.*

ARGLWYDD, megis ac y deffróaist ti fy nghorph i o gwsg, felly trwy dy Râs deffro fy Enaid o bechod ; a gwná i mi felly rodio ger dy fron di 'r dydd hwn, a holl ddyddiau

ddiau fy mywyd rhag llaw, fal pan ddeffrŷ 'r udcorn diweddaf fi o'm bédd, y gallwyf gyfodi i'r fuchedd anfarwol, trwy Jesu Grist.

*GWedi iti ddechreu fal hyn, na ád (heb ryw achos tra-angenrheidiol) a feddyliau bydol dy rwystro di, nes darfod i ti hefyd dalu dy Ddylêd mwy arbennig i Dduw holl-alluog, ac am hynny tra'i bóch di yn dy ymwisco dy hun (yr hyn ni ddyle gymmeryd dim mwy o amser nac y bo gweddeidd-dra cyffredinol yn gofyn) myfyria ar ryw bethau Ysprydol: megys hyn, ystyria i ba ryw* brofedigaethau *y mae dy* Orchwylion *neu'th* gyfeillach *y dydd hwnnw debyccaf i'th ddenu di, ac arfera dy hun a llawn-fwriadau yn ei herbyn hwynt; neu ymmhellach, ystyria pa* achlysur *yr wyt ti debyccaf i'w gael y dydd hwnnw i* wasanaethu Duw, *neu i wneuthur daioni i'th gymydog, ac ymróa i gymmeryd gafael arno ef; a bwriada hefyd pa fódd y bydd iti wneuthur y defnydd goreu o'r cyfryw odfa. Ond yn enwedig chwilia yn ddyfal a fuost ti yn euog o unrhyw bechod er dy ymholiad y nôs o'r blaen. Os bydd i ti ar ól yr ystyriaethau hyn ychwaneg o ennyd, yna myfyria am yr* Adgyfodiad *cyffredinol (cyffelybiaeth i ba ún yw ein Cyfodiad ni o'n gwelâu) ac am y farn echryslon honno sydd yn calyn, ac yna meddwl wrthit dy hun mewn pa fâth barodrwydd yr wyt ti erbyn hynny, a llawnfwriada hwsmonaethu yn ddiwyd bób munudyn o'th amser i'th gymhwyso dy hûn erbyn y cyfrif mawr a fydd raid i ti roddi y pryd hynny. Cyn gynted ac y byddoch di yn barod, cyfeiria i ryw le dirgel, ac yna offryma i fynu i Dduw dy aberth Foreuol o Foliant a Gweddi.*

GWEDDIAU



# GWEDDIAU BOREUOL.

*Wrth ymoſtwng ar dy liniau, dywed.*

Y Gogoned, lân ſendigaid Drindod, tri pherſon ac ûn Duw, trugarhá wrthif wîr bechadur.

O Arglwydd, ni's gwn i pa béth i Weddío am dano ſal y dylwyf; o bydded i'th Yſpryd di gynnorthwyo ſy ngwendid i, am gwneuthur i yn abl i offrwm i ſynu Aberth yſprydol gymmeradwy gennit ti, trwy Jeſu Griſt.

*Diolwch.*

O Arglwydd Graſuſol, yr hwn y mae ei Drugareddau yn parhau yn dragywydd, yr wyf fi dy wâs annheilwng yr hwn a archwaethais mor helaeth o honynt, yn chwennych talu i ti deyrnged o ſoliant goſtyngeiddiaf am danynt: Ynot ti, o Arglwydd, yr wyf' yn byw, yn ſymmud, ac yn bód; tydi ar y cyntaf a wnaethoſt i mi ſód, ac yna ſal na byddwn yn druenus eithr yn ddedwydd, ti a anſonaiſt dy fâb o'th ſonwes i'm gwaredu i oddiwrth allu ſy mhechodau trwy ei Râs, ac oddiwrth goſpedigaeth am danynt trwy ei waed, a thrwy bób ûn i'm dwyn i i'w ogoniant. Tydi o'th drugaredd a wnaethoſt i mi gael

ſy ngeni o ſewn dy Gorlan briodol dy hûn, yr Eglwys Griſtianogol, lle i'm cyſſegrwyd yn gynnar i ti trwy ſedydd, ac y búm gyfrannog o'r holl gymmorthau yſprydol hynny a allei ſy nghynnorthwyo i i gwplhau'r Adduned a wnaethum i yno i ti; a chwedi i mi o'm gwirfodd neu trwy eſgeuluſdra ei dorri ef, etto o'th anfeidrol drugareddau ni ddarfu iti mo'm gwrthod i, eithr a'm gwahoddaiſt i yn raſuſol i Édifeirwch, ac a ganniadhéaiſt i mi bób rhyw foddion oddimewn ac oddiallan i hynny, a thrwy ddirfawr ammynedd a arbedaiſt ſy nhorri i ymmaith yn gweithrediad yr amryw bechodau diniſtriol hynny a wneuthum i, megys yr haeddais i yn dra-chyfiawn. Dy Râs di, O Arglwydd, yn unic a'm hattaliodd i oddiwrth y pechodau mwyaf, ac a'm gwnaeth i yn abl i wneuthur y daioni lleiaf; Nid i mi gan hynny, nid i mi, ond i'th Enw dy hun y bo'r moliant. Am y rhai hyn a phób ryw fendithion yſprydol eraill, ſy Enaid a fawryga 'r Arglwydd, a chwbl ſydd ynof a fawl ei Enw Sanctaidd ef. Yr wyfi'n dy foliannu di hefyd am yr amryw fendithion hynny oddiallan yr wyf' yn ei mwynhau, megys Iechyd, cyfneſeifiaid, ymborth, a dillad, y Cyſſurau yn gyſtal a'r angenrheidiau o'r bywyd hwn, am amddiffyniad beunyddol dy law, trwy ba ûn i'm cedwir i a'm heiddo oddiwrth beryglon, a'r ymwared graſuſol hynny a ganniadhéaiſt ti yn fynych allan o'r cyfryw rai a ddychwelodd i mi, ac am dy drugaredd hefyd yn pereiddio ac yn ardymmheru'r blinderau hynny y rhai ni welaiſt ti yn dda yn hollawl ei ſymmud ymmaith: am ſy amddiffyniad neillduol y nôs

hon,

hon, a phób rhwy ddaioni arall tu ac attafi; Caniadhá, O Arglwydd, fód i mi dalu i ti nid yn unic ffrwyth fy ngwefusau, ond hefyd ufudd-dod fy muchedd, fal y bo'r bendithion hyn yn wystl o'r bendithion gwerthfawroccaf hynny a baratóaist ti i'r sawl a'th garant di, a hynny er ei fwyn ef yr hwn a wnaethost ti yn Awdur iechydwraeth dragywyddol i bawb a ufuddháant i ti, sef Jesu Grist.

## *Cyffes.*

O Arglwydd Cyfiawn yr hwn wyt yn casshau anwiredd, wele fi dy greadur pechadurus yn ymddarostwng fy hûn wrth dy draed di, gan gydnabod i mi haeddu yn dra-chyfiawn i ti yn hollawl fy ffieiddio am gwrthod i; canys mi a yfais anwiredd fal dwfr, ac a eis ymlaen mewn tresn ddibaid o bechod a gwrthryfelgarwch i'th erbyn, gan wneuthur yn wastad y pethau'r wyt ti yn ei gwahardd, a gadael heb wneuthur y pethau'r wyt ti yn ei gorchymyn; Y mae fy nghalon, yr hon a ddyle fód yn drigfa i'th Yspryd ti, yn lloches adar aflan, sef anwydau ffiaidd ac afreolus, ac allan o ormodedd y galon y mae fy 'ngenau yn llefaru, a'm dwylo yn gweithio, yn gymmaint a'm bód i mewn meddwl, gair, a gweithred, yn ddibaid yn trosseddu i'th erbyn di [*yma adrodda dy bechodau mwyaf.*] Ie, O Arglwydd, mi a ddirmygais dy ddaioni hynny a ddylasei fy nhywys i i edifeirwch, gan galedu fy nghalon yn erbyn yr holl foddion hynny a arferaist ti, er fy ngwelláad. Ac yn awr, O Arglwydd, béth sydd i mi i'w ddisgwyl oddiwrthit ti ond

barn, a llidiawgrwydd tanllyd, yr hyn yn wîr yw dledus wobr fy mhechodau i? Ond y mae trugaredd gyda thydi, O Arglwydd, fel i'th ofner, O cymhwysa fi i'r drugaredd honno trwy roddi i mi ddiffúant a difrifol Edifeirwch, ac yna yn ól dy ddaioni, ymchweler dy lîd a'th ddigofaint oddiwrthif; Edrych arnaf fi yn dy Fâb fy Jachawdr bendigedig, ac er teilyngdod ei ddioddefaint ef maddeu fy hóll bechodau: Ac yr wyf' yn attolwg i ti, O Arglwydd, trwy allu dy Râs, felly adnewyddu a glanhau fy nghalon i, fal y byddwyf yn greadur newydd, trwy ymwrthod yn hollawl a phób ffordd ddrŵg, a byw mewn diffúant, parhaus, a chyflawn Ufydd-dod i ti y rhan arall o'm dyddiau, módd y gallwyf trwy fy ymddwyn fy hûn megys gwâs dá a ffyddlon, gael gan dy drugaredd fy nerbyn i lawenydd fy Arglwydd: Canniadhá hyn er mwyn Jesu Grist, *Amen.*

*Gweddi am Râs.*

O Dduw tra-grasusol, oddiwrth pa un y mae pób rhodd dda a pherffaith yn dyfod, yr wyf fi greadur truan yr hwn nid allaf o hónof fy hun gymmint a meddwl ûn meddwl da, yn erfyn arnat ti weithredu ynof fi 'r ewyllysio a'r gwneuthur yn ôl dy ewyllys da di. Goleua fy meddwl i, fal y gallwyf dy adnabod di, ac na âd i mi fôd yn hysp ac yn anffrwythlon yn y wybodaeth honno; O Arglwydd, gweithia yn fy nghalon i wîr ffydd, gobaith puraidd, a diffúant gariad tu ac attat ti; dyro i mi gyflawn ymddiried ynot,

zêl

zêl trostot, a pharch i bób péth a berthyn i ti; gwna i mi fód yn ofnus o wneuthur dim i'th erbyn di, yn ddiolchgar am dy Drugareddau, yn ostyngedig tan dy geryddon di, yn ddefosionawl yn dy wasanaeth di, yn ofidus am fy mhechodau; a channiadhá i mi felly fy ymddwyn fy hûn ym mhób péth, fal y gweddai i greadur tu ac at ei Greawdwr, i wâs tu ac at ei Arglwydd : Cynnórthwya fi hefyd i gwplhau 'r Ddledswydd honno sydd yn ddledus arnaf fi i mi fy hún; Dyro i mi yr Addfwynder, y Gostyngeiddrwydd, a'r bodlonrhwydd hynny trwy ba rai y gallwyf yn wastad feddiannu fy Enaid mewn ammynedd a diolchgarwch; gwná fi yn ddiwyd yn fy holl Ddledswyddau, yn wiliadwrus rhag pôb profedigaethau, yn gwbl ddihalog ac Ardymmherus, ac mor gymmhedrol yn y pethau mwyaf cyfreithlon yr wyfi 'n ei mwynhau, fal na byddont byth yn fagl i mi; gwná i mi hefyd, O Arglwydd, felly fy ymddwyn fy hun tu ac at fy 'nghymydog, fal na throsseddwyf 'byth dy gyfraith frenhinol di o'i garu ef fal fi fy hun; Canniadhá i mi gyflawni yn hollawl bób rhyw ran o Gyfiawnder, trwy dalu i bawb béth bynnag trwy fódd yn y bŷd o Gyfiawnder sydd yn ddyledus iddynt, a dyro i mi y cyfryw ymsgaroedd o drugaredd a thosturi, fal na deffygwyf byth yn gweithredu pób máth a'r Gariad tu ac at bôb dŷn, pa ún bynnag ei Cyfeillion ai gelynion, yn ôl dy Orchymyn di a'th Esampl. Yn ddiweddaf, yr wyfi 'n attolwg i ti, O Arglwydd, fy Sanctéiddio i yn hollawl, fal y bo i'm holl Yspryd, a'm Henaid, a'm Corph, gael ei ga-

dw yn ddiargyoedd hyd ddyfodiad ein Harglwydd Jesu Grist, i'r hwn gydá thydi a'r Yspryd glân y bo 'r holl Anrhydedd a'r Gogoniant yn dragywydd, Amen.

*Gyfryngiad.*

O Arglwydd bendigedig, yr hwn y mae dy Drugaredd tu hwnt i'th holl weithredoedd, yr wyfi'n attolwg i ti drugarhau wrth bôb dŷn, a channiadhá fód y prîs gwerthfawr, a rodwydd ar lawr gan dy Fâb tros bawb, yn effeithiol i jachau pawb. Dyro dy Râs disclair i'r rhai sydd mewn tywyllwch, a'th ymchweledig Râs i'r rhai sydd mewn pechod, edrych a'th dynneraf dosturi ar yr Eglwys gyffredinol; Gwná ddaioni yn dy ewyllysgarwch i *Sion*, adeilada furiau *Caersalem*: Una a thi dy hún bawb ar sydd yn cyffessu dy Enw, trwy burdeb, a Sancteiddrwydd; ac a nhw ei hunain, trwy gariad brawdol. Trugarhá wrth yr Eglwys hon, a gwná i bób aelod o honi hi wîr edifarhau am y pechodau hynny a annogasant dy farnedigaethau, módd y bo i ti hefyd droi, ac edifarhau, a gweddill bendith o'th ôl. Bendithia di y rhai a ordeiniaist ti yn Llywodraeth-wŷr arnon ni pa ûn bynnag ai yn yr Eglwys, ai 'r Deyrnas; rheola felly ei Calonnau hwynt, a chadarnhá ei dwylo, fal na bo arnynt eisieu ewyllys na gallu i gospi drygioni a chamwedd, ac i sefydlu gwîr grefydd Dduw a Rhinwedd dda. Trugarhá, O Arglwydd, wrth bawb ar sydd mewn trueni a helbul; bydd yn Dâd i'r ymddifad, a dadleu achos y weddw, cyssura y rhai o wan galon,

lon, cynnal y gweiniaid, iacha'r cleifion, adfera 'r anghenus, amddiffyn y gorthrymmedig, a chyfranna i bawb yn ôl ei hamryw angenrheidiau, gorphywysed dy fendithion ar bawb sydd agos o râdd ac yn gû gennifi, a channiadhá iddynt beth bynnag a weli di yn angenrheidiol naill ai i'w Cyrph hwynt, neu 'i Heneidiau. [ *Yma henwa dy Geraint nessaf.* ] Gobrwya y rhai óll a wnaethant i mi ddaioni a phardyna y rhai óll a wnaethant, neu a ewyllysiant i mi ddrŵg, a gweithréda ynddynt hwy a minneu yr holl ddaioni hynny a ddichon ein gwneuthur ni yn gymmeradwy yn dy olwg di, trwy Jesu Grist, *Amen.*

## *Am ymwared.*

O Dduw trugarog, trwy ródd pa ún yn unig yr anghwanegir y dydd hwn at fy einioes i, yr wyf' yn attolwg i ti felly fy hyfforddio i yntho ef trwy dy Râs, modd na wnelwyf ddim a'th ddianrhydedda di, neu a archolla fy Enaid fy hun, ond bód i mi fy ymroi fy hún yn ddiwyd i wneuthur yr holl weithredoedd da hynny a baratoaist ti i mi i rodio ynddynt; ac, O Arglwyd, yr wyf' yn attolwg i ti roddi i'th Angylion orchymyn am danaf i'm cadw i yn fy holl ffyrdd, fal na bo i ddim drŵg ddigywyddo i mi, nag i unrhyw blâ nessau at fy nhrigfa, ond bód i mi, a'm heiddo, fód yn ddiogel tan dy nawdd a'th gymmorth grasusol di, trwy Jesu Grist.

OArglwydd, maddeu gyfeiliorni ac oerder yr erfynion hyn, a gwná a mi nid yn ôl fy ngweddiau a'm haeddedigaethau, eithr yn ôl fy angenrheidiau i, a'th ddirfawr drugareddau dy hún yn Ghrist Jesu, yn Enw ac yn geiriau bendigedic pa ûn y terfynaf fy ammherffaith weddiau hyn, gan ddywedyd, *Ein Tâd yr hwn wyt*, &c.

## GYFARWYDDIAD am y NOS.

*Y Nôs, pan fo amser gorphwysfa yn nessau, myfyria wrthit dy hun, pa fódd y treuliaist ti 'r dydd; hola dy galon pa bechod a wnaethost ti mewn meddwl, gair, neu weithred, pa odfa o wneuthur daioni a esgeulusaist ti, a pha bêth bynnag aganfyddi di dy hun yn euog o hono, cyffessa yn ostyngedig ac yn edifeiriol ger bron Duw; adnewydda dy amcanion, a'th fwriadau o wellháad, ac erfyn ei bardwn ef yn Ghrist, a hynny nid yn ysgoewan, neu megis o arfer yn unic, ond a phób rhyw daerni defosionawl, megis ac y gwneit ti pe byddit siccr fód dy farwolaeth mor agos attat ac yw dy gwsg, yr hyn am a wyddost ti a all fód felly, ac am hynny ni ddylit ti feiddio cysgu heb wneuthur dy gymmod a Duw, mwy nac y meiddit ti farw felly. Yn nessaf ystyria pa Drugareddau arbennig a rhagorol a dderbyniaist ti y Dydd hwnnw, megis os cefaist ryw ymwared mawr, naill ai yn dy Ddyn oddi mewn, oddiwrth ryw Brofedigaethau peryglus, neu yn dy ddyn oddiallan, oddiwrth ryw*

*enbyd*

*enbydrwydd mawr hynod, ac offrymma i Dduw ddifrifol a defosionawl foliant am hynny, neu os ni ddigwyddodd dim o'r fáth béth i ti, eithr, cael honot dy gadw oddiwrth bób dynessáad enbydrwydd, nid oes iti ddim llai, ond mwy achos o lawer i fawrygu Duw, yr hwn trwy ei nodded a'th amddiffynnodd di felly, na ddarfu cymmint ac i ofn drwg syrthio arnat ti. Ac am hynny na esgeulusa dalu iddo ef deyrnged o ddiolchgarwch gostyngedig, yn gystal am ei nodded arferol a beunyddiol, ac am ei ymwaredau mwy rhagorol. Ac uwchlaw pób peth ymegnia yn wastad ar fód i'th galon trwy fyfyrio am ei Drugareddau ef, gael ei chyssylltu yn nês atto ef gan goffhau fód pób cymwynas a dderbynnir oddi ar ei law ef yn rhwymedigaeth arnat ti o newydd i'w garu ef ac i ufuddhau iddo ef.*

## GWEDDIAU am y NOS.

Y Gogoned lân fendigaid Drindod, tri pherson ac un Duw, trugarhá wrthif wi r bechadur.

O Arglwydd ni's gwn i pa beth i weddío am dano fal y dylwyf, bydded i'th Yspryd di gynnorthwyo fy ngwendid i, a'm gwneuthur i yn abl i offrwm i fynu aberth ysprydol gymmeradwy gennit ti trwy Jesu Grist.

O Ar-

*Cyffes.*

O Arglwydd Dduw Sancteiddiaf, yr hwn wyt o olygon purach, nac i edrych ar anwiredd; pa fodd y meiddia 'i greadur gwael truan ymddangos o'th flaen di, yr hwn nid wyf ddim ond ffieidd-dra? yr wyfi'n halogedig yn fy natur, a chennif annhueddiad at bób daioni, a pharodrwydd i bób drŵg; ond myfi am halogais fy hun etto yn waeth o lawer trwy fy mhechodau gweithredol fy hûn, am harferion drygionus; Mi a drosseddais fy nledswydd tu ac attat ti, fy nghymydog, a mi fy hûn, a hynny mewn meddwl, gair, a gweithred, trwy wneuthur y pethau hynny a waherddaist ti yn eglur, ac esgeuluso gwneuthur y pethau hynny a orchymynnaist ti i mi: a hynny nid yn unic trwy anwybobaeth a gwendid, ond trwy wybod, ac yn rhyfygus, yn erbyn cynnhyrfiadau dy yspryd ti, ac argyoeddion fy nghydwybod fy hun i'r gwrthwyneb. Ac i wneuthur hyn oll yn dra-phechadurus, mi a eis ymlaen mewn trefn feunyddiol o ail-gyrchu 'r anwireddau hyn i'th erbyn di, er maint dy alwad ti, a'm bwriadau innau o wellháad; iê 'r dydd hwn ni rusais i anghwanegu pechodau newyddion at fy euogrwydd o'r blaen. [*yma henwa dy bechodau neillduol.*] Ac yn awr, O Arglwydd, beth a ddyweda'i, neu pa fodd yr agora 'i fy ngenau, gan i mi wneuthur y pethau hyn? Myfi a wn mai cyflog y pechodau hyn yw marwolaeth; Ond tydi yr hwn nid ewyllysi farwolaeth pechadur, trugarhá wrthif, gweithia

ynof,

ynof, yr wyf' yn attolwg i ti, wir gystudd Calon, a chasineb hollawl o'm pechodau; ac na âd i mi beunydd ei cyffessu hwynt; ac mor fynych ei hadnewyddu hwynt; eithr canniadhá, O Arglwydd, fód i mi o hyn allan roddi Llythr yscar i'm holl drachwantau anwylaf, ac yna bid gwiw gennit ti fy mhriodi i a thi dy hûn mewn gwirionedd, cyfiawnder, a Sancteiddwydd. Ac am fy holl bechodau a bassiodd, O Arglwydd, derbyn gymmod; derbyn y pridwerth hwnnw a dalodd dy Fendigedig Fâb trossof fi, ac er ei fwyn ef yr hwn a osodaist ti yn iawn, maddeu fy hôll drosseddau i, a derbyn fi i'th ffafor drachefn. A chwedi i ti fal hyn draethu heddwch wrth fy enaid i, cynnal fi, Arglwydd, fal na ddychwelwyf mwyach i ynfydrwydd, eithr sefydla fi felly a'th Râs, fal na bo i unrhyw brofedigaeth y bŷd, y Cythraul, na'm cnawd fy hûn byth fy hudo i i drosseddu i'th erbyn, fal trwy fód yn rhŷdd oddiwrth bechod, ac yn wasanaethydd i Dduw, i bo i mi gael fy ffrwyth i Sanctiddrwydd, a'r diben bywyd tragywyddol, trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

*Diolwch.*

O Dâd y Trugareddau, yr hwn wyt yn addfwyn i'r anniolchgar, yr wyfi'n cydnabod i mi archwaethu yn helaeth o'th rasol brioldeb hynny; oblegid er maint fy mhechodau beunyddiol i'th erbyn, yr wyt ti yn parhau i lwytho trugareddau a chymwynasgarwch arnaf fi. Ni ddarfu i'm holl ddirmygiad

ad a'm dibriſiad i o'th drugareddau wneuthur i ti etto ei tynny nhw ymmaith, eithr yn amlder dy ddaioni a'th hir-ymaros yr wyt ti etto yn parhau i gynnyg i mi Râs a bywyd yn dy Fâb. Ac ni choſpaiſt ti fy holl gam-arferiad i o'th fendithion amſerol trwy ei dwyn nhw yn hollawl ymmaith, ond y mae'n deilwng gennit etto ganniadhau i mi gyfran helaeth o honynt. Ni thelaiſt ti adref bechodau'r dydd hwn mor union ac y gallesit, trwy fy yſcubo i ymmaith a deſtryw ddiſymwth, eithr a'm harbedaiſt ac a'm cynnheliaiſt i yn ól mawredd dy drugaredd. [*Yma adrodda drugareddau neillduol y dydd hwnnw.*] Béth a dalaf i'r Arglwydd am yr holl ddaioni hyn a ddangoſodd ef i mi? Bydded i'th Drugareddau hyn, o Arglwydd, fy nhywys i i Edifeirwch, a channiadhá na bo i mi yn unic offrwm i ti ddiolch a moliant, ond trefnu hefyd fy ymarweddiad yn union, módd y gallwyf o'r diwedd weled Iechydwraeth Duw, trwy Jeſu Griſt.

*Yna arfera 'r Weddi am Râs a Chyfryngiad appwyntiedig am y Boreu.*

## *Am Ymwared.*

O Arglwydd Bendigedig, Ceidwad *Iſrael*, yr hwn nid wyt yn cyſcu nag yn heppian, rhynged fódd i ti o'th drugaredd wilio troſſof fi 'r nôs hon, cadw fi trwy dy Râs oddiwrth bob rhyw weithredoedd y tywyllwch, ac amddiffyn fi trwy dy Allu oddiwrth bób peryglon, canniadhá i mi gŵſg eſmwyth a chymmedrol,

medrol, y cyfryw ac a'm cymhwysa i i Ddledswyddau'r dydd sy'n calyn. A gwnâ i mi, O Arglwydd, feddwl yn wastad am yr amser hynny pan orweddwyf yn y llŵch; ac oblegid na wn i na'r dydd na'r awr o ddyfodiad fy Meistr, dyro i mi Râs i fod yn wastad yn barod, fal na byddwyf byth byw yn y cyfryw gyflwr ac yr ofnwyf farw yntho, eithr pa ûn bynnag a wna'i ai byw, bód i mi fyw i'r Arglwydd, neu farw, i mi farw i'r Arglwydd, fal yn fyw ac yn farw y byddwyf eiddot ti, trwy Jesu Grist.

*Arfera'r ûn Weddi i ddibennu a'r Boreu.*

*WRth ddiosc oddi am danat, meddwl wrthit dy hún fód yr amser yn nessau y bydd rhaid i ti ddiosc dy gorph hefyd, ac yna y bydd yn rhaid i'th Enaid ti ymddangos yn noeth o flaen* gorseddfaingc Duw; *ac am hynny y mae'n sefyll arnat ti fód yn ofalus i'w wneuthur ef mor bûr a glân trwy* Edifeirwch *a* Sancteiddrwydd, *fal y bo iddo ef, yr hwn ni edrych ar anwiredd, edrych yn rasol ac yn gymmeradwy arno ef.*

*Bydded i'th wely wneuthur i ti feddwl am dy Fêdd, a phan orweddych di i lawr, dywed.*

O Jachawdr bendigedig, yr hwn trwy dy werthfawr angeu, a'th gladdedigaeth a dynnaist ymmaith golyn angeu, a gallu'r Bêdd, canniadhá i mi lawen ffrwythau dy fuddugoliaeth honno, a bydd di ym mywyd ac angeu yn elw i mi.

Mi a orweddaf mewn heddwch, ac a hunaf; canys tydi, Arglwydd, yn unic a wnei i mi drigo mewn diogelwch.

I'th ddwylaw di yr wyf' yn gorchymyn fy Yspryd, canys tydi a'm prynaist, O Arglwydd, tydi Dduw y gwirionedd.

---

*YN y* BRIF EGLWYS *gynt heb law'r boreu a'r nôs, yr oedd pedwar o amserau eraill bób dydd, a elwid* ORIAU GWEDDI; *ac yr oedd zél y Cristianogion cyntaf hynny yn gyfryw, ac a wnae iddynt ei cadw hwynt yn ddibaid. Fe debygid yn ormod caethder yr awrhon yn yr oes lled-oer hon orchymyn ei cadw hwynt mor fynych; etto nid alla'i lai na gosod ar lawr y siampl, a dywedyd, am y rhai nid yw achosion tra-angenrheidiol yn ei lludias, nad yw ond rhesymol iddynt wneuthur yr ûn modd a chyflawnú yn Bublic ac yn Brifat y* PEDWAR AMSERAU *hynny o* WEDDI, *heb law'r Dledswyddau hynny a osodwyd yn barod ar lawr am y* BOREU *a'r* NOS. *Ac fal na bo i néb fód heb wybod pa fodd i arferu ei Ddefosiwn ar yr amserau hynny, mi a osodais ar lawr amryw* GOLECTAU *am amryw Rasau, o ba rai y dichon pób dyn arferu ar bób cyfryw amser Gweddi cynnifer ac y bo ei zêl, a'i ennyd yn roddi iddo gennad, gan anghwanegu, os mynn ef, ûn o'r Cyffesau appwyntiedig am y Boreu, neu'r Nôs, ynghyd a* GWEDDI'r ARGLWYDD *bób amser.*

*Ond os bydd cyflwr buchedd ûn dyn mor wîr drafferthus, na chaiff ef amser, i ddefosiwnau cyhyd ac mor arbennig, etto yn ddiammeu nid oes néb mor drafferthus, na chaiff ef ennyd yn fynych yn y dydd i ddywedyd* GWEDDI'r

AR-

ARGLWYDD *yn unic, ac am hynny arfered honno, onid all ef ychwaneg. Ond oblegid mai nôd Cristion yw,* Phil. 3. 20. *fod a'i* ymarweddiad yn y Nêf, *gweddus iawn fydd iddo, heb law'r amserau gosodedig hyn o Weddi, dderchafu ei Enaid yn fynych yn y dydd trwy* OCHNEIDIAU *byrrion disymwth. Ac i'r fâth ymma ar Ddefosiwn ni all fód ar neb ddiffyg ennyd, gan y gellir cwplhau hyn ynghanol goruchwylion; fe ddichon y* Celfyddwr *wrth ei waith, a'r* Hwsmon *wrth ei arad ei harferu hi. Yn awr megys na all fód eisieu amser, felly fel na bo ar néb eisieu defnydd i hynny, mi a dybiais yn fuddiol osod ar lawr rai* Mannau *allan o'r Tryssor-dy llawn hwnnw,* sef, LYFR Y PSALMAU, *y rhai a ellir yn dra-chymwys ei harferu i'r diben hwn; y rhai gwedi ei dyscu heb law'r Llyfr a fydd yn wastad yn barod ger llaw i drefnu ein Dwywolder ar waith; a chan fód y sylwedd o honynt o amryw dull, rhai am faddeuant pechodau; rhai am Râs; rhai am lewyrch wyneb-pryd Duw, rhai tros yr Eglwys; rhai i dalu diolch,* &c. *fe ddichon pób dyn gymmhwyso iddo'i hûn yn ól ei angen presennol a thymmer ei* Enaid. *Mi a osodais y rhai hyn ar lawr nid megys casgliad cyflawn, ond megys archwaeth yn unic i godi blys ar y Darllennydd i chwilio am ychwaneg yn y Llyfr hwnnw, a rhannau eraill o'r Scrythur lân.*

COL-

# COLECTAU am amryw RASAU.

## *Am Ffydd.*

O Arglwydd Bendigedig, yr hwn heb Ffydd ammhossibl yw ei fodloni, bid i'th Yspryd ti, yr wy'n attolwg i ti, weithio ynof y cyfryw ffydd ac a fo cymmeradwy yn dy olwg, sef y cyfryw ac a weithia trwy Gariad. O na âd i mi orphwyso mewn Ffydd farwaidd ddiffrwyth, ond canniadhá iddi hi fód yn gyfryw ac a'i heglurháo ei hûn trwy fy ngweithredoedd, fal y bo hi y Ffydd fuddugoliaethus honno a'm gwnelo i yn abl i orchfygu'r bŷd, ac i'm cyd-ffurfio i Ddelw Crist, i'r hwn yr wyfi'n credu, fal y gallwyf o'r diwedd dderbyn diben fy Ffydd, sef Iechydwraeth fy Enaid, trwy'r Unrhyw Jesu Grist.

## *Am Obaith.*

O Arglwydd, yr hwn wyt unic Obaith holl derfynau'r ddaiar, na âd i'mi fód byth yn ddiffygiol o Obaith disigl, na'm meddiannu fy hun ychwaith a gwag-ryfyg; na âd i mi feddwl y byddi di fodlon i'm Pechodau, nac y gwrthodi di fy Edifeirwch i, ond dyro i mi, yr wyf'yn attolwg i ti, y cyfryw Obaith ac a fo cyfattebol i unic sylfaen fy ngobaith, sef dy Addewidion di, a'r cyfryw ac a'm cymhwysa ac a'm hyfforddia i i'm glanhau fy hun oddiwrth bób aflendid Cnawd ac Yspryd, fal y bo hi yn Angor wîr-ddisigl a diogel yr Enaid, sef yn cyrhaeddid

rhaeddid i fewn y llenn, lle'r aeth y gennad o'r blaen trossof fi, sef Jesu Grist fy Arch-offeiriad a'm Prynwr bendigedig.

*Am Gariad Duw.*

O Arglwydd grasol a Sanctaidd, yr hwn wyt dra-rhagorol ynot dy hûn, ac yn hael iawn a thosturiol tu ac attaf fi, na âd, yr wy'n attolwg i ti, i'm calon i fôd cymmhelled wedi ei chaledi trwy hudoliaeth pechod ac i wrth-wynebu y cyfryw swynau o Gariad ond bydded iddynt wneuthur argraph dwfn a pharhaus ar fy Enaid i. Y mae'n deilwng gennit ti, O Arglwydd, ofyn fy nghalon i, ac iti yn unic y mae hi o gyfiawnder yn perthyn: O na âd i mi fôd mor gyssegr-yspeiliaidd ac anghyfiawn a neillduo ûn rhan o honi hi oddiwrthit ti, ond gwná i mi ei rhoddi hi fynu yn hollawl ac yn gyfan i ti: Ond ti a weli, O fy Nuw, ei bod hi yn barod gwedi ei thrais-feddiannu gan y bŷd a'i wagedd, yr hwn fal gŵr cryf arfog sy'n cadw meddiant ynddi hi, ond tyred ti sydd gryfach, a chymmer megis dy Yspail dy hûn fy nghalon annheilwng hon oddiarno ef, adgyweiria hi a'r tân puraidd hwnnw o'th Gariad ti, fal y bo hi yn drigfa gymwys i'th Yspryd ti: Os wyt ti, O Arglwydd, yn gweled yn gymwys, bid gwiw gennit adael i mi archwaethu o'r llawenydd hwnnw, sef eigion dy Gariad ti, yr hwn a fu mor dra-hyfryd i'th Seinctiau. Ond os yn hyn ni wn beth yr wyfi'n ei ofyn, os ni allaf ddewis fy lle yn dy deyrnas, etto na neccá i mi, O Arglwydd, yfed o'th gwppan di, gád i mi gael y cyfryw

râdd ddiffúant o'th gariad ac a wnelo i mi ddioddef pob peth er dy fwyn di, sef y cyfryw gariad perffaith ac a fwrw heibio bob rhyw betrusder a Syrthni, fal na bo i mi edrych ar ddim nag yn rhŷ ofidus i'w oddef, nac yn rhŷ anhawdd i'w wneuthur mewn ufudd-dod i ti, módd gan eglurhau fy nghariad trwy gadw dy Orchymynion, y gallwyf o'r diwedd gael gan dy drugaredd y Goron honno o fywyd a addewaist i'r sawl a'th garant di trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

## *Am Ddiragrithrwydd.*

O Arglwydd Sanctaidd, yr hwn a geri wirionedd oddi mewn, yr wyfi'n ostyngedig yn attolwg i ti fy mhuro i oddiwrth bób ffúg a rhagrith. Y mae'r galon, O Arglwydd, yn dwyllodrus uwchlaw pob peth, a'm calon i yn dwyllodrus uwchlaw pob calonnau; O tydi yr hwn wyt yn chwilio 'r calonnau a'r arennau, prawf fi, a chais allan ddyfnder fy nghalon i, ac na âd i ddim ffieidd-dra nac escymmun-beth lochesu ynof, ond pura fi iè a'th dân, am y difethech di fy sothach i. Ni alla'i O Arglwydd, mo'th dwyllo di, ond mi allaf yn hawdd iawn fy nhwyllo fy hun, O na âd i mi aros yn ddifraw yn y cyfryw dwyll, eithr dŵg fi i ganfod ac i gashau fy llygredigaethau dirgelaf, fal na bo i mi achlesu unrhyw drachwant anwyl o'm mewn, ond llwyr-ddinistrio pob *Amalcciad*; O na fydded i mi draethu heddwch wrthif fy hun, pan na bo heddwch, ond cánniadhá fód i mi farnu o honof fy hun megys yr wyt ti yn barnu o honof, fal na byddwyf

ddwyf byth mewn heddwch a mi fy hun nes i mi fod mewn perffaith dangnheddyf a thydi, a chael trwy burdeb calon fy nghymwyso i'th weled ti yn dy Deyrnas, trwy Jesu Grist.

*An Ddwywolder mewn Gweddi.*

O Arglwydd Dduw grasusol, yr hwn wyt nid yn unic yn rhoddi cennad, ond gwahodd Creaduriaid truain anghenus, i roddi i fynu ei herfynion attat; bydded i gynniweirfa fy ngweddi, yr wy'n attolwg i ti, fod mewn rhyw fesur yn gyfattebol i'r eisieu gwastadol sydd arna'i o'th drugaredd: yr wy'n cydnabod, O Arglwydd, mae'r budd a'r Anrhydedd mwyaf yw cael cennad i nessau attat ti fal hyn, etto y mae'nghalon halogedig i mor fynn a hurt a diangc ymmaith oddiwrth, neu ddiddymu'r cyfryw odfau. Y mae f' Enaid, O Arglwydd, gwedi ei feddiannu ac yspryd gwendid, a chwedi ei grymmu ynghyd, fal na ddichon ef mewn modd yn y byd ei dderchafu ei hun attat ti. O rhynged fodd i ti feddiginiaethu y clefyd tóst gofidus hwn, trwy ysprydoliaethu a bywoccau'r galon ammhur ddaiarol hon, modd y gallo hi dderchafu i fynu yn rhwydd attat ti, ac y bo i mi iawn brisio y Rhagorfraint ragorol hon ac ymhyfrydu yn nessau attat, ac fal y bo hefyd nessáad attat ti gydá pharch cyfattebol mewn rhyw fesur i'r Mawredd ofnadwy 'r wyf' yn dyfod gar ei fron; a chydá thaerni ac haerllugrwydd cyfattebol i'm hangenrheidiau dirfawr i; a chydá 'r cyfryw ddyfalwch hefyd ac astudrwydd meddwl, fal na bo i nebrhyw fed-

ddyliau trofáus fy rhwystro i; fel na byddwyf' yn euog rhag llaw o nessau attat ti a'm gwefusau, a'm calon ymmhell oddiwrthit, neu o droi fy ngweddíau yn bechod; ond fal y bo i mi felly ofyn fel y derbynwyf, geisio fal y caffwyf, a churo fal yr agorer i mi: modd y gallwyf o weddío attat ti ymma gael fy nhrosglwyddo i'th foliannu di yn dragywydd yn dy ogoniant, trwy haeddedigaethau a chyfryngdod Jesu Grist.

## *Am Ostyngeiddrwydd.*

O Tydi uchel a derchafadwy, yr hwn wyt yn presswylio Tragywyddoldeb, etto sydd yn wiw gennit gyfanneddu gydá 'r Yspryd gostyngedig, tywallt i mewn i'm calon i, yr wyf'yn attolwg i ti, y grâs rhagorol hwnnw o ostyngeiddrwydd, yr hwn a ddichon yn hollawl ddiwreiddio 'r holl dŷb uchel ofer hynny sydd gennifi o honof fy hun; gwná fi, Arglwydd, yn llwyr-deimladwy o'm gwaeledd fy hun, ac i ganfod fy mód yn druenus, ac yn dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth, ac nid yn unic yn llŵch, eithr yn bechod; fal yn dy holl ymddygiad rhagluniaethus tu ac attaf fi, y gallwyf' osod fy llaw ar fy ngenau, a chydnabod yn ddifrifol fy mód i yn llai na'r lleiaf o'th drugareddau di, ac yn fwy na'r mwyaf o'th farnedigaethau. A channiadhá i mi, O Arglwydd, nid yn unic rodio yn ostyngedig gyda'm Duw, ond gyda dynion hefyd, fel na bo i mi yn unic ymddarostwng i'th geryddon di, ond hefyd i argyoeddion fy nghyd-Gristianogion, a thrwy addfwyndra derbyn ac ufudd-

hau

hau ei ceryddon a'i cyhuddiadau hwynt. A gwná i mi fy ymddwyn fy hun felly tu ac at bawb, fal na wnelwyf ddim byth trwy gynnen neu wâg-orfoledd; ac i'r diben hwnnw canniadhá fôd i mi mewn goftyngeiddrwydd meddwl dybied yn well o bob dŷn nag o honof fy hun, a bodloni i eraill feddwl felly hefyd; na bo i mi ûn amfer faethu ûn tŷb uchel o honof fy hun, na chwennychu 'r un ymyfg eraill, ond gan ddirmygu gwâg glód gan ddynion, y gallwyf geifio'r glôd honno 'fydd yn dyfod oddiwrthit ti yn unic: fal yn lle'r Celfyddau gwael hynny a arferais i er mwyn cael bri gan ddynion, y gallwyf yr awrhon ofod fy holl ofal a'm diwydrwydd ar waith i'm gwneuthur fy hun yn gymmeradwy yn dy olwg di, yr hwn wyt yn gwrthwynebu 'r balch, ac yn rhoddi grâs i'r goftyngedig: Canniadhá hyn, O Arglwydd, er ei fwyn ef, a'i hymddaroftyngodd ei hun i angeu'r groes, fef, Jefu Grift.

## *Am Ofn Duw.*

O Fawrhydi Gogoneddus, yr hwn yn unic wyt uchel ac ofnadwy, meddianna fy Enaid ac arfwyd Sanctaidd a pharch o honot ti, fal y gallwyf roddi i ti'r anrhydedd dyledus i'th Enw, a dwyn y cyfryw barch i bob peth a berthyn i ti, fal na bo i mi un amfer halogi dim Sanctaidd, neu gymmeryd yn gyffegryfpeilaidd y peth a ddidolaift ti i ti dy hun. A chan dy fod ti, O Arglwydd, yn Dduw, yr hwn ni chyfiawnha'r anwir, bydded i ofn dy Gyfiawnder di wneuthur i mi arfwydo dy

 annog

annog di i ddigofaint ; O na âd i mi felly gam-sefydlu fy ofn, fel yr arswydwyf ddyn a fydd marw, a mâb dŷn, yr hwn a wneir fel glaswelltyn, ac anghofio 'r Arglwydd fy ngwneuthur-ŵr ; eithr llanw fy Enaid a'r ofn hwnnw o'r Arglwydd, yr hwn yw dechreuad doethineb, yr hwn a ddichon fód yn ffrwyn i attal fy holl anwydau anifeiliaidd, ac i'm cadw i mewn Un-ffurfiad parhaus i'th Ewyllus Sanctaidd di. Gwrando fi, O Arglwydd, yr wyf' yn attolwg i ti, a gosod yr ofn hwn yn fy nghalon i, fel na ymadawyf oddiwrthit, eithr gweithio allan fy jechydwraeth trwy ofn a dychryn, trwy Jesu Grist.

*Am Hyder yn Nuw.*

HOll-alluog Arglwydd, yr hwn ni phelli un amser y rhai a ymddiriedant ynot, dyro i mi, yr wyfi'n attolwg i ti, Râs yn fy holl gystuddiau a blinderau, i redeg attat ti, i hyderu a gorphywys arnat ti : tydi, O Arglwydd, a'i cedwi ef mewn perffaith heddwch, yr hwn sydd ai feddwl gwedi ei fesydlu arnat ti, O bydded i mi yn wastad orphywys ar y Golofn ddisigl hon, heb ei chyfnewid hi byth am gorsen yssig o gynnorthwyau bydol ; na âd i'm calon i fód gwedi ei llenwi a gofalon y bŷd hwn, gan rag-fwriadu beth a fwytawyf, neu a yfwyf, neu a pha beth i'm dilledir, ond canniadhá gwedi i mi yn onest ac yn ddiwyd wneuthur fy rhan i, y gallwyf yn llawen fy ngorchymyn fy hun i'th ragluniaeth di, trwy fwrw fy holl ofal arnat ti, ac heb fód yn ofalus am ddim, ond i fód o nifer y rhai 'r wyti

yn

yn ei perchennogi ac yn gofalu trostynt, sef y cyfryw ac sydd yn cadw dy Dystiolaethau di ac yn meddwl am dy Orchymynion i'w gwneuthur. Fal gan geisio yn gyntaf dy Deyrnas di a'i gyfiawnder ef, y gallwyf dderbyn yn anghwaneg yr holl bethau hyn oddiallan, yn y cyfryw fesur ac y gwelo dy Ddoethineb di fód yn oreu i mi; canniadhá hyn, O Arglwydd, er mwyn Jesu Grist.

*Am Ddiolchgarwch.*

O Arglwydd grasusaf, yr hwn wyt yn llenwi pôb peth byw a'th ddaioni, ac nid wyt yn disgwyl dim tâl ond Mawl a Diolchgarwch; na bydded i mi, O Arglwydd, byth dy dwyllo di o'r cyfryw deyrnged esmwyth, ond bydded fy nghalon yn wastad yn deimladwy, a'm genau yn barod i gydnabod dy drugareddau. Peth llawen a hyfryd yw talu diolch; O na âd i mi, yr wyf yn attolwg i ti golli fy nghyfran o'r hyfrydwch nefol hwnnw, eithr caniadhá megis ac yr wyf fi beunydd yn derbyn bendithion gennit ti, felly y bo i mi beunydd o eigion calon ddefosionawl dalu i ti Ddiolchgarwch am danynt; a channiadhá fod nid yn unic i'm gwefusau, ond i'm buchedd ddadcan dy foliant, trwy fy nghyssegru fy hun i'th wasanaeth di, a rhodio mewn Sancteiddrwydd a chyfiawnder ger dy fron holl ddyddiau fy mywyd, trwy Jesu Grist fy Arglwydd, a'm Jachawdr bendigedig.

## *Am Gyſtudd Calon.*

O Arglwydd Sanctéiddiaf, yr hwn wyt yn derbyn yn raſuſol y gwir edifeiriol, etto wyt yn dân yſſol i bechaduriaid gwrthnyſſig; pa fodd y neſſá i attat, yr hwn ſydd gennif gynnifer o bechodau echryſlon i ennyn dy lid, a chyn lleied o edifeirwch diffúant i annog dy drugaredd! O bid gwiw gennit feddalhau a thoddi fy nghalon galed hon, fal yr ymofidwyf yn ddifrifol am anwireddau fy muchedd; taro 'r graig hon, O Arglwydd, fal y ffrydio 'r dyfroedd allan, ſef llifeiriant o ddagrau i olchi fy nghydwybod halogedig; fe ddarfu i'm Henaid ſwrth i gyſcu yn rhy hîr yn ddifraw mewn pechod, deffro hi, Arglwydd, er trwy daranau, a bydded i mi yn hytrach deimlo dy ddychrynaidau, na bód heb deimlo fy mhechodau. Ti a ddanfonaiſt dy fendigedig fâb i iachau y rhai yſſig calon, ond beth a dâl hynny i mi, Arglwydd, os bydd fy nghalon i yn gyfan? O torr hi fal y bo hi yn gymwys i dderbyn dy feddiginiaethus rinwedd di; a channiadhâ, mi attolygaf i ti, gwedi i mi unwaith archwaethu chwerwder pechod, fod i mi ymogelyd rhagddo, megis oddiwrth wyneb ſarph, a dwyn allan ffrwythau edifeirwch mewn gwellháad buchedd, i ſawl a gogoniant dy Ras di yn Jeſu Griſt ei Pryniawdr bendigedig.

Am

## *Am Laryeidd-dra.*

O Fendigedig Jesu yr hwn a arweinwyd megys dafad i'r lladdfa, bydded, mi a attolgyaf i ti, i'r siampl ryfeddol honno o Laryeidd-dra ddiffodd ynof bôb gwreichion digofaint a díal, a gweithredu ynof y cyfryw Addfwynder a thawelwch Yspryd ar na ddichon annogaethau yn y bŷd byth mo'i gyffrhoi. Canniadhâ, Arglwydd, i mi fod cymmhelled oddiwrth gynnyg y cam lleiaf, fal na bo i mi byth dalu am y mwyaf, mamyn trwy weddíau a chymwynasgarwch, ac na bo i mi byth daer-geisio ceiniog gan fy mrodyr, yr hwn sydd gennif gynnifer o dalentau i'w maddeu gennit ti; eithr gan arwisgo ymysgaroedd Trugaredd, addfwynder, hir-ymaros, y gallo dy dangnheddyf di lywodraethu yn fy nghaloni, a'i gwneuthur hi yn bresswylfa cymmeradwy i ti, yr hwn wyt Dywysog Tangheddyf, i ba ûn gyda 'r Tâd a'r Yspryd glân y bo'r holl anrhydedd a'r gogoniant yn dragywydd.

## *Am Ddiweirdeb.*

O Sanctaidd a difrycheulyd Jesu, descyniad cyntaf pa un oedd i fonwes y Forwyn, ac etto wyt yn hoffi presswylio yn unic mewn Calonnau pûr a morwynaidd, yr wyf' yn attolwg i ti ddanfon dy lân Yspryd i'm glanhau i oddiwrth bôb aflendid, yn gystal Cnawd ac Yspryd; fy nghorph, O Arglwydd, yw Teml yr Yspryd glân, O na sydded i mi byth

halogi

halogi 'r Deml honno trwy neb rhyw aflendid. Ac oblegid mai o'r galon y mae 'r pethau hynny yn tarddu 'sydd yn halogi dŷn, Canniadhâ, Arglwydd, fod i mi gadw fy nghalon a phob diwydrwydd, fel na bo i unrhyw feddyliau aflan llygredig lochesu yno, eithr gwnâ fi yn abl, yr wyf' yn attolwg i ti, i gadw fy nghorph a'm henaid yn bûr ac yn ddihalog, modd y gallwyf dy ogoneddu di ymma yn gystal mewn Corph ac Yspryd, a chael fy ngogoneddu ym mhob un o'r ddau gydá thydi ar ól hyn.

## *Am Ardymmer.*

O Arglwydd grasusol, yr hwn o'th haelioni i ddynol ryw, a ganiadheaist i ni arferu dy greaduriad daionus, er ein cynhaliaeth corphorol, caniadhâ fód i mi yn wastad arferu 'r rhydd-dyd hwn yn ddiolchgar ac yn ardymmherus; O na âd i mi byth fod yn gyfryw gaeth-wâs i'r pleser annifeiliaidd hwnnw o archwaeth, ac i'm Bwrdd fód yn fagl i mi; ond dyro i mi, mi a attolygaf i ti, lwyr-ffieiddio pob mâth ar Ormodedd, a bydded i mi fwyta ac yfed yn unic i'r dibennion hynny, ac yn ôl y mesurau hynny a ordeiniaist ti i mi er iechyd ac nid er trythyllwch. A chaniadhâ, Arglwydd, na bo i mi gynllwyn y bwyd yr hwn a dderfydd, either yr hwn a beru i fywyd tragywyddol, fal gan newynu a sychedu ar ol cyfiawnder y gallwyf gael fy nigonoli a'th Râs di ymma, ac a'th ogoniant ar ôl hyn, trwy Jesu Grist.

Am

## *Am Fodlonrhwydd.*

O Dduw trugarog, y mae dy ddoethineb di yn anfeidrol i ddewis, a'th gariad yn barod i ddosparthu pethau daionus i mi; O bydded i mi yn wastad ymroi yn hollawl ac yn gyflawn i'th drefniad di, heb chwennych fy eiddo fy hun, eithr ymfodloni yn hollawl i'th etholiad di drossof, fel ym mha gyflwr bynnag y byddwyf, y gallwyf ymfodloni iddo. Caniadhâ, Arglwydd, na edrychwyf byth yn wrwgnachus ar fy nghyflwr fy hun, nag yn genfigennus ar yr eiddo eraill. Ac i'r diben hwn, yr wyf' yn attolwg i ti, lanhau fy nghalon oddiwrth bob rhyw anwydau Cybyddaidd; O na âd i mi roddi i fynu un gilfach o'm henaid i Mammon, ond dyro i mi felly ddibrisio 'r golud darfodedig hwn, fal pa un bynnag a wnelont a'i anghwanegu a'i lleihau na osodwyf byth mo'm calon arnynt, either bód fy holl ofal i i fód yn óludog tu ac at Dduw, a dodi i fynu fy nhryssor yn y Nêf, trwy osod felly fy anwydau ar bethau oddiuchod, fal pan ymddangoso Crist fy mywyd, y gallwyf finnau hefyd ymddangos gydag ef mewn gogoniant. Caniadhâ hyn, Arglwydd, er trugareddau 'r unrhyw Jesu Grist.

## *Am Ddiwydrwydd.*

O Arglwydd, yr hwn a ordeiniaist yn dy Ddoethineb i ddŷn gael ei eni i lafurio, na âd i mi

i mi wrthwynebu dy fwriad hwnnw trwy fy rhoddi fy hun i fynu i fyrthni a feguryd, eithr caniadhâ i mi, felly dreulio fy amfer a'r holl dalentau eraill a roddaift ti mewn ymddiried i mi, fel na fyrthwyf tan farn y gwâs fwrth annuwiol; Arglwydd, os yw dy Ewyllys, gwnâ fi mewn rhyw fôdd yn ddefnyddiol i eraill, fel na byddwyf byw megys rhan anfuddiol o ddynol ryw; ond pa un bynnag, O Arglwydd, na âd i mi fôd yn anfuddiol i mi fy hun, caniadhâ fód i mi roddi pób diwydrwydd i wneuthur fy ngalwedigaeth am hetholedigaeth yn ficcr. Y mae fy Enaid gwedi ei amgylchu a llawer o elynion gwiliadwrus, O na âd i mi blethu fy nwylo i gyfcu ynghanol cymmaint peryglon eithr gwilio a gweddío rag fyrthio o honof i brofedigaeth; trwy ddioddef caledi megys milŵr da i Grift Jefu, nes o'r diwedd i ti fy nhrofglwyddo i o'r cyflwr hwn o filwraeth i'r cyflwr o orfoledd a dedwyddwch yn dy Deyrnas, trwy Jefu Crift.

## *Am Gyfiawnder.*

O Frenin Cyfiawnder, yr hwn a orchymynaift i ni gadw barn a gwneuthur Cyfiawnder, rhynged fodd i ti o'th râs lanhau fy nghalon a'm dwylaw oddiwrth bob twyll ac anghyfiawnder, a rhoddi i mi Uniondeb a pherffeithrwydd yn fy holl ymddygiad. O gwnâ i mi byth gafhau arferu fy ngallu i orthrymmu, neu nghallineb i dwyllo fy mrawd, a chaniadhâ i mi gadw yn ddyfal y rheol Sanctaidd honno o wneuthur megis y chwennychwn wneuthur

i min-

i minneu, fal na ddianrhydeddwyf fy mhroffes Gristianogawl trwy fuchedd anghyfiawn neu drofâus, ond bod a'm hymarweddiad yn y bŷd hwn mewn fymlrwydd a duwiol burdeb, heb geifio byth bentyrru tryfforau anwiredd, eithr cyfrif ychydig trwy Gyfiawnder, yn fwy nag Ardrethion mawr yn anghyfiawn. Arglwydd, gwnâ fi yn gwblofalus i roddi i bob dyn beth bynnag trwy fâth yn y bŷd ar rwymedigaeth fydd yn ddyledus iddo, fel na thorrwyf byth y rhwymedigaeth o'r lle hwnnw y gofodaift fi yntho, eithr fy ymddwyn fy hun felly tu ac at bawb, fel na bo i neb ddim drŵg i'w ddywedyd am danaf, fal, os yw boffibl, y byddwyf dangnheddyfus a phób dŷn, neu pa un bynnag y gallwyf trwy gadw diniweidrwydd a chyfiawnder gael Tangnheddyf o'r diwedd, fef heddwch gyda thydi, trwy Jefu Crift ein Harglwydd.

### *Am Gariad.*

O Arglwydd Trugarog, yr hwn a wnaethoft o'r ûn gwaed ac a brynaift a'r ûn prîs bob rhyw genhedl o ddynion, na fydded i'm hymyfgaroedd i byth galedi yn erbyn néb ar fydd yn gyfrannog o'r un anian a phrynedigaeth a mi, eithr caniadhá i mi gariad cyffredinol tu ac at bób dŷn. Dyro i mi, o Dâd y tofturi, y cyfryw dynnerwch a meddaldra calon, fal y byddwyf' yn gwbl deimladwy o holl drueni a blinderau fy mrodyr oddi mewn ac oddi allan, ac ymofod yn ddiwyd hyd yr eithaf o'm gallu i'w cymmorth a'i cynnorthwyo hwynt. O na bydded i'r anghriftianogawl

ferch

ſerch o honof fy hûn feddiannu fy'nghalon, ond bwrw allan yr Yſpryd melldigedig hwnnw, a bydded i'th yſpryd ti o gariad ddyfod a phreſſwylio yno, a gwná i mi ymegnío nid i'm boddhau fy hun, ond fy nghymydog er ei ddaioni i adeiladaeth, megys ac na foddháodd Criſt ef ei hun. Gwná fi, Arglwydd, yn oruchwyliwr ffyddlon o'r holl dalentau hynny a orchymynnaiſt ti i mi er lleſháad i eraill; fel pan elwi di arnaf i roddi cyfrif o'm goruchwyliaeth, y gallwyf wneuthur hynny trwy lawenydd, ac nid trwy driſtwch. Caniadhá hyn, Arglwydd trugarog, yr wyf' yn attolwg i ti, er mwyn Jeſu Griſt.

*Am Ddiyſgogrwydd.*

O Arglwydd Dduw tragywyddol ac anghyfnewidiol, yr hwn wyt yr ûn ddoe a heddyw ac yn dragywydd; Rhynged bodd i ti gyfrannu ychydig lewyrch o'r godidowgrwydd hwnnw, rhyw râdd o'r ſefydliad hwnnw i mi dy greadur truan yr hwn wyf yſgafn ac anwadal, yn cael fy nhroi o amgylch gan bób rhyw awel; y mae fy nealltwraeth i yn drathwyllodrus, O cadarnhá hi yn dy wirionedd, cadw hi rhag maglau Yſprydion trofáus, fal na'm tywyſer ymmaith a chyfeiliorni'r annuwiol, a ſyrthio oddiwrth fy niyſgogrwydd: y mae fy ewyllys hefyd, O Arglwydd, yn ſerfyll ac yn anwadal, ac heb lynu yn ddiſigl wrth Dduw, nid yw fy naioni i ond fal y cymwl y boreu, ac megys y gwlith boreuol yn myned ymmaith. O cryfhâ a chadarnhâ fi, a pha weithred dda bynnag a weithredaiſt ti ynof,

bid

bid gwiw gennit ei pherffeithio a'i chwplhau hyd ddydd Crist. Arglwydd, ti a weli fy ngwendid i, ac a wyddost nifer a grym y profedigaethau hynny sydd i mi i ymdrech a hwynt, O na âd fi i'm fy hun, eithr gorchguddia di fy mhen yn nydd y frwydr, ac mewn pob ymdrech ysprydol gwnâ fi yn fwy na chwncwerwr trwy'r hwn a'm carodd i. O na bydded i nebryw ddychryniadau na gweniaith y bŷd neu'm cnawd byth fy nenu i oddiwrth fy ufudd-dod i ti, eithr caniadhâ i mi barhau yn ddisigl ac yn sefydlog, gan fod yn wastad yn helaeth yngwaith yr Arglwydd, a thrwy barhau yn ammyneddgar yn gwneuthur da, ceisio o'r diwedd fwynhau gogoniant, ac anfarwoldeb, a bywyd tragywyddol, trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

---

ESPONIAD



# ESPONIAD

## Byrr o

## WEDDI'R ARGLWYDD,

## i'w harferu megis Gweddi.

[*Ein Tâd yr hwn wyt yn y Nefoedd.*]

O Arglwydd, yr hwn wyt yn presswylio yn y nefoedd uchaf, tydi wyt Awdur ein bywyd ni, tydi hefyd a'n cenhedleaist ni drachefn i obaith bywiol, ac wyt yn dwyn tu ac attom ni dynnerwch ac ymysgaroedd tâd tosturiol. O gwnâ i ni dalu i ti gariad ac ufudd-dod plant; ac fal y bón yn debyg i ti ein *Tâd o'r Nêf* (y lle hwnnw o wîr hyfrydwch a phurdeb) dyro i ni ddiccrâwch sanctaidd o'r holl bleserau twyllodrus, a llygredigaethau ffiaidd y bŷd hwn, ac felly derchafa ein meddyliau ni fal y bo ein hymarweddiad ni yn y Nefoedd, o ba le yr ydyn ni yn disgwyl am ein Jachawdr yr Arglwydd Jesu Grist.

[1. *Sancteiddier*

[1. *Sancteiddier dy Enw.*]

TAro 'r cyfryw arswyd yn ein calonnau ni, fel y bo i ni dy berchi di yn usydd yn dy *Enw*, yr hwn sydd fawr, rhyfeddol, a Sanctaidd, a dwyn y cyfryw barch i bób péth a berthyno i ti a'th addoliant, ac a eglurhâo ein hurdduniant ni i'th ddirfawr Fawrhydi di. Molianned y bobl di, O Dduw, moliannêd yr holl bobl dydi.

[2. *Deued dy Deyrnas.*]

SE*fydla* dy Deyrngader, a rheola byth yn ein Heneidiau ni, a thrwy allu dy Râs gorchfyga'r holl lygredigaethau gwrthryfelgar hynny sydd yn ei derchafu ei hunain i'th erbyn; y rheini yw dy elynion hynny y rhai ni synnant i ti lywodraethu arnynt, O dyger nhw allan, a llabyddier nhw o'th flaen di, a gwnâ ni yn gyfryw ddeiliaid ffyddlon o'th *Deyrnas* ymma o *Râs*, fel i'n cymmhwyser i'r *deyrnas o Ogoniant*, ac yna Arglwydd Jesu tyred ar frŷs.

[3. *Bid dy Ewyllys ar y Ddaiar*, &c.]

CYnnorthwya ni a'th Râs i ddioddef yn ewyllysgar dy *Ewyllys* yn dy holl geryddon, ac yn bryssur i'w gwplhau ef yn dy holl orchymynion; dyro i ni o'r zêl nefol i'th wasanaeth di, a pha ûn yr ysprydoliaethir yr Angylion bendigedig, fel y gallon ni ufuddhau i ti a'r unrhyw angerdd a pharodrwydd, a chan ei dilyn hwynt yn ei hufudd-dod y

gallon ni gael ein cyssylltu gydâ hwynt i ganu tragywyddol Foliant yn dy Deyrnas i Dduw ac i'r Oen yn dragywydd.

[4. *Dyro i ni heddyw*, &c.]

DYro i ni'r cyfryw barhâus gymmorth o'th râs, ac a ddichon gynnal a meithrin ein heneidiau ni i fywyd tragywyddol. A rhynged bodd i ti hefyd baratoi i'n Cyrph ni'r holl bethau hynny a weli di'n gymwys er ei cynnal hwynt i fynu trwy'n pererindod daiarol hwn, a gwnâ i ni orphywys yn llawen arnat ti am danynt, gan geisio yn gyntaf dy Deyrnas di a'i chyfiawnder, ac yna heb ammeu na roddir i ni yr holl bethau hyn yn ychwaneg.

[5. *Maddeu i ni ein Dyledion.*]

IAchâ ein Heneidiau, O Arglwydd, canys pechasom yn ddirfawr i'th erbyn, bydded dy dostur drugareddau yn helaeth tu ac atton ni, mewn *maddeuant o'n holl gamweddau*; a chaniadhâ, Arglwydd, na bo i ni byth fforffedio dy bardwn hwn, trwy neccau ein heiddo ni i'n brodyr, eithr dyro i ni yr ymysgaroedd hynny o dosturi tu ac at eraill, y rhai sydd arnon ni yn fwy o anfeidrol ei heisieu oddiwrthit ti, fal y *maddeuon* ni mor hollawl a chyflawn ar Orchymyn Crist, ac yr ydyn ni yn chwennych cael *maddeuant* er mwyn ei haeddedigaethau a'i Gyfryngdod ef.

[6. Nac

[6. *Nac arwain ni i Brofedigaeth, eithr*, &c.]

O Arglwydd nid oes dim grym ynom ni yn erbyn y lliaws hynny o *brofedigaethau* y rhai sydd beunydd yn gorod arnon ni, ond y mae ein golygon yn unig arnat ti; O rhynged fodd i ti naill ai ei hattal nhw neu ein cymmorth ni, ac o'th ffyddlondeb na âd i ni gael ein *temtio* tu hwnt i'n gallu, eithr yn ein holl brofedigaethau gwnâ i ni ffordd i ddiangc, fel na orchfyger ni ganddynt, eithr gallu o honom pan elwi di ni i hynny, wrthwynebu, iè hyd at waed, gan ymdrechu yn erbyn pechod, fel trwy fod yn ffyddlon hyd angeu, y derbyniom gennit ti Goron y bywyd.

[*Canys eiddot ti yw'r Deyrnas*, &c.]

G*Wrando* ni, ac yn rasol atteb ein herfynion ni, canys ti yw Brenin mawr yr holl ddaiar, yr hwn sydd a'i *allu* yn anfeidrol, ac a ddichon wneuthur i ni tu hwynt i'r cwbl a fedrwn ni ei ofyn neu'i amgyffred, ac i ba un y perthyn y *Gogoniant* o'r holl ddaioni yr wyt ti yn ei weithio i ni neu trofton ni. Am hynny bendith, anrhydedd, gogoniant, a gallu a fo i'r hwn sydd yn eistedd ar y Deyrngader, sef i'n Duw ni, yn oes oesoedd, *Amen*.



# OCHENEIDIAU

byrrion Sanctaidd wedi ei cymmeryd allan o Lyfr y PSALMAU.

*Am Faddeuant Pechodau.*

TRugarhá wrthif, O Dduw, yn ol dy Drugarogrwydd, yn ôl lliaws dy dosturiaethau deléa fy anwireddau.

Golch fi yn llwyr-ddwys oddiwrth fy anwiredd : a glanhá fi oddiwrth fy mhechod.

Cuddia dy wyneb oddiwrth fy mhechodau, a deléa fy holl anwireddau.

Fy anwireddau a'm gorchfygasant, o bydd di drugarog wrth fy mhechodau.

Na ddós i farn a'th wâs, o herwydd ni chyfiawnheir neb byw yn dy olwg di.

Er mwyn dy Enw, O Arglwydd, bydd drugarog wrth fy mhechod, canys mawr yw.

Dychwel, Arglwydd, a gwared fy Enaid, O achub fi er mwyn dy Drugareddau.

*Am Râs.*

DYsc i mi wneuthur dy ewyllys di : canys ti yw fy Nuw.

Dysc i mi dy ffordd, O Arglwydd, ac mi a rodiaf yn dy wirionedd : Una fy nghalon i ofni dy Enw.

Créa

Créa galon lân ynof, O Dduw, ac adnewydda yſpryd uniawn o'm mewn.

Bydded fy nghalon ny berffaith yn dy Ddeddfau, fal na'm cywilyddier.

Goſtwng fy nghalon at dy dyſtiolaethau : ac nid at gybydd-dra.

Tró heibio fy llygaid rhag edrych ar wagedd ; a bywhá fi yn dy ffyrdd.

Dieithr ydwyf fi ar y ddaiar : na chudd di rhagof dy Orchymynion.

Dyſc i mi, Arglwydd, felly gyfrif fy nyddiau, fal y dygwyf fy nghalon i Ddoethineb.

*Am Lewyrch wyneb-pryd Duw.*

PA ham, Arglwydd, y gwrthodi fy Enaid, ac y cuddi dy wyneb oddiwrthif?

Na chuddia dy wyneb oddiwrthif, ac na fwrw fi ymmaith yn dy lidiawgrwydd.

Gwell yw dy Drugaredd di na'r bywyd.

Arglwydd dercha lewyrch dy wyneb arnaf.

Cyſſura Enaid dy wâs, canys attat ti, O Arglwydd, y derchafaf fy Enaid.

*Diolwch.*

DIolchaf i'r Arglwydd bob amſer : ei foliant fydd yn fy ngenau yn waſtad.

Ti yw fy Nuw, a mi a ddiolchaf i ti : ti yw fy Nuw, ac mi a'th foliannaf.

Canaf i'r Arglwydd tra y byddwyf byw : Molaf fy Nuw tra fyddwyf.

Bendigedic fyddo Duw yr hwn ni fwriodd fy ngweddi oddiwrtho, nac a drodd ei drugaredd oddiwrthif finnau.

Bendigedic a fo'r Arglwydd Dduw, ſef Duw Iſrael, yr hwn yn unic ſydd yn gwneuthur rhyfeddodau:

Bendigedic hefyd fyddo ei Enw gogoneddus ef yn dragywydd, a'r holl Ddaiar a lanwer o'i ogoniant ef, *Amen*, ac *Amen*.

*Am Ymwared oddiwrth Helbul.*

TRugarhâ wrthif, O Dduw, trugarhâ wrthif, canys ynot y gobeithia fy Enaid; iè yn ghyſcod dy adenydd y gobeithiaf, hyd onid êl yr aflwydd hyn heibio.

Gwared fi, O Arglwydd, oddiwrth fy ngelynion, canys gyda thi yr ymguddiaf.

Cadw fy Enaid a gwared fi; na'm gwradwydder, canys yr wyf yn ymddiried ynot.

Fy llygaid ſydd yn waſtad ar yr Arglwydd: canys efe a ddwg fy nhraed allan o'r rhwyd.

Tro attaf, a thrugarhâ wrthif: canys unic a thlawd ydwyf.

Gofidiau fy nghalon a helaethwyd: dwg fi allan o'm cyfyngderau.

*Tros yr Eglwys.*

GWnâ ddaioni yn dy Ewyllyſgarwch i *Sion*: adeilada furiau *Jeruſalem*.

Pa ham, Dduw, y bwri ni heibio yn dragywydd, ac y myga dy ddigofaint yn erbyn defaid dy borfa?

Cofia dy gynnulleidfa yr hon a brynnaiſt gynt; a llwyth dy Etifeddiaeth yr hon a waredaiſt: mynydd *Sion* hwn y preſſwyli yntho.

Amſer

Amser yw i ti O Arglwydd, dderchafu dy Law; canys diddymmasant dy Gyfraith di.

Cyfod, Arglwydd, ac amddiffyn dy achos dy hun: Gwared Israel, o Dduw, o'i holl gyfyngderau.



*Pyngciau byrrion i ni i'n ymholi ein hunain yn ei cylch, yn enwedig o flaen y Cymmun, ynghylch Trosseddiadau ein Dledswydd.*

---

*Tu ac at* DDUW.

---

FFYDD.

*BOd heb gredu fod Duw.*

*Heb gredu i'w Air ef.*

*Heb ei gredu ef yn fucheddol, megis i fyw yn ôl ein crediniaeth.*

GOBAITH.

*ANobeithio o Drugaredd Dduw, cymmhelled ac i esgeuluso Dledswydd.*

*Rhyfugu arno ef yn fyrbwyll tra'i boni yn myned ymlaen mewn pechodau rhyfygus.*

## CARIAD.

*BOd heb garu Duw am ei Odidowgrwydd ei hun.*
*Heb ei garu ef am ei Ddaioni i ni.*
*Heb ymegnio i'w fodloni ef.*
*Heb chwennychu nessau atto ef yn ei Ordinhadau.*
*Heb hiraethu am ei fwynhau ef yn y Nêf.*

## OFN.

*HEb ofni Duw megis ac i ymgadw rhag ei annog ef i ddigofaint.*
*Ofni dyn uwch ei law ef, trwy wneuthur pechod i ochelyd rhyw drueni oddiallan.*

## YMDDIRIED.

*HEb Ymddiried yn Nuw mewn peryglon a chyfyngderau.*
*Arferu moddion anghyfreithlon i'n tynnu ein hunain allan o honynt.*
*Heb ymddiried yn Nuw am gyflawniad o'n angenrheidiau.*
*Gormod gofal am bethau oddiallan.*
*Esgeuluso llafurio, a disgwyl i Dduw ein diwallu ni yn ein Syrthni.*
*Heb edrych i fynu at Dduw am fendith ar ein llafur onest.*

## GOSTYNGEIDDRWYDD.

*HEb fod a thyb parchedig o Dduw.*
*Heb ymddarostwng yn ufudd i wneuthur ei ewyllys ef.*

*Heb ddioddef ei ewyllys yn ammyneddgar, ond gwrwgnach am ei geryddon ef.*

*Heb wellhau o'i plegid hwynt.*

*Heb fod yn ddiolchgar iddo ef am danynt.*

*Heb gydnabod ei Ddoethineb ef yn dewis trostoni, ond bod a deisyfiadau taer haerllug o'n heiddo ein hunain.*

## ANRHYDEDD.

*HEb anrhydeddu Duw trwy arferu yn barchedig y pethau a berthynant iddo ef.*

*Ein hymddwyn ein hunain yn ammharchus yn ei dy ef.*

*Yspeilio Duw trwy gymmeryd pethau gwedi ei cyssegru iddo ef.*

*Halogi amseroedd Sanctaidd, Dydd yr Arglwydd, Gwiliau ac ymprydiau'r Eglwys.*

*Esgeuluso darllen y Scrythyrau Sanctaidd, ac heb ystyrio pan ddarllenion.*

*Bod yn ddiofal am geisio gwybodaeth o'n Dledswydd, gan ddewis yn hytrach barhau mewn anwybodaeth, na'n gosod ein hunain i'r boen ar draul o ddyscu.*

*Gosod crefydd mewn gwrando Pregethau heb ymarfer.*

*Torri ein Addunet a wnaethoni yn ein Bedydd.*

*Trwy gyrchu at Ddewinasau, a Chonsuriwyr, hynny yw, at y Cythrel.*

*Trwy garu rhodres a gorwagedd y Byd, a dilyn ei arferion pechadurus ef.*

*Trwy gyflawni chwantau'r Cnawd.*

*Halogi Swper yr Arglwydd.*

*Trwy ddyfod iddo ef yn anwybodus, heb ymholiad, gwir Edifeirwch, na bwriadu buchedd newydd.*

Trwy

*Trwy ein hymddwyn ein hunain yno yn ammharchus ac yn annefosionawl.*

*Trwy esgeuluso cadw'r Addewidion a wnaethpwyd yno.*

*Halogi Enw Duw, trwy feddyliau, neu ymddiddan cablaidd.*

*Rhoddi i eraill achos i'w gablu ef trwy ein buchedd annuwiol ni.*

*Cymmeryd* Llwon *anghyfreithlon.*

*Anudonedd.*

*Tyngu mewn ymddiddan cyffredinol.*

## ADDOLIANT.

*HEb Addoli Dduw.*

*Esgeuluso Gweddiau, Public neu Brifat, a bod yn llawen am gael rhyw escus am hynny.*

*Gofyn pethau anghyfreithlon, neu i ddibennion anghyfreithlon.*

*Heb buro ein calonnau oddiwrth bechod cyn gweddio.*

*Heb weddio trwy ffydd a Gostyngeiddrwydd.*

*Oerni, difráwch, a marweidd-dra mewn Gweddi.*

*Meddyliau gwibiog mewn Gweddi.*

*Ymddygiad ammharchus y Corph mewn gweddi.*

## EDIFEIRWCH.

*ESgeuluso y Ddledswydd o Edifeirwch.*

*Heb ein galw ein hunain i gyfrif beunyddiol am ein pechodau.*

*Heb bennodi amserau gosodedig i Ymddarostyngiad a chyffes; neu yn rhy anfynych.*

*Heb ystyried yn ddifrifol ein pechodau, i beri cystudd Calon am danynt.*

*Heb*

*Heb ymddial arnom ein hunain, trwy Ympryd, a gweithredoedd eraill o farwolaethiad y Cnawd.* 6

## DELW-ADDOLIAETH.

*Gau-dduwiaeth oddiallan trwy addoli Creaduriaid.*
*Gau-dduwiaeth oddimewn, trwy osod ein Cariad, a'n hanwydau eraill yn fwy ar y creaduriaid, nag ar y Creawdr.*

---

## *Tu ac attom ein* HUNAIN.

---

## GOSTYNGEIDDRWYDD.

*Ymfalchio trwy debygoliaeth uchel o honom ein hunain.*
*O herwydd ein Cynneddfau Naturiol, megis wyneb-pryd, Doethineb,* &c.
*O herwydd golud bydol ac Anrhydedd.*
*O herwydd Grâs.*
*Chwennych yn awyddus glôd gan ddynion.*
*Cyfarwyddo gweithredoedd Cristianogol, megis Gweddiau, Elusenau,* &c. *i'r diben hwnnw.*
*Gwneuthur pechodau er mwyn gochelyd gwradwydd gan ddynion ddrwg,*

## LLARYEIDD-DRA.

*Cythrwblio ein meddyliau a digofaint ac ystyfnigrwydd.*

YSTY-

*Trwy ein hymddwyn ein hunain yno yn ammharchus ac yn annefosionawl.*

*Trwy esgeuluso cadw'r Addewidion a wnaethpwyd yno.*

*Halogi Enw Duw, trwy feddyliau, neu ymddiddan cablaidd.*

*Rhoddi i eraill achos i'w gablu ef trwy ein buchedd annuwiol ni.*

*Cymmeryd* Llwon *anghyfreithlon.*

*Anudonedd.*

*Tyngu mewn ymddiddan cyffredinol.*

## ADDOLIANT.

*HEb Addoli Dduw.*

*Esgeuluso Gweddiau, Public neu Brifat, a bod yn llawen am gael rhyw escus am hynny.*

*Gofyn pethau anghyfreithlon, neu i ddibennion anghyfreithlon.*

*Heb buro ein calonnau oddiwrth bechod cyn gweddio.*

*Heb weddio trwy ffydd a Gostyngeiddrwydd.*

*Oerni, difrâwch, a marweidd-dra mewn Gweddi.*

*Meddyliau gwibiog mewn Gweddi.*

*Ymddygiad ammharchus y Corph mewn gweddi.*

## EDIFEIRWCH.

*ESgeuluso y Ddledswydd o Edifeirwch.*

*Heb ein galw ein hunain i gyfrif beunyddiol am ein pechodau.*

*Heb bennodi amserau gosodedig i Ymddarostyngiad a chyffes; neu yn rhy anfynych.*

*Heb ystyried yn ddifrifol ein pechodau, i beri cystudd Calon am danynt.*

*Heb*

*Heb ymddial arnom ein hunain, trwy Ympryd, a gweithredoedd eraill o farwolaethiad y Cnawd.* 6

## DELW-ADDOLIAETH.

*GAu-dduwiaeth oddiallan trwy addoli Creaduriaid.*

*Gau-dduwiaeth oddimewn, trwy osod ein Cariad, a'n hanwydau eraill yn fwy ar y creaduriaid, nag ar y Creawdr.*

---

## *Tu ac attom ein* HUNAIN.

---

## GOSTYNGEIDDRWYDD.

*YMfalchio trwy debygoliaeth uchel o honom ein hunain.*

*O herwydd ein Cynneddfau Naturiol, megis wyneb-pryd, Doethineb, &c.*

*O herwydd golud bydol ac Anrhydedd.*

*O herwydd Grâs.*

*Chwennych yn awyddus glôd gan ddynion.*

*Cyfarwyddo gweithredoedd Cristianogol, megis Gweddiau, Elusenau, &c. i'r diben hwnnw.*

*Gwneuthur pechodau er mwyn gochelyd gwradwydd gan ddynion ddrwg.*

## LLARYEIDD-DRA.

*CYthrwblio ein meddyliau a digofaint ac ystyfnigrwydd.*

YSTY-

## YSTYRIAETH.

*HEb brofi yn ddyfal beth yw ein cyflwr ni tu ac at Dduw.*

7 *Heb ein profi ein hunain wrth y wîr Reol, sef, ein Hufudd-dod i orchymynion Duw.*

*Heb iawn bwyso Cyfreithlonrhwydd ein Gweithredoedd, cyn rhyfygu arnynt.*

*Heb brofi ein Gweithredoedd a basiodd, i Edifarhau am y rhai drwg, ac i roddi i Dduw y Gogoniant am y rhai da.*

## BODLONRHWYDD.

*ANfodlonrhwydd i'n Cyflwr.*

*Deisyfiadau awyddus ar ôl Anrhydedd a Golud.*

*Ceisio ei hennill hwynt trwy foddion pechadurus.*

*Cenfigennu cyflwr dynion eraill.*

## DIWYDRWYDD, GWILIADWRAETH.

8 *ESgeuluso synnied a gwrthwynebu Profedigaethau.*

*Heb dreulio i'r goreu ddoniau Duw, oddiallan neu oddifewn, i'w anrhydedd ef.*

*Camarferu ein Cynneddfau Naturiol, megis Synwyr, Coffa, &c. i bechod.*

*Esgeuluso neu wrthwynebu Cynnhyrfiadau Yspryd Duw.*

## DIWEIRDEB.

*AFlendid, Godineb, Putteindra, trachwantau annaturiol, &c.*

*Aflendid y Llygad a'r Llaw.*
*Siarad trythyll anllad.*
*Dychymmygion a Deisyfiadau ffiaidd anniweir.*
*Anghwinegu Trachwant trwy borthi mwythau i'r Corph.*
*Heb ymegnio i'w ddwyn ef tanodd trwy Ympryd neu foddion geirwon eraill*

## CYMMEDROLDER.

*BWyta gormod.*
*Gwneuthur pleser, nid Iechyd yn ddiben Bwyta.*
*Bod yn rhy fwythus neu gostus mewn Bwydydd.*
*Meddw-dod.*
*Yfed mwy nag sydd gymwys i'n Cyrph, er nid i Feddwdod.*
*Treulio'r amser neu 'n Da bydol mewn Cwmpnhiaeth.*
*Cam-arferu cryfder ein pennau i wneuthur eraill yn feddwon.*
*Cwsg anghymmedrol.*
*Diogi ac Esgeulusdra yn ein Galwedigaethau*
*Arferu chwareuyddion anghyfreithlon.*
*Bód yn ry ddifri ar rai Cyfreithlon.*
*Treulio gormod o amser arnynt.*
*Cynnwys ein denu ganddynt i lid neu Gybydd-dra.*
*Bód yn falch o wisciad.*
*Ymegnio i fyned tu hwynt i'n Grádd.*
*Treulio gormod o amser, o ofal a chóst yn ei cylch.*
*Ymgadw oddiwrth y cyfryw Ormodedd, nid o gydwybod ond o gybydd-dod.*
*Nychu 'n Cyrph i lenwi ein Pyrsau.*

*Tu*

## *Tu ac at ein* CYMYDOG.

### CYFIAWNDER O OMMEDDIAD.

*Gwneuthur sarhâad a'n Cymydog.*
*Ymhyfrydu yn cythrwblio ei feddwl ef yn ddiachos.*
*Maglu ei Enaid ef mewn pechod, trwy Orchymyn, cyngor, Cynnhyrfiad, neu Esampl.*
*Ei ddychrynnu ef oddiwrth Dduwioldeb trwy i ni ei watwor ef.*
*Heb geisio dwyn y rhai hynny i Edifeirwch a lithiasôm ni i bechod.*

### LLOFRUDDIAETH.

*LOfruddiaeth cyhoeddus neu ddirgel.*
*Denu dynion i anhymmerwch neu bechôdau eraill, a ddichon dwyn clefydau neu farwolaeth.*
*Cynnhyrfu dynion i gwerylu ac ymladd.*
*Briwo neu anafu Corph ein Cymydog.*
*Creulonder a Chynddeiriogrwydd i'w erbyn ef.*

### GODINEB.

*CHwennychu Gwraig ein Cymydog.*
*Ei halogi hi.*

CEN-

## CENFIGEN.

*ANrheithio Da rhai eraill o genfigen a malis.*

## CYBYDD-DOD.

*CHwennychu Da rhai eraill i ni ein hunain.*

## GORTHRECH

*GOrthrech trwy rym a chryfder neu rîth Cyfraith.*

## LLEDRAD

*HEb dalu benthyg yn ól.*
*Heb dalu 'r peth a addawasoni o'n gwirfodd.*
*Cadw yn ól cyflog y gwâs a'r cyflogedig.*

## TWYLL.

*ANffyddlondeb mewn ymddiried, pa ûn bynnag ai i'r byw ai i'r marw.*
*Arferu Celfyddyd o ddichell yn Prynu ac yn gwerthu.*
*Cymmhellad treisiol ar angenrheidiau ein Cymydogion.*

## GAM-DYSTIOLAETH.

*LLygru Enw da ein Cymydog.*
*Trwy Gam-dystiolaeth.*

*Trwy*

*Trwy Sarháad a drwg absen.*
*Trwy bustyngu.*
*Trwy achlesu eraill yn ei henllibiau.*
*Bod yn rhy bryssur i goelio dryg-air am ein Cymydog.*
*Ammheuon diachos.*
*Ei farnu ef yn syrbwyll.*
*Ei ddirmygyu fo oblegid ei wendid.*
*Gwahodd eraill i wneuthur felly trwy ei wawdio ai watwor ef.*
*Dwyn malis yn y Galon.*
*Chwennych yn ddirgel farwolaeth neu niwed ein Cymydog.*
*Llawwenychu pan ddychwelo ddrwg iddo.*
*Esgeuluso gwneuthur yr iawn a alloni am unrhyw fáth ar gamwedd a wnaethon ni i'n Cymydog.*

## JUSTITIA POSITIVA.

### GOSTYNGEIDDRWYDD. CELWYDD

*YMddygiad sarrug a balch tu ac at eraill.*
*Ymarweddiad cyndyn ac ystyfnig.*
*Ymadrodd chwerw a gwradwyddus.*
*Rhegu.*
*Heb dalu'r parch dledus i gynneddfau neu ddoniau rhai eraill.*
*Edrych trostynt yn falch.*
*Ceisio lleihau parch rhai eraill iddynt.*
*Heb wneuthur deunydd o'n gallu, pa un bynnag a'i o'n meddwl, ai o'n da bydol, i gyfrannu i'r rhai sydd mewn eisien.*

## DIOLCHGARWCH.

*ANniolchgarwch i'r rhai a wnaethant i ni ddaioni.*

*Yn enwedig i'r rhai sydd yn ein rhybuddio ac yn ein Cynghori ni.*

*Heb wellhau ar ei bargyceddiad hwynt.*

*Digio wrthynt am hynny.*

*Heb berchi ein tâd Dinasaidd, sef, y Llywiawdr cyfreithlon.*

*Ei farnu ai Enllibio ef.*

*Gwrwgnach iddo ei Deyrnged gyfiawn.*

*Hau terfysc ymysg ei bobl ef.*

*Gwrthod ufuddhau ei Orchymynion cyfreithlon ef.*

*Codi i fynu yn ei erbyn ef, neu ymbleidio a'r rhai a wnânt felly.*

*Dirmygu ein Tadau Ysprydol.*

*Heb ei caru hwynt er mwyn ei gweithredoedd.*

*Heb ufuddau i Orchymynion Duw y maent hwy yn ei haddrodd i ni.*

*Ceisio attal oddiwrthynt ei Cynhaliaeth cyfreithlon.*

*Ymwrthod a'n Bugeiliaid cyfreithlon i ddilyn dyscawdwyr ffals a chynnhenus.*

## RHIENI.

*YWddygiad ystyfnig ac ammharchus tu ac at ein Rhieni naturiol.*

*Dirmygu a chyhoeddi ei gwendid hwynt.*

*Heb ei caru hwynt, nag ymegnio i ddwyn eysur iddynt.*

*Diystyru ei cynghorion hwynt.*

*Gwrwgnach am ei llywodraeth hwynt.*

*Chwennych ei Golud hwynt, er trwy ei marwolaeth hwynt.*

*Heb gyfrannu a hwynt yn ei hangen o bôb máth.*

*Esgeuluso gweddio am fendith Dduw arnynt.*

*Eisieu Cariad naturiol tu ac at Blant.*

*Mammau yn gwrthod ei maethu hwynt heb rwystr cyfiawn.*

*Heb ei dwyn hwynt mewn pryd i'w Bedydd.*

*Heb ei hathrawiaethu nhw mewn pryd, yn ffyrdd Duw.*

*Goddef iddynt, eisieu ei ceryddu mewn pryd, gael arfer o bechod.*

*Gosod o'i blaen hwynt ddrwg Esamplau.*

*Ei digalonni hwynt trwy ymddwyn yn greulon a sarrug tu ac attynt.*

*Heb baratoi tu ac at ei cynhaliaeth hwynt yn ôl ein gallu.*

*Treulio ei cyfran hwynt yn ein cam-rwysg ein hunain.*

*Cadw yr cwbl hyd ein marwolaeth a gadael eisieu arnynt yn y cyfamser.*

*Heb geisio gadael bendith iddynt o'n hól trwy ein buchedd gristianogol.*

*Eisieu Cariad tu ac at ein brodyr Naturiol.*

*Cenfigennau ac ymrysonau rhyngddynt.*

## DLED I FRODYR.

*Heb garu ein Brodyr Ysprydol, sef, ein Cyd-gristianogion.*

*Heb fód yn gyd-teimladwy o'i dioddefiadau hwynt.*

*Ymwr-*

*Ymwrthod yn ddiachos a'i cyfundeb hwynt mewn Dledswyddau sanctaidd.*

*Heb ddwys-ystyried anghyflwr a difrawd yr Eglwys.*

## PRIODAS.

*PRiodi o fewn y graddau gwaharddedig.*

*Priodi o ran dibennion annyledus, megis Cybydddod, Trachwant, &c.*

*Ymddygiad sarrug ac anheddychlon tu ac at y Gwr neu 'r wraig.*

*Anffyddlondeb i'r Gwely.*

*Heb gyd-ddwyn a gwendid naill y llall.*

*Heb ymegnio i geisio daioni naill y llall, Ysprydol neu amserol.*

*Y wraig yn gwrthwynebu Gorchymyn cyfreithlon ei Gwr Priod.*

*Ei hymegniad hi am Reolaeth ac arglwyddiaeth arno ef.*

*Heb weddio y naill tros y llall.*

## CYMDEITHAS.

*ANffyddlondeb i Gydymmaith.*

*Dadcuddio ei ddirgelion ef.*

*Neccau Cymmorth iddo yn ei angen.*

*Esgeuluso ei gyngheri ef yn garedig.*

*Ei lochi ef yn ei gamweddau.*

*Ymadael a'i gymdeithas ef ar achos gwael neu yn ddiachos.*

*Gwneuthur Cyngrair mewn pechod yn lle cymdeithas rhinweddol.*

## GWEISION.

*GWeision yn anufuddhau gorchymynion cyfreithlon ei meistraid.*

*Gwneuthur twyll i'w Da hwynt.*

*Ei hafradloni nhw yn ddiofal.*

*Gwrwgnach wrth ei haryyoeddion hwynt.*

*Seguryd.*

*Llygad-wasanaeth.*

## MEISTRAID.

*MEistraid yn arferu ei Gweision yn greulon ac yn Orthrymmedig.*

*Yn rhy Lwfr, ac yn goddef iddynt esgeuluso ei Dledswydd.*

*Heb ofalu am ei Heneidiau hwynt.*

*Heb edrych am foddion iddynt o athrawiaeth mewn Crefydd.*

*Heb ei cyngyhori a'i hargyoeddi hwynt pan bechont.*

*Heb ganniadu iddynt amser ac odfa i weddi ac Addoliant Duw.*

## CARIAD.

*EIsieu ymysgaroedd a Chariad tu ac at ein Cymydogion.*

*Heb ddeisyf yn ddifrifol ei daioni hwynt Ysprydol ac amserol.*

*Heb garu a maddeu i'n gelynion.*

*Ymddial a'n dwylo ein hunain arnynt.*

*Ffalsder: yn proffessu Cariad, heb ddangos dim.*

*Heb*

*Heb ymegnio i wneuthur yr holl ddaioni a alloni i enaid ein Cymydog.*

*Heb ei gynnorthwyo ef i'n gallu yn ei Helbul corphorol.*

*Heb amddiffyn ei Enw da ef pan wypo ni ei fód ef yn cael ei enllibio.*

*Neccau iddo gymwynas gymydogaidd i gynnal neu 'i anghwanegu ei gyflwr oddiallan.*

*Heb ei gynnorthwyo ef yn ei dlodi.*

*Heb roddi yn helaeth, neu yn llawen.*

## MYNED i'r GYFRAITH.

*Bod heb garu* Tangnheddyf.

*Myned i'r gyfraith ar achosion gwael.*

*Dwyn gelyniaeth o'n mewn tu ac at y rhai y bón ni yn ymgyfreithio a hwynt.*

*Heb ymegnio i wneuthur Tangnheddyf ymysg eraill.*

*Deunydd y* Rhól *yma o* Bechodau *yw hyn: ar Ddyddiau* Ymddarostyngiad *yn enwedig o flaen y Cymmun, darllen hwynt drostynt yn ystyriol, ac ar bób ûn o honynt gofyn i'th galon dy hun*, A wyf fi yn Euog o hwn? *a pha béth bynnag trwy'r cyfryw Brofiad a ganfyddi di dy hun yn Euog o honaw, cyffessa yn neillduol ac yn ostyngedig ger bron Duw, ynghyd a'r holl amgylchiadau dirfawr hynny a ddichon anghwanegu eu heuogrwydd hwynt, a bwriada yn ddifrifol ymadel a phób gyfryw Bechod rhag llaw; gwedi hynny arfera 'r ffurf sy'n calyn.*

O ARGLWYDD, yr wyf' yn cywilyddio ac yn gwrido wrth dderchafu fy Enaid

 tu

tu ac attat ti, oblegid y mae fy anwireddau gwedi amlhau tros fy mhen, a'm trosseddiad a dyfodd i fynu hyd at y Nêf. Mi a wneuthym yr holl bechodau hyn, a hynny yn y modd angerddaf; nid anwireddau neillduol ac unic fuant, eithr rhai gwedi ei mynych ailgyrchu: Canys o cyn lleied, Arglwydd, sydd o'r holl Rôl echryslon hon a osodais i yr awrhon o'th flaen di, na búm i yn euog o honynt, iê nad ydynt gwedi dyfod yn gynnefinol ac yn arferol gydá fi? Ac at hyn óll mi a anghwanegais awydd-fryd a gwrthnysigrwydd yn pechu, gan ymchwelyd i'm harfer ddrygionus, fal y rhythra 'r march i'r rhyfel, gan wneuthur drŵg a'm dwy law yn unchwant, iè gan gashau adnewyddu, a thaflu di Eiriau o'm hól, trwy ddiffod dy ysspryd ti o'm mewn, yr hwn a dystiolaethodd i'm herbyn, i'm troi i oddiwrth fy ffyrdd ddrwg, a chan fwrw yn ofer yr holl foddion hynny oddiallan, pa ûn bynnag ai o farnedigaeth neu o drugaredd, y rhai a arferaist ti i'm tynnu i attat dy hun.Ië, O Arglwydd, mi a allaf gyfrif fy Edifeirwch ym mhlìth fy mhechodau mwyaf, nhw fuant weithiau yn ffugiol a rhagrithiol, yn wastad mor wael a diffrwyth na ddygasant hwy ddim ffrwyth allan mewn gwellháad buchedd, eithr mi a ymchwelais drachefn gyda 'r Cî i'w chwdfa, a'r hwch i ymdrobaeddu yn y domm, ac at hyn oll mi a anghwanegais dorri 'r holl fwriadau a'r addunedau a wnaethym i o'r blaen o wellháad. Felly yr wyf, O Arglwydd, yn dra-phechadurus, a chan ddarfod i mi fal hyn ddewis marwolaeth, teilwng

iawn

iawn yw i mi fód yn gyfrannog o honi hi, sef, o'r ail farwolaeth, y Pydew o dân a brwmstan; Hyn, Hyn, O Arglwydd, mewn Cyfiawnder yw rhan fy Phíol i; i mi ni perthyn dim ond cywilydd a gwarthrudd wyneb yn dragywydd: Ond i ti, O Arglwydd Dduw, y perthyn Trugaredd á maddeuant, er gwrthryfelu o honof i'th erbyn; Na chofia fy mhechodau na'm hanwireddau, eithr yn ôl dy drugaredd, meddwl am danaf, Arglwydd, er dy ddaioni. Tydi a anfonaist dy Fáb i geisio ac i gadw yr hyn a gollesid; wele, O Arglwydd, mi a eis ar gyfeiliorn fal dafad ar gyfrgoll, o cais dy wâs, a dŵg fi yn ôl at Fugail ac Escob fy Enaid; bydded i'th Yspryd ti roddi i mi wîr-deimlad a chasineb o'm holl ffieidd-dra, sef, y gwîr gystudd calon hwnnw, yr hwn a addewaist ti ná ddirmygit. Ac yna bid fodlon gennit edrych arnaf, deleu fy holl anwiredd, a'm derbyn i yn rasol, ac er ei fwyn ef yr hwn ni wnaeth ddim ar fai, cymmoder di a fi, yr hwn ni wnaethum ddim da; golch ymmaith euogrwydd fy mhechodau i yn ei waed ef, a thrwy ei Râs ef gorchfyga 'i gallu hwynt, a chaniadhá, O Arglwydd, fód i mi o'r awr hon allan gymmeryd fy nghennad diweddaf a'm holl annuwioldeb a'm trachwantau bydol, fal na bo i mi byth ond hynny edrych yn ól tu a *Sodoma*, nac hiraethu am grochanau Cîg yr *Aipht*, eithr bód i mi fy nghyssegru fy hun yn hollawl i ti, i'th wasanaethu di mewn Cyfiawnder a gwîr sancteiddrwydd, gan fy nghyfrif fy hun yn farw i Bechod, eithr yn fyw i Dduw, trwy Jesu Grist ein Harglwydd a'n Hiachawdr bendigedic.

 *Yna*

## *Yna arfera y* Psalm *hon o Edifeirwch.*

### Psalm 51.

*TRugarhâ wrthif ô Dduw yn ôl dy drugarogrwydd; yn ôl lliaws dy dosturiaethau delea fy anwireddau.*

*Golch fi yn llwyr-ddwys oddi wrth fy anwiredd: a glanhâ fi oddi wrth fy mhechod.*

*Canys yr wyf yn cydnabod fy nghamweddau: a'm pechod sydd yn wastad ger fy mron.*

*Yn dy erbyn di, dydi dy hunain, y pechais, ac y gwneuthum y drwg hyn yn dy olwg: fel i'th gyfiawnhaer pan leferych, ac y byddit bûr pan farnech.*

*Wele mewn anwiredd i'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf.*

*Wele, ceraist wirionedd oddi mewn: a pheri i mi wybod doethineb yn y dirgel.*

*Glanhâ fi ag Yssop, ac mi a lanheir: golch fi, a byddaf wynnach nâ'r eira.*

*Pâr i mi glywed gorfoledd, a llawenydd; fel y llawenycho yr escyrn a ddrylliaist.*

*Cuddia dy wyneb oddiwrth fy mhechodau: a delea fy holl anwireddau.*

*Crea galon lân ynof ô Dduw; ac adnewydda yspryd uniawn o'm mewn.*

*Na fwrw fi ymmaith oddi ger dy fron: ac na chymmer dy Yspryd sanctaidd oddi wrthif.*

*Dyro drachefn i mi orfoledd dy iechydwriaeth: ac â'th hael Yspryd cynnal fi.*

*Yna y dyscaf dy ffyrdd i rai anwir: a phechaduriaid a droir attat.*

*Gwared*

*Gwared fi oddiwrth waed ô Dduw, Duw fy iechydwriaeth : a'm tafod a gân yn llafar am dy gyfiawnder.*

*Arglwydd agor fy ngwefusau, a'm genau a fynega dy foliant.*

*Canys ni chwennychi aberth, pe amgen mi a'i rhoddwn; poeth offrwm ni fynni.*

*Aberthau Duw ydynt yspryd drylliedic : calon ddryllioc gystuddiedic, ô Dduw, ni ddirmygi.*

*Gwna ddaioni, yn dy ewyllyscarwch*, i Sion : *adeilada furiau* Jerusalem.

*Yna y byddi di fodlon i ebyrth cyfiawnder, i boeth offrwm, ac aberth llosc, yna 'r offrymmant fustych ar dy allor.*

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad yn oes oessoedd. *Amen.*

---

# GWEDDIAU
## O FLAEN derbyn y
# CYMMUN *Bendigedig.*

O Dduw grasusaf, yr hwn o'th ddirfawr ddaioni a baratoaist y wledd Ysprydol hon i Eneidiau llésg a thrangcedig, gwná i'm deisyfiadau a'm hiraeth i am dani hi fód yn gyfattebol i'm heisieu i o honi hi. Fe ddarfu i mi

i mi, gyda'r afradlon, dreulio'r gyfran honno o Râs a roddaist ti i mi, ac am hynny 'mae arna'i eisieu yn anfeidrol cael cyflawni fy niffyg allan o'r tryssor-dŷ yma: Ond, O Arglwydd, pa fodd y meiddia'r cyfryw greadur truan a mysi nessau at dy fwrdd Sanctaidd di? Cî wyf fi pa fodd y rhyfyga'i gymmeryd Bara 'r plant? Neu pa fódd y rhoddir y Manna Ysprydol hwn, ymborth Angylion, i ûn a ddewisodd fwyta o'r cibau gyda'r môch, iè i ûn a fathrodd cyn fynyched yn barod y pethau gwerthfawr hyn tan ei draed, naill ai trwy esgeuluso 'r dirgeledigaethau Sanctéiddiol hyn yn ddiofal, neu 'i harferu hwynt yn annheilwng? Y mae fy euogrwydd gresynol i, O Arglwydd, yn gwneuthur i mi arswydo dyfod, ac etto yn gwneuthur i mi na feiddia'i ond dyfod; oblegid pa le, O Arglwydd, y golchir fy Enaid llygredig i, ond yn y ffynnon hon a agoraist ti i bechod ac Aflendid? Ymma gan hynny yr wyf fi'n dyfod, a thydi a addewaist na fwrit ti heibio neb a ddeue attat ti: Hwn, O Arglwydd, yw gwaed y Testament newydd, caniadhá i mi felly ei dderbyn ef, fal y bo fo i mi er maddeuant pechodau. Ac er darfod i mi cyn fynyched ac mor resynol dorri fy rhan i o'r Cyfammod hwnnw, o ba ûn y mae'r Cymmun hwn yn fêl, etto rhynged fodd i ti o'th Râs wneuthur dy ran di yn dda, a thrugarhau wrth fy anghyfiawnder i, ac na chofiech mwyach fy mhechodau i na'm hanwireddau; ac nid hynny yn unic, ond gosod dy Gyfraith yn fy nghalon, a'i fcrifennu hi yn fy meddwl, a thrwy allu dy Râs trefna fy Enaid i'r cyfryw ddiffúant a pharhaus ufudd-dod, fal

na

na ddigwyf monot ti byth drachefn; caniadhâ, O Arglwydd, fod i mi yn y dirgeledigaethau fanctciddiol hyn nid yn unic goffhau, ond gwîr-dderbyn fy Iachawdr bendigedic, a'r holl Ragorfreintiau o'i ddioddefaint ef: ac i'r pwrpas hwn dyro i mi 'r cyfryw baratóad Enaid ac a'm cymhwyfa 'i i hynny; dód i mi ddwysdeimlad o'm pechodau a'm hanneilyngdod fal trwy fód yn flinderog ac yn llwythog, y byddwyf yn gymwys i dderbyn ei efmwythdra ef; a chan fód gwedi fy mwydo yn fy nagrau fy hun y gallwyf fod yn gymhwyfach i gael fy ngolchi yn ei waed ef; derchafa fy meddwl hurt daiarol o ymdrobaeddu ymma yn ifel, ac yfprydola fi a duwiol zêl, modd y gallwyf a chariad yfprydol neffau i'r wlêdd Yfprydol hon; a bydded, O Arglwydd, i'r Cariad anfeidrol hwnnw o eiddo Crift yn marw tros y fath Greadur gwael, wrefogi fy Enaid oer marwaidd i, a chynneu ynof y tân Sanctaidd hwnnw o gariad iddo ef, a hynny mor angerddol, fal na ddichon nebrhyw ddwfr ei ddiffodd, na llifeiriant ei foddi ef, fef y cyfryw ac a ddichon lofci yn llwyr fy holl ammhuredd i, heb adael ûn trachwant heb ei farweiddio yn fy Enaid i. Yn ddiweddaf, O Arglwydd, yr attolygaf i ti fy nilladu i ar wifg briodas, a'm gwneuthur i, er o honof fy hun yn draannheilwng, etto trwy dy drugaredd di, yn weftai cymmeradwy i'th fwrdd Sanctaidd hwn, fal na fwytáwyf ac na yfwyf fy namnedigaeth fy hûn, ond cael o honof fy mhardwn gwedi ei felio, fy ngwendid gwedi ei adgyweirio, fy llygredigaethau gwedi ei gorchfygu, am Henaid gwedi ei uno mor anwahanol a thydi,

fal

fal na allo unrhyw brofedigaeth fyth ddattod yr Undeb hwnnw, ond gan fod wedi dechreu ymma mewn grâs, y gallo fo gael ei berffeithio mewn Gogoniant. Caniadhá hyn, O Arglwydd, er mwyn dy anwyl Fâb Jesu Grist. *Amen.*

## *Gweddi arall.*

O Wynfydedic Jesu, yr hwn a'th offrymmaist dy hun trossof fi unwaith ar y Groes, ac wyt yn dy gynnyg dy hûn i mi 'r awrhon yn y Cymmun, na âd, yr wyf' yn attollwg iti, i'm han-edifeirwch neu i'm hanneilyngdod i wneuthur y trugareddau anfeidrol hyn yn anfuddiol i mi, eithr cymhwysa fi trwy dy Râs i dderbyn cyflawn ffrwyth o honynt. Y mae arna'i, O Arglwydd, dy eisieu di 'n ddirfawr, ond yr wyf' wedi fy llyffetheirio ac euogrwydd, a chwedi fy nal i mewn a rhaffau fy mhechodau, fal na allaf symmud tu ac attat ti; O gollwng fi 'n rhydd o'r rhwym hwn, a thywys fi modd y gallwyf redeg ar dy ôl di; Ti a weli, O Arglwydd, mor gyflym yr wyf fi beunydd yn cynllwyn y llwybrau sydd yn arwain i angeu; ond pan fyddoch di yn fy ngwahodd i i fywyd a gogoniant, yr wyf' yn troi fy nghefn, ac yn gwrthod trugaredd. Mor fynych yr arlwyed y Wledd hon, a myfi a'm habsennais fy hun ac Esgusion gwael, neu os deuais, fe fu hynny yn hytrach i'th ddirmygu, nag i'th addoli di? Mi a ddygais y cyfryw luoedd o'th Elynion cyhoeddus di gyda fi, sef pechodau heb edifarhau am danynt, fal pe buaswn yn dyfod nid i goffhau, ond i adnewyddu dy ddioddefaint di, gan dy groshoelio

di

di o newydd, a'th roddi di i wradwydd cyhoeddus: Ac yn awr o ba ryw gospedigaeth yr wyf fi yn deilwng, yr hwn fal hyn a sethrais Fâb Duw tan fy nhraed ac a gyfrifais waed y Cyfammod yn beth halogedig! Etto, O Drugarog Jesu, y gwaed hwn yw fy unic noddfa i, O bydded i hwn wneuthur fy Nngyfammod i a thydi, neu fe ddarfu am danaf yn dragywydd: i ba beth y tywelltaiit di ef ond i waredu pechaduriaid? ac ni ddichon ei deilyngdod ef gael ei orchfygu na'i bwyso i lawr gan fawredd na rhifedi Pechodau. Pechadur dirfawr ydwyf fi, O gâd i mi gael yr iachus ffrwyth o hono ef. Trugarhá wrthif, O Dduw, trugarhá wrthif, canys y mae fy Enaid yn ymddiried ynot, ac yn ghromlechydd dy archollion y bydd fy noddfa, nes i lidiawgrwydd dy Dâd fyned heibio. O tydi yr hwn megis fy Arch-offeiriad a aberthaist trossof, eiriol hefyd trossof fi a, dadleu haeddiant dy ddioddefaint er fy mwyn i, ac na âd, O fy Mhrynwr, i brîs dy waed ti fyned yn gwbl ofer: Ond caniadhá, O Arglwydd, megys y mae fy mhechodau i yn aml i'w maddeu, felly y bo i mi garu llawer. Ti a weli, O Arglwydd, pa ryw gariad oer a methiant sydd gennifi tu ac attat ti, O twymna a bywoccá di fo: Ac megys y tywelltir allan yn y Cymmun hwn dy anfeidrol gariad ti yn marw trossof, felly yr wyf yn erfyn arnat fod iddo ef ddwyn y cyfryw Râs i'm mewn ac a'm gwnelo i yn abl i'th garu ditheu hefyd mewn rhyw fesur cyfattebol: O bydded i'r Tân Sanctaidd hwnnw ddescyn o'r Nêf i'm Henaid i, a bydded iddo ddifa fy mhechodau i megis poeth-offrwm, fal

na

na lochefo neb-rhyw anwydau llygredig, na dim melldigedig yn fy nghalon i; modd na halogwyf' byth drachefn y lle hwnnw a ddewifaift ti yn Deml i ti dy hûn. Tydi, O wynfydedig Jefu, a fuoft farw i'm gwaredu i oddiwrth bób anwiredd, O na âd i mi fy ngwerthu fy hûn drachefn i weithredu drygioni; ond caniadhá i mi neffau attat y prŷd hyn a llawnfwriadau difigl a difrifol o adnewyddiad hollawl, a gád i mi dderbyn y cyfryw Râs a gallu oddiwrthit ti, fal y gallwyf yn ffyddlon ei cwplhau hwynt: Y mae fy Enaid, O Arglwydd yn griddfan tan amryw bechodau hên cynnefinol [*Yma traetha allan dy lygredigaethau mwyaf.*] Ac er cyhyd y gorweddwyf wrth *Lynn Bethefda*, er mynyched y delwyf i'th fwrdd, etto oni bydd yn wiw gennit ti eftyn allan dy feddyginiaethus rinwedd, nhw a barháan yn waftad heb ei hiachau. O tydi wynfydedig Byfygwr Eneidiau, iachá fi, a chaniadhá fód i mi felly dy gyffwrdd di yr awrhon, fel yr attalio pób ún o'r diferlif ffiaidd hyn yn ebrwydd, ac fal na bo'r clefydau hyn i farwolaeth, ond i ogoniant dy drugaredd yn maddeu, ac i ogoniant dy Râs yn glanhau creadur truan mor halogedig. O Crift, gwrando fi, a chaniadhá fod i mi yr awrhon neffau attat a'r cyfryw oftyngeiddrwydd, cyftudd calon, cariad a Dwywolder, fal y bo'n deilwng gennit ti ddyfod attaf fi, a phreffwylio gydá fi, trwy dy gyfrannogi dy hun i mi, ynghyd a holl haeddedigaethau dy ddioddefaint. Ac yna, O Arglwydd, na fydded i'r ûn o achwynion Satan neu' nghydwybod fy hûn, fy mrawychu na'm cythrwblio i, ond gan fod

gen-

gennif' heddwch, gyda thydi, gâd i mi gael heddwch hefyd ynof fy hun, fal y bo i'r Gwîn hwn lonni, ac y Fara 'r bywyd hwn nerthu fy nghalon i, am gwneuthur i yn abl i redeg ffordd dy Orchymynion. Caniadhá hyn, drugarog Iachawdr, er mwyn dy dofturi a'th ymyfgaroedd dy hûn.

---

# OCHENEIDIAU

## Byrrion i'w harferu wrth

## FWRDD yr ARGLWYDD.

O Arglwydd nid wyfi deilwng i ti i ddyfod tan fy nghronglwyd.

Pechais : pa beth a wnáf i ti, tydi Geidwad dynion?

[*Yma adgoffá rai o'th bechodau mwyaf.*]

Os creffi di ar anwiredd, Arglwydd, pwy a faif?

Ond gyda'r Arglwydd y mae Trugaredd, ac aml ymwared gydag ef.

Edrych, O Arglwydd, ar dy anwyl fâb yn yr hwn yn unic i'th fodlonir.

Gwrando ar lêf ei waed ef, yr hwn fy'n traethu pethau gwell na'r eiddo *Abel*.

Trwy ei ddirfawr ing a'i chwŷs gwaedlid ef, trwy ei grôg a'i ddioddefaint ef, Gwared fi, Arglwydd Daionus.

Oen

Oen Duw yr hwn wyt yn dileu pechodau'r bŷd, caniadhá i mi dy Dangnheddyf.

Oen Duw yr hwn wyt yn dileu pechodau'r bŷd, trugarhâ wrthif.

*Yn ebrwydd o flaen derbyn, dywed.*

TYdi a ddywedaist yr hwn sydd yn bwyta fy ngnhawd, ac yn yfed fy ngwaed a gaiff fywyd tragywyddol. Wele wasanaethydd yr Arglwydd, bydded i mi yn ôl dy Air.

*Wrth dderbyn y Bara, Dywed.*

TRwy dy Gorph Croeshoeliedig di gwared fi oddiwrth gorph y farwolaeth hon.

*Wrth dderbyn y Cwppan, dywed.*

O Bydded i'th waed ti buro fy nghydwybod i oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw.

Arglwydd, os mynni, tydi a elli fy nglanhau.

O Cyffwrdd a mi, a dywed, mynnaf, bydd di lân.

*Gwedi derbyn, dywed.*

BEth a dalaf i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i mi?

Phíol iechydwraeth a gymmeraf, ac ar Enw'r Arglwydd y galwaf.

Teilwng yw'r oen yr hwn a laddwyd i

dderbyn

dderbyn gallu, a chyfoeth, a Doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant a moliant.

Am hynny Moliant, ac anrhydedd, a gogoniant a gallu fyddo iddo ef yr hwn fydd yn eistedd ar yr Orseddfaingc, ac i'r Oen yn dragywydd, *Amen*.

Tyngais, a chyflawnaf, y cadwn farnedigaethau dy Gyfiawnder.

Cynnal fy nherddediad yn dy lwybrau, fel na lithro fy nhraed.

---

## Diolwch ar ôl derbyn y CYMMUN.

O Dduw ffynnon pób daioni oddiwrth ba ûn y mae pób rhodd dda a pherffaith yn dyfod, ac i ba ûn y mae pób anrhydedd a gogoniant yn deilwng, yr wyfi'n chwennych o wir eigion calon ddiolchgar dy fendithio a'th foliannu di am y trugareddau anfeidrol hynny a ganniadhéaist ti i mi: Arglwydd, beth yw dŷn i ti wneuthur cymmaint cyfrif o honaw ac anfon dy anwyl Fâb i ddioddef Penydiau mor echryslon trosto ef? Ond beth wyf fi, O Arglwydd, y gwaethaf o ddynion i mi dderbyn ûn gyfran o'r iawn yma, yr hwn a'i dirmygodd ef a'i ddioddefaint cyn fynyched? O uchder a dyfnder dy drugaredd hon, yn rhoddi cennad i mi i ddyfod i adnewyddu'r Cyfammod hwnnw a thydi, yr hwn a ddarfu i mi cyn fynyched ac mor wrthnyfig ei dorri! i mi,

yr hwn nid wyf deilwng o'r bara beunyddiol sy'n cynnal y Corph, gael bód yn gyfrannog o fara'r bywyd yma sy'n porthi'r Enaid; a bod yn wiw gan y Duw pur Sanctaidd ei gyssylltu ei hun a chreadur mor wael a llygredig! Na âd i mi o hyn allan, O Dduw, yr wyf' yn attolwg i ti, droi dy râs di i drythyllwch, a gwneuthur dy drugaredd di yn achos o ddiogi a seguryd, ond bydded i'th gariad annrhaethadwy hon sy annog i i ufudd-dod, fal gan ddarfod i'm Harglwydd bendigedig farw trosto'i, na bo i mi rhagllaw fuw i mi fy hûn, ond iddo ef: mi a wn, O Arglwydd, nad oes dim cyfeillach rhwng Crist a Belial; gan ddarfod iddo ef weled yn dda gan hynny yr awrhon fyned i mewn i'm Calon i, O na bydded i mi byth gynnwys i unrhyw drachwant ei yrru ef allan oddiyno, ond bid iddo gadw meddiant yno'i yn wastad yr hwn a'm prynnodd i mor ddrûd, ac na fydded i ddim byth fy nghymmeryd i o'i ddwylaw ef. I'r pwrpas hwn rhynged fodd i ti o'th ddaioni wilio trossofi, a'm hamddiffyn i rhag pob cynllwynion fy ngelynion Ysprydol, ond yn enwedig gwared fi oddiwrthif fy hun, sef rhag twyll fy nghalon fy hun, yr hon sydd y rhŷ barod i'w thraddodi ei hun i fynu yn ysglyfaeth. A lle y gweli di fy mód i wannaf naill ai trwy natur ai arfer, yno mi attolygaf i ti fawrygu dy allu i'm hamddiffyn i. [*Yma adrodd dy Brofedigaethau Perycclaf.*] Ac na âd, O Arglwydd, i mi byth anghofio dioddefaint fy Iachawdr tros fy mhechodau i, a'r Addunedau a wnaethum i yr awrhon yn ei herbyn hwynt, ond bydded i goffadwraeth o'r naill

wneuthur

wneuthur i mi gwplhau'r llall, fal na bo i mi byth wneuthur Cyngrair a'r trachwantau hynny a hoeliodd ei ddwylaw ef, a wanodd ei ystlys ef, ac a wnaeth ei Enaid ef yn drwm hyd angeu. Ond gan ddarfod i mi yn awr fy nhraddodi fy hun o newydd tan ei faner ef, bydded i mi ymladd yn wrol, a dilyn Capten fy Iechydwraeth, iè trwy fôr o waed. Cynnal di i fynu, O Arglwydd, fy nwylaw llaesedig, a'm gliniau diffrwyth, fel na ddeffygwyf yn yr ymdrech hon; O bydd di yn gadernid i mi yr hwn nid wyf abl o honof fy hûn i ymdrechu a'r Profedigaethau gwaelaf. Mor fynych y tròis i fy nghefn yn nydd y frwydr? Pa sawl un o'r Addunedau Sacramentaidd hyn a dorrais i? Ac y mae gennifi etto, O Arglwydd, yr ûn galon anwadl dwyllodrus i'm bradychu i i dorri hon hefyd: O tydi yr hwn wyt Iè, ac Amen, ym mha ûn nid oes dim cysgod troedigaeth, dyro i mi yr wyf' yn attolwg i ti, y cyfryw ddianwadalwch meddwl, fal no bo i mi rhag llaw ysgogi fel bŵa twyllodrus, ond gan fod am calon yn sefydlog gydá thydi y gallwyf barhau yn ddilys yn dy Gysammod; fal na bo i unrhyw amcan da a gynnhyrfodd dy Yspryd ti o'm mewn i y dydd heddyw ddiflannu, fal y gwnaeth cynnifer o'r blaen, ond bod iddynt ddwyn ffrwyth i fywyd tragywyddol. Caniadhá hyn, O drugarog Dâd, trwy haeddedigaethau a chyfryngdod fy Iachawdr Croeshoeliedig, *Amen.*

*Gweddi o Gyfryngiad i'w harferu cyn neu gwedi derbyn y Cymmun.*

O Arglwydd grasusaf, yr hwn a geraist ddynol ryw mor dynner a rhoddi dy anwyl Fâb o'th fonwes i fód yn iawn am bechodau'r holl fŷd, caniadhá fód rhinwedd y Prynedigaeth hwn mor ehang a chyffredinol ac yr amcanwyd ef, fel y bo fo er Iechydwraeth i bób dŷn. O na bydded i neb o ddiffyg edifeirwch fforffedio ei gyfran ynthi hi, ond trwy allu dy Râs dŵg bawb, iè'r pechaduriaid gwrthryfelgaraf i edifeirwch. Goleua bawb sy'n eistedd mewn tywyllwch, sef, Iddewon, Tyrciaid, Paganiaid, ac Hereticiaid, tynn oddiwrthynt bob dallineb, caledwch calon, a dirmyg o'th Air, ac felly dwg hwynt adref, O Arglwydd, i'th gorlan di, fal y bónt gadwedig ymysg nifer y gwîr Israeliaid. Ac am y rhai sy 'n dwyn Enw dy Fâb arnynt, caniadhá, O Arglwydd, fód ei hymarweddiad hwynt yn gyfryw ac a weddai i Efengyl Crist, fal na chabler ei Enw ef mwyach ymysg y Cenhedloedd o'i plegid hwynt. O Arglwydd bendigedig, pa hŷd y pery Créd yn ran ffieiddiaf o'r byd, yn geuffos o'r llygredigaethau atgas hynny y rhai y mae hyd yn oed y Paganiaid yn ei ffieiddio? Och na fydded yn wastad gymmaint cyfwng rhwng ein Proffes a'n hymarweddiad; Na fydded discyblion yr Jesu Sanctaidd ddifrecheulid yn anad pawb eraill yn fwyaf aflan ac halogedig. Na fydded deiliaid Twysog Tangnheddyf yn anad neb yn fwyaf ymryssongar a gwaedlid; ond gwná ni yn Gristianogion

mewn

mewn gwirionedd yn gyſtal ac mewn Enw, ſal y gallon ni rodio yn deilwng o'r alwedigaeth Sanctaidd honno i'n galwyd iddi, ac y gallon ni ei gŷd ac ûn meddwl, ac ag ûn galon dy Ogoneddu di Tâd ein Harglwyad Jeſu Griſt. Trugarhá wrth yr Eglwys léſg hon, edrych i lawr o'r Neſoedd preſſwylſa dy Sancteiddrwydd a'th Ogoniant: pa le y mae dy zêl, a'th Gadernid, ſain dy drugareddau a'th ymyſgaroedd tu ac attom ni? A attalwyd hwynt? Na chofia, Arglwydd, ein anwiredd, ac na ddigia wrthym yn dragywydd; ond er bód ein troſſeddiadau ni yn aml, a gwrthryſelu o honom yn ddirſawr i'th erbyn etto yn ôl dy ddaioni ymchweler dy ddigoſaint a'th lidiawgrwydd oddiwrthym, a thywynned dy wyneb ar dy Gyſſegr yr hon ſy'n anghyſannedd, er mwyn yr Arglwydd; ac felly gwahana rhyngom ni a'n pechodau, ſal na wahanon nhw rhyngom ni a'n Duw. Cadw ac amddiffyn holl Griſtianus Frenhinoedd, Tywyſogion, a Llywiawdwŷr, yn enwedig y rhai yr ydyn ni yn ddeiliaid iddynt; dadleu di ei dadl hwynt, O Arglwyd, yn erbyn y rhai a ymddadleuant i'w herbyn, ac ymladd di yn erbyn y rhai a ymladdant a hwynt, ac felly arwain a chymmorth hwynt, i gwplhau 'r ſwydd honno i ba ûn yr ordeiniaiſt ti hwynt, ſal tanynt hwy y gallom ni ſyw yn llonydd ac yn heddychol trwy bób Duwioldeb ac honeſtrwydd. Bendithia y rhai ſy 'n gweini wrth dy Allor di, agor di ei gweſuſau hwynt, fel y mynego ei geneuau dy ſoliant; O na rodder goleuni 'r bŷd tan leſtr, ond goſod hwynt yn ei canhwyll-brennau, ſal y goleuant i bawb'ſy yn

y tŷ. Na haloged offeiriadau *Jeroboam* dy wasnaeth di, ond bydded i hâd *Aaron* weini yn wastad ger dy fron di. Ac O Dâd y Trugareddau, a Duw pob Diddanwch, cymmorth a diddana bawb a'r sydd mewn cystudd, a gwared y truan a'r anghenus, cynnorthwya di y rhai sydd yn dioddef cam, deued ochenaid ofidus y Carcharion ger dy fron, ac yn ôl mawredd dy allu amddiffyn di y rhai a ordeinwyd i farw; dyro esmwythdra i'r cystuddiedig, a chynnorthwya 'r anghenus, a channiadhá i bób pechadur rhyfygussod yn deimladwy o'i bechodau, ac i bób ûn gwan-obeithiol, gansod dy drugareddau di, a gwna di, O Arglwydd, i bawb tu hwnt i'r cwbl a allont ei ofyn, neu feddwl am dano. Maddeu i'm gelynion, erlyn-wŷr, ac ysclandr-wŷr, a thrôa eu calonnau. Tywallt dy Fendithion ar fy holl gyfeilliaid a'm cefnefeifiaid, ac ar bawb a'i gorchymynnasant ei hunain i'm Gweddiau i. [ *Yma di a elli henwi dynion neillduol.* ] A chaniadhá, O Dâd trugarog, fôd i ni oll trwy 'r Gwaed hwn y Groes gal ein cyfllwyno yn bûr, yn ddifai, ac yn ddiargyoedd yn dy olwg di, modd y gallon ni gael ein derbyn i mewn i'r lle hwnnw o burdeb, lle ni ddichon dim aflan fyned i mewn iddo, yno i ganu tragywyddol Foliant i'r Tâd, i'r Mâb, a'r Yspryd glân yn oes oesoedd.

*Gweddi yn amser Erlidiau Cyffredinol.*

O Iachawdr Bendigedic, yr hwn a wnaethôst y Groes yn nôd o'th Ddiscyblion di,

di, gwná fy yn abl, yr wy'n attolwyg i ti, i'w chofleidio hi yn llawen ac yn ewyllysgar; ti a weli, O Arglwydd, fy môd i gwedi syrthio ar ddyddiau ymmhâ rai y mae y rhai a ymadawo a drwg yn ei wneuthur ei hûn yn ysglyfaeth; O gwná i mi fód mor barod i ddodi i fynu fy holl berthynasau oddiallan, pan fo fy Ufudd-dod i ti yn gofyn hynny, fal y gallo'r peth a ddychwelo yn ysglyfaeth i ddynion, fod trwot ti megis yn Aberth gymmeradwy i Dduw: cynnal fi, O Arglwydd, felly trwy dy Râs, fel na ddioddefwyf byth megis drwg-weithredwr, ac yna, O Arglwydd, os fy nghyfran a fydd dioddef megis Cristion, na fydded i mi gywilyddio, eithr gorfoleddu am fy nghyfrif yn deilwng i ddioddef er mwyn dy Enw di: O tydi yr hwn er fy mwyn i a ddioddefaist y Groes, ac a ddiystyraist wradwydd, bydded i siampl y Cariad a'r ammynedd hwnnw orfod yn erbyn holl gynnhyrfiadau brawychus fy nghalon lygredig, fal na allo dychryniadau yn y bŷd fyth ysgogi fy ngwastadrwydd i, ond er cyhyd y goddefi di i wialen yr annuwiol orphwys ar fy nghefn i, etto na bo i mi byth erfyn fy llaw at annuwioldeb. Ti a adwaenost O Arglwydd, fy nesnydd i, ac wyt yn cofio nad ydwyf' ond cnawd, ac y mae Cnawd yn cilio yn ôl pan fo rhyw beth gofidus yn nessau. Dy Yspryd ti yn unic a ddichon fy nghynnal i i fynu, o cymmorth fi a'th hael yspryd, fel na flinwyf' ac na lwfrháwyf' yn fy meddwl. A pho mwyaf y canfyddi di fy ngwendid i, amlyga di o hynny yn fwy dy allu ynof, a gwná i mi, O Arglwydd, ym mhób rhyw Brofedigaethau

edrych yn ddisigl arnat ti, awdur a pherffeithudd fy ffydd, modd y gallwyf redeg yr yrfa a osodwyd o'm blaen i, a gwrthwynebu, iè hyd at waed, gan ymdrechu yn erbyn pechod. O Wynsydedig Jesu, gwrando fi, ac er bod Satan yn chwennych fy nghael i i'm nithio fel gwenith, eto gweddía di, O Cyfryng-wr bendigedig, trossof fi na ddiffygio fy ffydd i, eithr er ei brofi ef trwy dân, caffer ef er mcwl, ac anrhydedd a gogoniant ar dy ymddangosiad ti. A chaniadhá, O Arglwydd, yr wyf' yn attolwg i ti, fod i mi gynnal nid yn unic ddianwadalwch tu ac at Dduw, eithr Cariad hefyd tu ac at ddynion, iè tu ac at y rhai hynny a oddefi di i fòd yn offerau o'm herledigaeth a'm trueni i:, bydded i mi, O Arglwydd, ddilyn Esampl dy Laryeidd-dra ryfeddol di, yn caru ac yn gweddio tros dy Erlid-wŷr mwyaf; a gorchfyga di, O Arglwydd, ei holl ddrwg hwynt a'th anfeidrol ddaioni, ymchwel ei Calonnau hwynt, a dwg hwynt trwy dy allu attat dy hun, ac o'r diwedd derbyn fi a'm gelynion hefyd i'r trigfannau hynny o Dangnheddyf ac Esmwythdra, lle yr wyt ti yn llywodraethu gyd 'r Tâd, a'r Yspryd glân, yn ûn Duw yn oes oesoedd.

### *Gweddi yn amser Adfyd.*

O Arglwydd cyfiawn a sanctaidd, yr hwn wyt yn cospi dyn a cheryddon am anwiredd, yr wyf fi 'n ddiffúant yn deisyf fy ymddarostwng fy hun tan dy law gadarn di, yr hon sydd yr awrhon yn gorwedd yn drom arnafi; yr wyf fi yn ddifrifol yn cynabod, O Arglwydd, nad

nad yw beth bynnag a wnelwyf neu a ddioddefwyf fi ond dyledus wobr fy ngweithredoedd i, ac am hynny yn dy geryddon tostaf rhaid i mi ddywedyd, Cyfiawn wyt ti, O Arglwydd, ac iniawn yw dy farnedigaethau. Ond yr wyfi'n attolwg i ti, O Arglwydd, mewn barn gofio am drugaredd, ac er darfod i'm pechodau i dy annog di i daro, etto ystyria fy ngwendid i, ac na âd i'th wialennodiau fod yn drymmach neu yn fwy parháus nag y gweli di fód yn fuddiol i'm Henaid i; Cospa fi, ond a cheryddon Tâd, nid ag archollion gelyn, ac er na thynni di ymmaith dy wialen, etto tynn ymmaith dy lidiawgrwydd. Arglwydd na ffieiddia fy Enaid i, ac na fwrw dy wâs heibio mewn digofaint, ond maddeu fy mhechodau 'r wyf' yn attolwg i ti; ac os wyt ti etto yn dy Dadol ddoethineb, yn gweled yn gymwys hwyhau dy gospedigaethau, dy Ewyllys bendigedig di fytho; yr wyf yn fy nhaflu fy hun, O Arglwydd, wrth dy draed ti, gwná a fi fel y gweloch di yn dda. Prawf fi fel y profir arian, am y dŷgi di fi allan yn bûr. A gwnâ, O Arglwydd, i'm Cnawd hefyd ymfodloni i hyn, fel na bo dim ynof fi a wrthryfelo yn erbyn dy law, ond gwedi darfod i mi oresgin yn hollawl bob rhyw feddyliau gwrwgnachol, y gallwyf yn llawen yfed o'r Cwppan hwn. Ac er chwerwed y gweli di, O Arglwydd, yn dda ei gwneuthur hi, bydded yn feddiginiaeth i iachau holl ddoluriau fy Enaid i, fel y bo iddo ddwyn ynof heddychol ffrwyth cyfiawnder: modd y bo i'r cystuddiau gwael hyn, y rhai nid ydynt ond tros amser byrr, weithredu i mi ragorol a thragywy-

gywy-

gywyddol bwys gogoniant trwy Jesu Grist, *Amen.*

### *Diolwch am Ymwared allan O Adfyd*

O Arglwydd bendigedic, yr hwn wyt rasslawn a thrugarog, hwyrfrydic i lîd, a mawr o drugarogrwydd, ac yn edifeiriol am ddrwg, yr wyfi 'n cydnabod yn ddiolchgar o'th flaen di na wnaethost ti a fi yn ôl fy mhechodau, ac na obrwyaist fi yn ôl fy anwireddau. Fe haeddodd fy ngwrthryfelgarwch i, O Arglwydd, ei fflangellu a Scorpionau, ond tydi a'i ceryddaist hwynt yn unic a gwialen dadol esmwyth; ac ni oddefaist i mi ychwaith orwedd yn hir tan honno, ond a roddaist mewn prŷd ymwared grasusol o'm holl gystuddiau. Mi a orfoleddaf, Arglwydd, ac a lawenychaf yn dy drugaredd, canys tydi a ystyriaist fy helbul, ac a adnabuost fy Enaid mewn cyfyngder. Tidi a archollaist, a thydi a'm hiachêaist i; o bydded i'th amryw Ragluniaethau hyn gael ei priodol effeithiau ar fy Enaid i, modd y gallwyf fi yr hwn a deimlais chwerwder dy geryddon, ofni ac nid pechu, ac fel y gallwyf fi yr hwn hefyd a deimlais rasslawn atgyweiriad dy drugaredd, fód a'm calon gwedi ei derchafu yn lonn, a'i chyssylltu a thydi yn y rhwymedigaethau cadarnaf o Gariad, ac fel y gallwyf trwy bób ûn gael fy nghadw mewn parhaus a chyflawn ufudd-dod i ti tros fy holl ddyddiau, trwy Jesu Grist.

CYFAR-

# CYFARWYDDIAD am amser CLEFYD.

*PAn ganfyddych dy fod yn Glâf*, *cofia yn ebrwydd mai Duw* sydd yn cospi dŷn a cheryddon am anwiredd. *Am hynny chwilia allan yn gyntaf beth sydd yn ei annog ef i'th gospi di*, *ac i'r Pwrpas hwn Prawf dy galon dy hun*, *chwilia yn ddyfal pa euogrwydd sydd yno*, *cyffessa dy bechodau yn ostyngedig ac yn edifeiriol o flaen Duw*, *ac er mwyn siccrwydd gwell*, *adnewydda dy edifeirwch am holl hên bechodau dy fuchedd o'r blaen*, *erfyn yn daer ac yn ddifrifol ei drugaredd ai Faddeuant yn Grist Jesu*, *ac ymróa yn ddiffúant i ymadel a phób rhyw ffordd bechadurus rhag llaw*. *A rhag i'th galon dy hûn dy dwllo di mewn achos mor bwysfawr*, *da fydd i ti ddanfon am ryw* Ddifinydd *duwiol*, *nid yn unic i'th gynnorthwyo di a'i Weddiau*, *ond a'i gynghorion hefyd*. *Ac i'r Pwrpas hwnnw agor dy galon mor eglur wrtho ef*, *modd y gallo ef farnu a ydyw dy Edifeirwch yn gyfryw ac a rydd i ti hyfdra i ymddangos ger bron gorseddfaingc ofnadwy Duw*, *os amgen*, *fel y gallo ef* (*i'w allu*) *dy gynnorthwyo di i'w gwneuthur hi felly*. *A chwedi i ti fal hyn ddarparu i'th ran oreu*, *sef dy Enaid*, *yna ystyria dy Gorph hefyd*, *ac megis y dywed y gwr Doeth*, Ecclus. 38. 12. Dód le i'r meddyg, oblegid yr Arglwydd a'i creawdd ef: *Arfera'r cyfryw foddion ac a fo tebyccaf i atgyweirio dy iechyd*, *ond cofia yn wastad mai oddiwrth Dduw y bydd raid i'r ffynniant o*

*honynt*

*honynt ddyfod; a gochel bechod* Asa *yr hwn ni* cheisiodd yr Arglwydd yn ei glefyd, ond y meddygon, 2 *Cron.* 16. 12. *Trefna hefyd dy achosion bydol mewn pryd, trwy wneuthur dy* Ewyllys, *a gosod pob peth yn y cyfryw drefn ac y mae yn dy fryd di ei gadael hwynt, ac na oeda hynny nes i'th glefyd drymhau, oblegid ysgatfydd ni bydd dy* Reswm *di y pryd hynny mor gymwys, neu os bydd, fe fydd fwy cyfaddas i ti yr amser hwnnw fyfyrio am bethau uwch, sef am y byd yr wyt ti yn myned iddo, yn hyttrach na'r hwn yr wyt ti yn ei adael o'th ôl: nid allwn ni ddwyn pethau 'r byd hwn gydâ ni pan elon ni oddiyma, ac nid yw weddaidd i ni ddwyn meddyliau o honynt. Am hynny trefna y pethau hynny mewn pryd, fel na rwystro nhw mo honot ti yn y diwedd.*

## *Gweddi tros Ddyn Clâf.*

O Arglwydd Trugarog a chyfiawn, Duw'r iechyd a chlefyd, bywyd ac angeu, yr wyf fi yn cydnabod yn ddiffuant, mae fy nirfawr gam-arfer i o'r llaweroedd o ddyddiau hynny o iechyd ac hawddfyd a ganniadhéaist, ti i mi a haeddodd yn dra-chyfiawn dy ymweliad presennol. Yr wyti 'n deifyf, O Arglwydd, yn ostyngedig ymfodloni i'r gospedigaeth hon am fynghamwedd, a dwyn cerydd yr Arglwydd yn ammyneddgar, oblegid i mi bechu yn ei erbyn ef. Ac, O Dad Trugarog, yr hwn nid wyt yn amcanu dinistr uo d gwellhâad y rhai yr wyt ti yn ei fflangellu, yr wyf fi yn attolwg i ti trwy dy Râs felly

ond

Sancte-

Sanctciddio dy gerydd hon i mi fal y bo y Clefyd ymma o'm Corph i yn foddion o iechyd i'm henaid ; gwnâ i mi yn ddiwyd chwilio fy nghalon, a chynnorthwya di fi, O Arglwydd, i ddadcuddio pôb rhyw ddiofrydbeth, er dirgeled y cuddir ef yno, fal trwy ei fummudiad ef ymmaith oddi yno, y bo i mi wneuthur lle i fummudiad y gofpedigaeth hon oddiwrthif. Jachá fy Enaid , O Arglwydd, yr hwn a bechodd i'th erbyn , ac yna os dy ewyllys bendigedig di yw hynny, iachá fy nghorph hefyd ; Edfryda lêf gorfoledd ac iechyd i'm prefſwylfa, modd y gallwyf fyw i'th foliant di, a dwyn ffrwythau addas o Edifeirwch. Ond os trefnaift ti yn amgenach yn dy Ddoethineb, ac os rhag-ordeiniaift ti i'r Clefyd hwn i fód i farwolaeth, yr wyfi yn attolwg i ti fy nghymwyfo a'm paratoi i i hynny, dód i mi yr Edifeirwch difrifol a diffûant hynny, i ba ûn yr addewaift ti drugaredd a maddeuant ; diddyfna fy nghalon i oddiwrth y bŷd a'i holl wagedd darfodedig, a gwná i mi hiraethu am y llawenydd mwy godidog a pharháus hynny fydd ar dy ddeheulaw di yn dragywydd. Arglwydd, derchá di lewyrch dy wyneb arnafi, ac yn holl gyftuddiau fy nghorph, ac ing fy yfpryd, bydded dy Ddiddanwch di i gyffuro fy Enaid, a gwná i mi ddifgwyl yn ammyneddgar hyd oni ddelo fy nghyfnewidiad. A chaniadhá O Arglwydd, pan ddattodir fy naiarol dŷ o'r Babell hon, fód i mi gael Adeilad Duw, tŷ nid o waith llaw, trgywyddol yn y Nefoedd, a hynny er ei fwyn ef, yr hwn a bwrcafodd hynny i mi fef Jefu Grift *Amen.*

## *Diolch am gaffaeliad Iechyd.*

O Arglwydd grasusol, Duw ysprydion pób Cnawd, yn llaw pa ûn y mae sy amser i, yr wysi yn dy foliannu ac yn dy fawrygu di, am iti o Gariad i'm henaid sy achub i o bydew llygredigaeth, a rhoddi i mi iechyd trachesn; tydi yn unic, O Arglwydd, a gedwaist sy mywyd rhag dinistr, tydi a'm cospaist, ac a'm ceryddaist i, ond ni'm rhoddaist i i synu i farwolaeth, O bydded i'r bywyd hwn yr hwn a waredaist ti mor rasusol fód yn hollawl wedi ei gyssegru iti. Wele si ymma, Arglwydd, trwy dy drugaredd gwedi sy iachau, O gwná i mi edrych yn ofalus rhag pechu mwyach, rhag digwydd i mi beth a fo gwaeth. Na âd, Arglwydd, i'r hamdden ymma a ganiadhéaist ti ti i mi yr awrhon sy ngwneuthur i yn esgeulus, gan feddwl fód sy Arglwydd yn oedi ei ddyfodiad, ond caniadhá i mi, yr wyf yn attolwg i ti, wneuthur iawn ddeunydd o'th hîr-ymaros di, a threulio felly bób munudyn o'r amser a roddi di i mi, fal y gallwyf fod mewn hyfder pan ymddangosech di, ac na'm gwradwydder ger dy fron ar dy ddyfodiad. Mi a welais, O Arglwydd wrth y nessáad ymma tu ac at angeu mor echryslon yw ein cymmeryd yn ammharod; O bydded hynny yn rhybudd gwastadol i mi i wilio am ddyfodiad sy Arglwydd. A phan ymddengys mwyniant pechod i'm llithio i, O gwná i mi gofio mor chwerwon fyddant yn y diwedd. Gwrando si, O Arglwydd, ac megys yn dy anfeidrol drugaredd y caniadheaist i mi amser, felly caniadhá

adhá i mi hefyd râs i weithio allan fy Iechydwraeth, i baratoi olew yn fy llusern, fel pan ddelo'r Priodfáb y gallwyf fyned gydág ef i'r Briodas. Canhiadha hyn, yr wyf' yn attolwg i ti, er mwyn dy anwyl Fâb.

*Gweddi ym-mron Angeu.*

O Dragywyddol a byth-fywiol Dduw, yr hwn ar y cyntaf a anadlaist anadl bywyd i ddŷn, a phan gymmeri di ymmaith yr anadl hwnnw y mae fe'n trengu ac yn dychwelyd i'w lŵch trachefn, edrych yn dosturiol arna'i dy Greadur truan yr hwn wyf yr awrhon yn nessau at byrth angeu, a pheth sydd anfeidrol yn fwy gerwin, at Orsedd Barn; Y mae fy nghalon fy hun, O Arglwydd, yn fy euog-farnu i, ac yr wyt ti yn anfeidrol yn fwy na'm calon, ac yn gwybod pob peth. Y mae'r pechodau yr wyfi yn ei hadnabod ac yn ei cofio, yn fy llenwi i a dychryn; ond y mae hefyd liaws o rai eraill, y rhai naill ai ni ddeliais i sulw arnynt pan wnaed hwynt, neu a anghofiais i gwedi hynny yn ddiofal, y rhai ydynt oll yn bresennol gydá thydi. Yr wyti yn gosod fy anwireddau ger dy fron, fy nirgel bechodau yn goleuni dy wyneb; ac i ba bentwrr mynyddaidd y cysyd fy mhechodau munudol tros gynnifer o flynyddoedd? Pa fodd y saif ûn mor annuwiol yn dy farn di, neu'r cyfryw bechadur ynghynnulleidfa 'r cyfiawn? Ac i anghwanegu etto at fy nychryn, mae arna'i ofn na oddef fy Edifeirwch i mor prosiad; fy mynych ail-gwympiadau i a dystiolaethasant yn helaeth ffûg fy Addunedau o'r blaen. Ac

yna,

yna, O Arglwydd, beth a all fy ficcrhau i nad yw fy nghafineb prefennol o'm pechodau yn hyttrach yn tarddu oddiwrth fy enbydrwydd dychrynadwy, nag oddiwrth ûn wir gyfnewidiad calon? Ac mi a wn, O Arglwydd, na fynni di moth watwor, ac na dderbyni di ddim ond fydd yn hollawl yn ddiffugiol. Pan yftyrwyf hyn, O Arglwydd, y mae ofn a dychryn yn dyfod arna'i, ac arfwyd echryflon yn fyngorchguddio, y mae fy nghnawd yn crynu rhag dy ofn di, a'm calon yn archolledig ynof. Ond, O Arglwydd, y mae'r naill ddyfnder yn galw ar y llall, dyfnder fu nhrueni i ar ddyfnder dy Drugaredd di; Arglwydd achub yr awrhon neu fe ddarfu am danaf yn dragywydd. O ni chwennychi di fód néb yn golledig, ond dyfod o bawb i Edifeirwch, dwg fi yr wyf' yn attolwg i ti, er mor ddiweddar, i ddifrifol Edifeirwch, y cyfryw ac a fo cymmeradwy genniti, yr hwn wyt yn profi'r galon. Créa ynof, O Dduw, galon lân, ac adnewydda yfpryd union o'm mewn: O Arglwydd, y mae ûn dydd gyda thydi megis mîl o flynyddoedd, Gweithied dy Yfpryd nerthol ynofi yr awrhon, yn fy nydd diweddaf hwn, beth bynnag a weli di yn ddiffygiol i'm cymhwyfo i i'th drugaredd a'th gymmeradwyaeth di. Dyro i mi gaffineb perffaith hollawl o'm pechodau, a gwná fi yn abl i brefentio i ti yr aberth honno o galon ddrylliog gyftuddiedig, yr hon a addewaift ti na ddirmygit; fal trwy hon y gallwyf fod yn gymwys i dderbyn yr iawn hwnnw a wnaeth dy garedig Fâb trwy ei offrymmiad mwy rhagorol ei hunan tros bób pechaduriaid edifeiriol. Efe yw 'r iawn tros ein pechodau

ni,

ni, efe a archollwyd am ein camweddau ni, ac a ddrylliwyd tros ein hanwireddau ni, arno ef y rhoddwyd Cospedigaeth ein heddwch ni; O iachâ fi trwy ei gleifiau ef, a bydded i lêf ei waed ef foddi bloedd fy mhechodau i. Plentyn digofaint yn wir ydwyfi, ond efe yw Mâb dy Gariad, er ei fwyn ef arbed fi, Arglwydd, arbed dy Greadur a brynnaist a'th werthfawr waed, ac na ddigia wrthif yn dragywydd. Yn ei archollion ef, O Arglwydd, yr wyf' yn cymmeryd fy nghyssegr, O na erlidied dy ddíal di fi i'r ddinas hon o noddfa: Y mae fy Enaid yn glynu wrtho ef, O na ddarfydded am danaf i ac a Jesu, ac a Iachawdr yn fy mreichiau. Ond trwy ei ddirfawr ing a'i chwys gwaedlid ef, trwy ei Grôg a'i Ddioddefaint, trwy'r cwbl a wnaeth ac a ddioddefodd ef tros bechaduriaid, Gwared fi Arglwydd daionus; Gwared fi, yr wyf' yn attolwg i ti, oddiwrth gyflog fy mhechodau, dy lîd ti, a damnedigaeth tragywyddol, yn awr yn amser fy nhrueni, yn awr Angeu ac yn nydd y Farn. Gwrando fi, O Arglwydd, gwrando fi, ac na wrthod fi yn yr amser ymma o'm hangen mwyaf, am i mi esgeuluso dy alwad ti o'r blaen. Nid oes, O Arglwydd, ond cam rhyngo'i ac angeu, O na fachluded fy Haul ar dy ddigofaint di, ond felia fy mhardwn cyn i mi fyned oddiyma ac na'm gwelir mwy. Y mae dy garedigrwydd di yn well na'r bywyd, O gâd i mi gael honno yn gyfnewid, ac yna myfi a osodaf i lawr yn drahyfryd y bywyd marwol hwn. Tydi, Arglwydd, a adwaenost fy neisyfiad, a'm griddfan nid yw guddiedig rhagori; gwná a fi, O Ar-

glwydd, yn ôl dy drugaredd, canys melus yw dy drugaredd; tynn ymmaith golyn Angeu, euogrwydd fy mhechodau, ac yna er i mi rodio trwy ddyffryn cysgod angeu nid ofnaf ddim drwg; mi a orweddaf i lawr mewn Tangnheddyf, a phan ddeffrówyf, Arglwydd, digoner fi a'th bresennoldeb yn dy Ogoniant. Caniadhâ hyn, Drugarog Dduw, er ei fwyn ef yr hwn yw Pryniawd-wr a Chyfryngwr dros bechaduriaid, sef Jesu Grist.

## PSALMAU.

ARGLWYDD, na cherydda fi yn dy lidiawgrwydd, ac na chospa fi yn dy ddigofaint.

Nid oes iechyd yn fy nghnawd o herwydd dy ddigllonedd: ac nid oes heddwch i'm hescyrn oblegid fy mhechodau.

Canys fy nghamweddau a aeth dros fy mhen; megis baich trwm y maent yn rhŷ drwm i mi.

Fy nghleisieu a bydrasant ac a lygrasant gan fy ynfydrwydd.

O herwydd pa ham y pallodd fy Yspryd ynof; ac a synnodd fy nghalon o'm mewn.

Fy mhechodau a'm daliasant fel na allwn edrych i fynu; amlach ydynt na gwallt fy mhen, am hynny y pallodd fy nghalon gennif.

Eithr ti, O Arglwydd, wyt Dduw trugarog, a graslawn; hwyrfrydic i lîd, a helaeth o drugaredd a gwirionedd.

Dychwel attafi a thrugarhâ wrthif, canys unig a thlawd ydwyfi.

Os

Os creffi di ar anwireddau, Arglwydd : O Arglwydd, pwy a saif?

Na chofia bechodau fy ieuengctid, na'm camweddau; ond yn ôl dy drugaredd meddwl di am danaf, yn ôl dy ddaioni, Arglwydd.

Edrych ar fy helbul a'm trueni a maddeu fy holl gamweddau.

Na chuddia dy wyneb rhag dy wâs, canys cyfyng yw arnafi; o bryssia, a gwrando fi.

O'r dyfnder yr wyf'n yn galw arnat, Arglwydd, gwrando fy llefain.

Dychwel, Arglwydd, a gwared fy Enaid; O achub fi er mwyn dy drugareddau.

Nag ymbellhâ oddiwrthif, canys trueni sydd yn agos, ac nid oes Cynnorthwy-wr.

Yr wyf' yn estyn fy nwylaw attat, 'mae fy Enaid yn hiraethu am danat megis tîr crâs sychedig.

Nessâ at fy Enaid ag achub ef, O gwared fi oblegid fy ngelynion.

Canys y mae fy Enaid yn llawn blinder; a'm bywyd sydd yn nessau i'r beddrod.

Achub fi rhag safn y Llew : gwrando arnafi o blîth cyrn Unicorniaid.

Gosod fi ar graig sydd uwch na myfi, canys ti yw fy ngobaith, am Twr cadarn rhag wyneb y gelyn.

Pa ham i'th ddarostyngir fy Enaid? A pha ham y terfysci ynof?

Ymddiried yn Nuw, canys etto y moliannaf ef, sef, iecydwraeth fy wyneb.

Yr Arglydd a gyflawna ei garedigrwydd a mi, iè, dy drugardd O Arglwydd sy'n parhau'n dragywydd; na ddirmyga waith dy ddwylo.

glwydd, yn ôl dy drugaredd, canys melus yw dy drugaredd; tynn ymmaith golyn Angeu, euogrwydd fy mhechodau, ac yna er i mi rodio trwy ddyffryn cysgod angeu nid ofnaf ddim drwg; mi a orweddaf i lawr mewn Tangnheddyf, a phan ddeffrówyf, Arglwydd, digoneler fi a'th bresennoldeb yn dy Ogoniant. Caniadhâ hyn, Drugarog Dduw, er ei fwyn ef yr hwn yw Pryniawd-wr a Chyfryngwr dros bechaduriaid, sef Jesu Grist.

## PSALMAU.

ARGLWYDD, na cherydda fi yn dy lidiawgrwydd, ac na chospa fi yn dy ddigofaint.

Nid oes iechyd yn fy nghnawd o herwydd dy ddigllonedd: ac nid oes heddwch i'm hescyrn oblegid fy mhechodau.

Canys fy nghamweddau a aeth dros fy mhen; megis baich trwm y maent yn rhŷ drwm i mi.

Fy nghleisieu a bydrasant ac a lygrasant gan fy ynfydrwydd.

O herwydd pa ham y pallodd fy Yspryd ynof; ac a synnodd fy nghalon o'm mewn.

Fy mhechodau a'm daliasant fel na allwn edrych i fynu; amlach ydynt na gwallt fy mhen, am hynny y pallodd fy nghalon gennif.

Eithr ti, O Arglwydd, wyt Dduw trugarog, a graslawn; hwyrfrydic i lîd, a helaeth o drugaredd a gwirionedd.

Dychwel attafi a thrugarhâ wrthif, canys unig a thlawd ydwyfi.

Os

Os creffi di ar anwireddau, Arglwydd : O Arglwydd, pwy a saif?

Na chofia bechodau fy ieuengctid, na'm camweddau; ond yn ôl dy drugaredd meddwl di am danaf, yn ôl dy ddaioni, Arglwydd.

Edrych ar fy helbul a'm trueni a maddeu fy holl gamweddau.

Na chuddia dy wyneb rhag dy wâs, canys cyfyng yw arnafi; o bryssia, a gwrando fi.

O'r dyfnder yr wyf'n yn galw arnat, Arglwydd, gwrando fy llefain.

Dychwel, Arglwydd, a gwared fy Enaid; O achub fi er mwyn dy drugareddau.

Nag ymbellhâ oddiwrthif, canys trueni sydd yn agos, ac nid oes Cynnorthwy-wr.

Yr wyf' yn estyn fy nwylaw attat, 'mae fy Enaid yn hiraethu am danat megis tîr crâs sychedig.

Nessâ at fy Enaid ag achub ef, O gwared fi oblegid fy ngelynion.

Canys y mae fy Enaid yn llawn blinder; a'm bywyd sydd yn nessau i'r beddrod.

Achub fi rhag safn y Llew : gwrando arnafi o blîth cyrn Unicorniaid.

Gosod fi ar graig sydd uwch na myfi, canys ti yw fy ngobaith, am Tŵr cadarn rhag wyneb y gelyn.

Pa ham i'th ddarostyngir fy Enaid? A pha ham y terfysci ynof?

Ymddiried yn Nuw, canys etto y moliannaf ef, sef, iecydwraeth fy wyneb.

Yr Arglydd a gyflawna ei garedigrwydd a mi, iè, dy drugardd O Arglwydd sy'n parhau'n dragywydd; na ddirmyga waith dy ddwylo.

ODDUW, ti yw fy Nuw, yn foreu i'th geisiaf.

Y mae fy Enaid yn sychedu am danat, fy nghawd hefyd yn hiraethu am danati', mewn tîr crâs sychedig heb ddwfr.

Fel y brefa 'r hŷdd am yr afonydd dyfroedd, felly yr hiraetha fy Enaid am danati, O Dduw.

Y mae fy Enaid yn sychedig am Dduw, am y Duw byw, pa brŷd y deuaf ac yr ymddangosaf ger bron Duw?

Mor hyfryd yw dy drigfa, O Arglwydd y Lluoedd!

Fy Enaid a hiraetha, iè ac a flysia am gynteddau 'r Arglwydd: fy nghalon am cnawd a lawenychant yn y Duw byw.

O na bai i mi adenydd fel Colommen: yna yr ehedwn ymmaith ac y gorphywyswn.

Anfon dy oleuni a'th wirionedd, tywysant hwy fi ac arweiniant fi i fynydd dy Sancteiddrwydd, ac i'th bebyll.

Canys gwell yw diwrnod yn dy gynteddau di na mil.

Dewisswn cadw drŵs yn nhŷ fy Nuw, o flaen aros ym mhebyll anghyfiawnder.

Deffygiasswn pe na chredasswn weled daioni 'r Arglwydd yn nhîr y rhai byw.

Fy nghymmorth a'm gwaredudd ydwyt ti: fy Nuw na hîr drîg.

OCHE-

# OCHENEIDIAU BYRRION.

O ARGLWYDD, gan bwy y mae i mi geisio ymwared onid genniti, yr hwn am ein pechodau wyt yn gyfiawn yn ddigllon? Er hynny Arglwyd Dduw Sancteiddiaf, Arglwydd Galluoccaf, O Sanctaidd a thrugaroccaf Iachawdr, na ollwng fi i ddygyn chwerwaf boenau angeu tragywyddol.

Ti Arglwydd a adwaenost ddirgelion fy nghalon, na chaêa, dy glystiau trugarog oddiwrth fy ngweddíau, eithr arbed fi O Arglwydd Sanctéiddiaf, O Dduw galluoccaf, O Sanctaidd a thrugarog Iachawdr, Tydi deilyngaf Farn-ŵr tragywyddol, na ád fi yn yr awr ddiwaethaf er nebrhyw boenau angeu i syrthio oddiwrthit ti.

Fy nhâd, mi a bechais yn erbyn y Nêf, ac o'th flaen ditheu, ac mwyach nid wyf' deilwng i'm galw yn fâb i ti, etto O Arglwydd na fwrw ymmaith ymysgaroedd a thosturi Tâd, ond fal y tosturia Tâd wrth ei blant, felly trugarhá wrthif.

Arglwydd y mae Tywysog y Bŷd hwn yn dyfod, O na bydded iddo ddim ynofi, ond fel yr achwyno fo deleá ditheu; y mae ef yn rhoi llawer o bethau trymmion yn fy erbyn i, y rhai a ddichon efe yn rhŷ hawdd ei profi, nid oes gennifi ddim i ddywedyd trossof fy hun, atteb di drossof, O Arglwydd fy Nuw.

O Arglwydd, yr wyfi gwedi fy ngwifco a charpiau llygredig, ac y mae Satan yn fefyll ar fy neheulaw i'm gwrthwynebu i, rhynged fodd i ti ei geryddu fo, ac achub fi fel pentewin o'r tân, gwná i'm hanwireddau gilio oddiwrthif, a gwifca fi a chyfiawnder dy Fâb.

Wele, o Dduw, y mae 'r Cythrel yn dyfod tu ac attafi, a chantho Lid mawr, oblegid ei fod ef yn gwybod nad oes iddo ond amfer byrr; achub a gwared fi, rhag iddo deftrywio fy Enaid fel Llew, a'i rwygo ef pan na bo gwaredudd.

O fy Nuw, mi a wn na ddichon dim aflan fyned i mewn i'th deyrnas di, ac nid wyf fi ddim ond Llygredigaeth, y mae iè fy nghyfiawnder fel brattiau budron, Golch fi a gwnâ fi yn wynn yn gwaed yr Oen, fel y byddwyf deilwng i fefyll ger bron dy orfedd-faingc di.

O Arglwydd y màe maglau Angeu gwedi fy amgylchu, o na bydded i boenau Uffern fy 'ngoddiwes, ond er i mi gael trueni a gofid, etto yr wyf' yn attolwg i ti gwared fy Enaid.

O Wynfydedig Jefu, yr hwn a'm prynaift i a'th werthfawr waed dy hun: cleimia yr awrhon dy bwrcas, ac na âd i holl allu Uffern fy nhynnu i o'th law di.

O fendigedig Archoffeiriad, yr hwn a ddichon waredu i'r eithaf y fawl a ddeuant at Dduw trwot ti, achub fi, yr wyf' yn attolwg iti, yr hwn nid oes gennif obaith ond yn dy haeddedigaethau a'th gyfryngdod ti.

O Dduw

Cymmrodorion LIBRARY
61, Chancery Lane W C2

O Dduw yr wyfi 'n cyffessu ddarfod i mi lygru dy Ddelw di a argrephaist ti ar fy Enaid i, etto o tydi Greawdwr ffyddlon, trugarhâ wrth dy Greadur.

O Jesu, myfi a'th groeshoeliais di o newydd trwy fy amryw bechodau gresynol, etto tydi yr hwn a weddiaist tros dy Erlid-wŷr, eiriol trosso finnau hefyd, ac na ád, O fy mhrynwr, i'm henaid (prîs dy waed) golli.

O Yspryd grasusol, myfi a'th ddirmygais di trwy fy anwireddau echryslon, etto er darfod i mi, O Ddiddanydd Gwynfydedig, dy dristau di yn fynych, rhynged fodd i ti fy nghynnorthwyo a'm diddanu i, a dywedyd wrth fy Enaid i, myfi yw dy iechydwraeth.

Mae fy llygaid yn edrych attati, O Arglwydd, ynoti y mae fy ymddiried, na fwrw heibio fy Enaid i.

O Arglwydd, ynoti yr ymddiriedais, na 'm gwradwydder yn dragywydd.

O Fendigedig Arglwydd, yr hwn wyt yn fflangellu pob mâb a dderbynioch di, na âd i mi flino ar dy gerydd di, ond dyro i mi y cyfryw ymddarostyngiad perffaith i ti Tâd yr Yspryd ion, fal y bo'r gospedigaeth hon i'm bûdd i, ac fel y byddo 'i trwyddi hi yn gyfrannog o'th Sancteiddrwydd di.

O Tydi Capten fy Jechydwraeth, yr hwn a berffeithwyd trwy ddioddefaint, sancteiddia i mi holl benyd fy nghorph, a holl ddychryniadau fy meddwl a oddefi di i ddescyn arnafi.

O Arglwydd fe haeddodd fy mhechodau i boenau

boenau tragywyddol, gwná i mi ddioddef yn llawen ac yn ddiolchgar fy nghystuddiau presennol; cerydda fi yma fel y gwelych di yn dda, fel na 'm heuog-farner gyda 'r bŷd.

O Arglwydd, y dyfroedd a ddaethant hyd at fy Enaid, O bydded i'th Yspryd ti ymsymmud ar wyneb y dyofredd hyn, a gwná hwynt fel y Llynn o *Bethesda*, modd y gallont iachau pob-rhyw glefydau ysprydol a weli di ynofi.

O Crist yr hwn a ddioddefaist amryw boenau gresynol cyn myned i'th ogoniant, caniadhá i mi felly ddioddef gydá thydi, fel i'm gogoneddir hefyd gydá thi.

O Wynfydedig Jesu, yr hwn a'th ddarostyngaist dy hûn i angeu 'r Groes trossofi, bydded i'th farwolaeth honno bereiddio chwerwder fy eiddo i.

Pan orchfygaist holl nerth angeu, ti a agoraist deyrnas Nêf i bawb a gredant.

Yr wyfi yn credu mai tydi a ddaw yn farnwr arnaf.

Gan hynny yr wyfi'n attolwg i ti gynnorthwyo dy wâs, yr hwn a brynaist a'th werthfawr waed.

Pâr i mi gael fy nghyfrif gydá 'th Sainct yn y gogoniant tragywyddol.

Tydi yw 'r adgyfodiad a'r bywyd, pwy bynnag a gredo ynot ti, er iddo farw a fydd byw: O Arglwydd, yr wyfi yn credu, cymmorth fy anghrediniaeth.

Pallodd fy nghnawd a'm calon; ond nerth fy nghalon a'm rhan yw Duw yn dragywydd.

Yr wyfi 'n deisyf fy nattod, a bod gyda Christ,

Chriſt, yr hyn ſydd oreu dim: Arglwydd, yr wyfi yn ocheneidio gan ddeyſyf cael fy ngwiſco a'm tŷ yr hwn ſydd o'r Nêf.

Yr wyfi yn chwennych dioſc fy mhabell hon, o rhynged ſodd iti fy nerbyn i i drigfa tragywyddol.

Dŵg fy enaid i o garchar, fel y clodforwyf dy Enw.

Yr wyfi ymma O Arglwydd, i ymdrechu nid yn unig a chîg a gwaed, ond yn erbyn tywyſogaethau ac awdurdodau, a drygau Yſprydol, O gwared fi o bebyll *Cedar* yma, a dwg fi i *Gaerſalem* nefol lle y curir i lawr Satan tan fy nhraed.

Nid wyf fi abl yma i ddal ſulw ar dy waſanaeth di ûn munudyn heb draws-dynniad, O cymmer fi i fynu i ſefyll wrth dy Orſeddfaingc di, lle y bydd i mi dy waſanaethu di ddydd a nôs.

Yr wyfi ymma mewn trymder trwy amryw drallodau, O derbyn fi i'r lle hwnnw o orphywyſſa, lle y ſychir ymmaith yr holl ddagrau oddi wrth fy llygaid, a lle ni bydd dim marwolaeth mwy, na thriſtwch, na llefain, na phoen.

Yr wyfi ymma yn alltyd ac yn abſennol oddiwrth yr Arglwydd, O cymmer fi i'r lle y canfyddwyf dy wyneb yn dragywydd, ac y dilynwyf yr Oen pa le bynnag yr elo.

Myfi a ymdrechais ymdrech têg, mi a orphennais fy ngyrſa, ac a gedwais y ffydd, o hyn allan y rhoddwydd Coron Cyfiawnder i'w chadw i mi.

O Fendigedig Jesu yr hwn am ceraist i, ac am golchaist i oddiwrth fy mhechodau yn dy waed dy hûn derbyn fy Enaid i.

I'th dwylaw di yr wyf' yn gorchymyn fy Yspryd, canys tydi a'm prynaist i, o Arglwydd Dduw y gwirionedd. Tyred Arglwydd Jesu, tyred yn fuan.

---

A Prayer for the Kings Majesty, out of the *Liber Regalis*.

GOD the unspeakable Author of the World, Creator of Men, Governor of Empires, and Establisher of all Kingdoms, who out of the loins of our Father Abraham didst chuse a King that became the Saviour of all Kings and Nations of the Earth, Bless, we beseech thee, thy faithfull Servant, and our dread Sovereign Lord, King Charles, with the richest blessings of thy Grace. Establish him in the Throne of his Kingdome by thy mighty aid and protection; Visit him as thou didst visit Moses in the Bush, Joshua in the Battle, Gideon in the field, and Samuel in the Temple. Let the Dew of thine abundant mercies fall upon his head, and give him the blessing of David and Solomon. Be unto him an Helmet of Salvation against the face of his enemies, and a strong Tower of defence in the time of adversity. Let his Reign be prosperous and his days many. Let peace, and love, and holiness, let justice and truth, and all Christian vertues flourish in his time. Let his people serve him with honour and obedience: and let him so duly serve thee here on earth, that he may hereafter everlastingly reign with thee in Heaven, through Jesus Christ our Lord. Amen.

*GWEDDIAU*



## *GWEDDIAV* i'w harferu gan y rhai ſydd yn Galaru yn ddirgel am y *Trallodau Cyffredin*, &c.

Pſal. 74. *Pa ham Dduw i'n bwriaiſt heibio yn dragywydd, ac y myga dy ddigofaint yn erbyn defaid dy borfa?* &c.

Pſal. 79. *Y Cenhedloedd, O Dduw, a ddaethant i'th etifeddiaeth, halogaſant dy Deml Sanctaidd: a gwnaethant* Jeruſalem *yn garneddau*, &c.

Pſal. 80. *Gwrando, o fugail* Iſrael, *yr hwn wyt yn arwain* Joſeph *fel praidd: ymddiſcleiria yr hwn wyt yn eiſtedd ar y Cerubiaid*, &c.

### *Gweddi i'w harfer yn amſer Trallodau.*

O Arglwydd Dduw, i'r hwn y perthyn dial, yr wyf fi, yn gyſtal o'm plegid fy hun, ac o ran y Genhedl hon, yn chwennych cyfaddef yn oſtyngedic nad yw'r amryw flynyddoedd hyn o drallodau y buon ni yn ochencidio danynt ond tâl cyfiawn, iè ac eſmwyth

esmwyth am yr amryw flynyddoedd ychwaneg hynny y buon ni yn dy annog di i ddigofaint, ac nad yw dy ddigofaint presennol ond cospedigaeth ddyledus am gam-arferu dy drugareddau di. Yr oedd dy fendithion gynt, O Arglwydd, yn dra-helaeth tu ac attom ni uwchlaw holl bobl y ddaiar. Yr oedd dy ganwyll di yn goleuo ar ein pennau ni, ac yr oedden ni yn ymhyfrydu yn dy ddirfawr ddaioni di; yr oedd Heddwch o fewn ein rhagfuriau, a ffynniant yn ein Palassau; nid oedd dim tramgwydd, dim arwain i Gaethiwed, na chwynfan yn ein heolydd: ond nyni a droesom dy râs di i drythyllwch, ac a gam-arferasom ein heddwch i seguryd, ein ffynniant i loddest a gormodedd, ac a wnaethon i'r pethau daionus hynny y rhai a ddylasei nessau ein calonnau ni attat ti, fod yn achos o'i dieithro nhw oddiwrthit ti. Ië, O Arglwydd, ti a roddaist i ni etto drugareddau gwerthfawroccach, ti a welaist yn dda osod dy Babell gydá ni, sefydlu Eglwys bûr a gogoneddus yn ein mysg ni, a rhoddi i ni dy air i fod yn llusern i'n traed, ac yn llewyrch i'n llwybrau; ond ni wnaethon ni, O Arglwydd, ddim deunydd arall o'r llewyrch hwnnw, namyn i'n cyfarwyddo ein hunain i stafelloedd Angeu; nyni a ymfalchiasom, heb wrando ar dy Orchymynion di, a thrwy wrthryfela yn erbyn y goleuni, ni a ennillasom i ni ein hunain gyfran fwy yn y tywyllwch eithaf. Ac yr awrhon, O Arglwydd, pe buasei lifeiriant dy ddial di yn gyfattebol i'n pechodau ni, fe a'n scubesid ni ymmaith er ystalm a dinístr ddisymwth, ac ni buasei'r un o honon ni byw y dydd heddyw i erfyn dy drugaredd di. Ond yr

yr wyt ti yn Dduw graslawn, hwyrfrydig i ddigofaint, a thi a ymddygaist tu ac attom ni ac hir-ymaros ac ammynedd dirfawr, ti a anfonaist dy farnedigaethau i'n deffro ni i Edifeirwch, ac a ganniadheáist i ni ennyd i hynny: Ond och! nyni a drawsŵyrasom dy drugaredd hon tu hwnt i'r lleill i gyd, nid ydym ni yn dychwelyd at yr hwn sy' yn ein taro ni, nag yn ceisio 'r Arglwydd, yr ym ni yn cilio yn ól trwy ymadawiad gwastadol, nid oes neb yn edifarhau o'i anwiredd, nag yn dywedyd beth a wneuthum i? Gwir yw ein bod ni yn arswydo'r wialen (yr ym ni yn ofni pob rhyw ddioddefaint, yn gymmaint a'n bód ni yn barod i'w brynu ef allan ar pechod ffieiddiaf) ond nid ym ni ddim yn ofni yr hwn a'i hordeiniodd hi, eithr yr ydyn ni trwy ystyfnigrwydd gresynol yn caledu ein gwarrau i'th erbyn di, ac yn gwrthod dychwelyd. Yn awr, O Dduw, pa driacl sydd yn Gilead a ddichon ein iachau ni? y rhai pan synnit ti ein iachau ni, ni synnen mo'n hiachau; ni a wyddon i ti adrodd nad oes heddwch i'r annuwiol, a pha fodd gan hynny y gweddiwn ni am heddwch y rhai ydym etto yn ymdrobaeddu yn ein pechodau? Hyn, hyn, o Arglwydd, yw ein clefyd mwyaf ni, O dyro i ni feddiginiaethau i iachau'r clefyd hwn; iachá ein heneidiau ni, ac yna ni a wyddom y gelli di iachau ein Tir ni yn ebrwydd. Ti a leferaist, O Arglwydd, yn hir wrth ein clustiau ni trwy dy Air, wrth ein holl synhwyrau ni trwy dy farnedigaethau, ond oddieithr i ti draethu wrth ein calonnau ni trwy dy yspryd, ofer a fydd yr holl Alwedigaethau eraill. O anfon dy lef hon, a honno yn

lléf gadarn, yn gyfryw ac a ddichon ein deffro ni o'r hun-glwyf ymma : Tydi yr hwn a elwaist *Lazarus* allan o'r bédd, rhynged fodd iti ein galw ni y rhai ydym feirw, ié a gwedi braenu mewn pechodau ac anwiredd, a gwná i ni ddeffro i gyfiawnder. Ac er darfod, O Arglwydd, i'n hamryw wrthwynebiad o'r gwahoddiadau dirgel hynny, dy annog di yn gyfiawn i'n rhoddi ni i fynu i drachwantau ein calonnau ein hunain; etto O tydi annherfynol fôr o drugaredd, yr hwn wyt dda nid yn unic tu hwnt i'r hyn a ryglyddom ni, ond a allon ni ei ddymuno, na thynn ymmaith rinwedd dy râs, ac na chymer dy Yspryd glân oddiwrthym. Tydi a gafwyd gyn y rhai ni'th geisiasant, O dangos y cyfryw weithred o drugaredd tu ac attom ni y rhai ydym mor anobeithiol yn gláf, ac etto mor annheimladwy o'n clefyd na fedrwn ni cymmaint ac ymoralw am Bysygwr; a pho peryclaf a fo ein cyflwr ni, dôd ti feddiginiaethau o hynny fwy effeithiol. Arglwydd, cymmorth ni, ac nac edrych gymmeint ar ein haneilyngdod ni o'th gynnorthwy, ac ar ein llwyr adwyth ni o'i ddiffyg ef; achub, Arglwydd, neu fe ddarfu am danom yn dragywydd. Ir pwrpas hwn cyfranna i ni yn ein hachosion amserol yr hyn a siccrha yn oreu i ni ein pethau ysprydol; os gweli di fód yn rhaid wrth fesur mwy o Drueni oddiallan i feddiginiaethu ein annhymmer oddifewn, Arglwyd nac arbed dy Wialen, eithr taro ni etto yn dostach. Bwrw'r cythraul hwn allan, er trwy ddryllio a malu ewin. Ond os gweli di mai trugareddau a fydd tebyccaf i weithio gydá ni, o bid gwiw gennit ti cymmhelled gyttuno

a'n

a'n trueni ni a rhoddi i ni hynny; a pha un bynnag ai trwy dy foddion geirwon neu ledneis, dwg ni adref attat dy hun. Ac yna ni a wyddon, O Arglwydd, nad yw dy ddwylaw di gwedi llaesu nad elli di achub; gwedi i ti ein gwaredu ni oddiwrth ein pechodau, tydi a ddichon iè ac a'n gwared ni o'n cyfyngderau: O dangos i ni dy drugaredd, a chaniadhá i ni dy iechydwraeth, fal gwedi ein gwaredu yn ein cyrph a'n heneidiau, y gallon ni ymmhób un o'r ddau dy ogoneddu di, mewn ufudd-dod heinus, a moliannu Enw ein Duw, yr hwn a wnaeth mor rhyfeddol a nyni, trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

## *Gweddi tros yr Eglwys* hon.

O Arglwydd Dduw'r dial, yr hwn wyt yn troi tir ffrwythlon yn ddignydiol am anwiredd ei drigolion; ti a gwplheaist y farn resynol honno yn dra-chyfiawn ar yr Eglwys *hon*, yr hon gwedi bod unwaith yn berffeithrwydd Pryd-ferthwch, yn llawenydd yr holl ddaiar, sydd yr awrhon yn wawd ac yn watwargedd i bawb o'i chwmpas. O Arglwydd, beth a allesid ei wneuthur i'th winllan na wnaethost ti iddi hi? a chan na ddygodd hi ddim ond grawn gwylltion, y mae yn dra-chyfiawn i ti gymmeryd ymmaith ei chae hi, a'i gadael hi yn anialwch. Ond er bód ein hanwireddau ni, O Arglwydd, yn tystiolaethu i'n herbyn, etto gwná di er mwyn dy Enw, canys y mae ein camweddau ni yn aml, pechasom yn ddirfawr i'th erbyn. O tydi obaith Israel, a'i waredwr yn amser cyfyngder, paham y byddi di megis pereryn ar y ddaiar, ac fel ymdeithudd

deithudd yn troi i letteua am nofwaith? Paham y byddi megis gwr fynn, ac fel gwr cadarn heb allu achub? Etto yr wyt ti yn ein myfc ni, O Arglwydd, ac ni a elwir wrth dy Enw di, nag ymado a ni; dinoetha ni o'n mwyniant bydol fel y gwelych di yn dda, cymmer oddiwrthym achofion ein trythyllwch, ac fe all hynny fod yn drugaredd, ond na chymmer oddiwrthym foddion ein gwellháad, oblegid dena'r arwydd echryflonaf o'th ddigofaint. Ac er darfod i ni gafhau'r goleuni, O herwydd bod ein gweithredoedd yn ddrwg, etto, O Arglwydd, na ddifarna ni i rodio mwyach mewn tywyllwch trwy gymmeryd ymmaith y goleuni oddiwrthym, ond bydded iddo barhau i lewyrchu nes iddo gyfarwyddo ein traed ni i ffordd tangnheddyf. O Arglwydd, Cyfot, gwifc dy nerth, a thyred i'n hachub ni, ac na ddyro enaid dy durtur (*yr Eglwys refynol hon*) i gynnulleidfa y gelynion, ond cymmorth hi, O Dduw, a hynny yn dra-buan. Ond os darfu i'n gwrthryfelgarwch ni, O Arglwydd, dy annog di cymmhelled i ddigofaint, ac y bydd raid i'r *Arch gyrwydro yn yr anialwch, nes difa'r holl genhedlaeth wrwgnachus hon*, etto na ddarfydded am dani hi gydá ni, ond dwg *hi* o'r diwedd i *Ganaan*, a gâd i'n heppil dieuog ni weled yr hyn yn dy farn gyfiawn yr wyt yn ei neccau i ni. Yn y cyfamfer na pheidiwn ni ac wylofain am yr anrhaith a weithredodd ein pechodau ni, a meddwl am furiau [illegible], a thofturio ei gweled hi yn y llwch, ac na [illegible]byth arnon ni na chywilydd nac arfwyd ei chydnabod hi yn ei chyflwr truanaf a mwyaf erlidus, eithr cyfrif gwradwydd Crift yn fwy golud na thryfforau'r *Aipht*, a dangos felly ein

dianwadalwch

dianwadalwch i'n Mam ofidus hon, fal y bo i'w Harglwydd bendigedig hi a'i Phen ein cydnabod ninnau yn drugarog pan ddelo fo yn dy Ogoniant di ei Dâd gyda'r Angylion Sanctaidd. Caniadhá hyn, drugarog Arglwydd, er mwyn yr unrhyw Jesu Grist, *Amen.*

## *Gweddi am heddwch yr Eglwys.*

O Arglwydd Jesu Grist, yr hwn o'th hollalluogrwydd a wnaethost yr holl greaduriaid gweledig ac anweledig, yr hwn o'th ddwiol ddoethineb wyt yn llywodraethu ac yn gosod pób peth mewn trefn ragorol, yr hwn o'th ddaioni annrhaethadwy wyt yn cadw, yn amddiffyn ac yn gwellhau pób peth, yr hwn o'th anfeidrol drugaredd wyt yn atgyweirio'r llesc, yn adnewyddu'r lluddedig, ac yn cyfodi'r meirw; rhynged fodd i ti o'r diwedd, ni attolygwn i ti, edrych ar dy anwyl Briod, yr *Eglwys*, ar golygiad grasol a thrugarog hwnnw yr hwn sy'n tangnheddyfu pób peth yn y Néf a'r ddaiar, a pha beth bynnag sydd uwchlaw'r Néf, a than y ddaiar: bid yn wiw gennit ti edrych arnon ni a'r golygon tynner trosturiol hynny a'r rhai yr edrychaist ti unwaith ar *Petr*, Bugail mawr dy Eglwys, ac yn ebrwydd efe a atgofiodd ac a edifarháodd; ar golygon hynny yr edrychaist ti unwaith ar y lliaws gwascaredig, ac y tosturiaist ti wrthynt, ei bód yn cyrwydro o eisieu bugail da fal defaid ar wasgar ac ar gyfeiliorn. Ti a weli (o fugail da) pa amryw rywogaethau o fleiddiau a dorrasant i'n corlannau ni; yn gymmaint a pha bydde possibl y cyfeiliornei y rhai perffaith: Ti a weli a pha ryw wyntoedd, a pha ryw Donnau

a thymhestloedd y mae dy long wael di yn bwhwmman, dy lynges honno ymmha un y mae dy braidd bychan di mewn perigl o foddi. A pha beth sydd yn awr i'w ddisgwyl ond suddo o honi hi yn hollawl a darfod am danom ni oll? I'n hannuwioldeb a'n buchedd ddrwg ein hunain y mae i ni ddiolch am y dymmhestl a'r dersysg hon, yr ydyn ni yn dirnad hynny yn dda ac yn cydnabod, yr ym ni yn dirnad dy gyfiawnder di, ac yn ymofidio am ein hanghyfiawnder ein hunain: Ond yr ydym ni yn appelio at dy Drugaredd di yr hon sydd yn rhagori ar dy holl weithredoedd; ni a ddioddefasom yn awr lawer o gospedigaeth, gwedi ein fflangellu a chymmaint o Ryfeloedd, gwedi ein distriwio a'r cyfryw golledion o'n da, gwedi ein maeddu a chymmaint o lifeiriant, ac etto nid oes yr un Porthladd na noddfa yn ymddangos i ni, a ni yn flin ac yn lluddedig ynghanol y cyfryw ddrygau thyseddol, ond yr ym ni bob dydd etto yn ofni fod cospedigaethau tostach yn crogi uwch ein pennau ni. Nid ym ni, O Jachawdwr grasusol, yn cwyno am dy greulonder di, ond yr ym ni yn hytrach hefyd yn dirnad dy Drugaredd di, yn gymmaint a darfod i ni haeddu plâu tostach o lawer. Ond yr ym ni yn erfyn arnat ti, O Jesu drugarroccaf, na ystyriech di ac na phwysech di beth sydd ddyledus yn ôl ein haeddiant, ond yn hyttrach beth a weddai i'th Drugaredd di heb ba un ni ddichon yr Angylion o'r Nef ychwaith sefyll yn ddisigl o'th flaen di; llai o lawer y gallwn ni y rhai ym lestri gwael o bridd. Trugarha wrthym, O Achubwr, yr hwn wyt hawdd i'th erfyn, nid o ran ein bod ni yn deilwng o'th Drugaredd, ond bod ti y Gogoniant hwn

i'th Enw dy hun. Nac ad i'r rhai naill ai nid ydynt yn dy adnabod ti, neu sydd yn cenfigennu dy ogoniant, ymorfoleddu yn wastad arnom ni, a dywedyd, P'le y mae ei Duw hwynt, p'le y mae ei Gwaredwr, pa le y mae ei Hiachawdr, p'le y mae ei Priodfab y maent hwy yn ymffrostio cymmaint o hono? Y mae'r geiriau gwradwyddus hyn yn cyfeirio attat ti. O Arglwydd, trâ bo dynion yn meddwl am ac yn rhoi brains ar dy ddaioni di wrth ein drygau ni, y maent yn tybied ein bod ni wedi ein gwrthod oblegid ni welant ni yn gwellhau. Unwaith pan gyscaist yn y llong, a phan gododd tymmhestl ddisymmwth yn bygwth marwolaeth i bawb yn y llong, ti a ddeffroaist ar groch-lefain *ychydig ddiscyblion*, ac yn ebrwydd ar dy oll-alluog air fe dreiodd y dyfroedd, fe ostegodd y Gwyntoedd, a'r dymmestl yn ddisymmwth a drowyd yn dawelwch mawr, y dyfroedd mudion a adnabuant lais ei Creawdr. Yn awr yn y dymmhestl fawr hon, ymma un nid oes yn unic llawer o gyrph, ond aneirif o Eneidiau dynion hefyd mewn perigl, yr ym ni yn attolwg i ti ar groch-lefain dy Sanctaidd Eglwys, yr hon sydd mewn perigl o foddi, deffro o honot. Llawer miloedd o ddynion sydd yn gwaeddi, achub, Arglwydd, neu fe a ddarfu am danom, y mae'r dymmhestl tu hwnt i allu dŷn; dy air di sydd raid wneuthur y gwaith, Arglwydd Jesu, dywed yn unic a gair o'th enau, *Distawa, O demmestl*, ac yn ebrwydd fe ymddengys y *tawelwch* dymunol. Ti a fynnesit waredu cynnifer o filoedd o ddynion tra-phechadurus, os ceid ond deng-wr duwiol yn Ninas Sodoma: yn awr y mae ymma amryw filoedd o ddynion sy'n caru gogoniant dy

Enw, ac sy'n ocheneidio am brydferthwch dy dŷ, ac oni roddi di heibio dy ddigllonrwydd ar weddiau y rhai hyn, a chofio dy hên arferol drugareddau? Oni throi di ein hynfydrwydd ni trwy dy ddoethineb nefol i'th ogoniant dy hun? Oni throi di ddrygioni dynion anwir i ddaioni dy Eglwys? Obiegid y Pryd hynny y bydd dy Drugaredd di fwyaf arferol o gynnorthwyo, pan fo'r peth gyda nyni tu hwnt i bób Diwygiad, a phan na ddichon na Gallu na Doethineb dynion ei helpu ef. Tydi yn unic wyt yn dwyn pethau a fo ymmhell iawn allan o drefn i drefn drachefn, ac wyt yn unic Awdur a chynnaliwr Tangnheddyf. Tydi a ffurfiaist yr hên annrhefn honno lle yr oedd anghydsyniol hadau pethau heb ffurf na llun yn gorwedd yn annhrefnus, a thrwy drefn ryfeddol a gyssylltaist mewn rhwymyn ddidorr y pethau trwy natur oeddynt yn ymrafaelio a'i gilydd. Ond pa faint mwy Annhrefn yw hon, lle nid oes dim caredigrwydd, dim ffyddlondeb, dim rhwymau cariad, dim Parch nag o Gyfreithiau nag o Lywodraeth-wŷr ychwaith, dim cyd-syniad meddyliau, ond pób dŷn, megis mewn Côr annhrefnus, yn canu amrafael byngciau! Nid oes dim anghyssondeb ymyig y Planedau Nefol, y mae'r Elementau yn cadw ei lle, pób un yn gwneuthur y swydd a ordeinwyd iddo: Ac a oddefi di i'th Briodferch, er mwyn pa un y gwnaethpwyd pób peth, fal hyn ymanrheithio trwy anghyttundeb gwaliadol? A oddefi di i'r *Ysprydion drwg*, y rhai ydynt wneuthur-wŷr ymryson, lywodraethu fal hyn yn dy Deyrnas yn ddigerydd? A oddefi di i gadarn Gapten drygioni, yr hwn a orchfygaist ti unwaith, etto oresgyn dy Wersyllau, ac

anrheithio

anrheithio dy Eglwys? Pan oeddit ti ymma yn
dy [illegible]'r ymarweddiad ymmysg dynion, ar dy air
di [illegible] y cythreuliaid. Anfon allan, ni
atolygwn iti, dy Yspryd, yr hwn a ddichon
fwrw allan o galonnau y rhai oll sy'n cyffessu
dy Enw di yr Yspydion drwg, meistraid try-
thyll wch, cybydd-dra, gwag-ogoniant, trach-
want cnawdol, drygioni ac amryfusedd. Crea
ynom ni, O ein Duw a'n Brenin, galon lân, ac
adnewydda dy Yspryd Sanctaidd o'n mewn, ac
na chymmer dy Yspryd glân oddiwrthym. Dod
i ni etto lawenydd dy iechydwriaeth, ac a'th
Yspryd arbennig cadarnhá dy Briod-ferch a'r
Bugeiliaid. Trwy'r Yspryd hwn y cymmodaist
ti bethau daiarol a phethau nefol; Trwy hwn
y ffurfiaist ti, ac yr ailddychwelaist ti cynnifer o
Jeithoedd, o Genhedloedd, a chynnifer o rywo-
gaethau o ddynion i un Corph *Eglwys*, yr hwn
gorph trwy'r unrhyw Yspryd a gyssylltir a thydi
ei Ben. Os rhynga fodd i ti adnewyddu'r Ys-
pryd hwn ynghalonnau pawb, yna y derfydd
am yr holl trueni dieithrol hyn, ac onid ê, nhw
a ddychwelant i fudd a llés y rhai a'th garant
di. Attal yr annhrefn hon, gosod y dyfysgi
echryslon hon mewn trefn (O Arglwydd Jesu)
ymsymmed dy Yspryd ti ar y Dyfroedd hyn o
feddyliau drwg trofáus. Ac oblegid fod gan
dy Yspryd ti, yr hwn (fal y dywed y Proph-
wyd) sydd yn cynnwys pób peth, gyfarwyddid
ymadrodd hefyd; gwná, megys ac i mae i bawb
o'th deulu di un goleuni, un Bedydd, un Duw,
un Gobaith, un Yspryd, felly fod ganddynt he-
fyd un Llais, un Pwngc, un Gân, yn cydnabod
un gwirionedd gyffredinol. Pan ddyrchefaist yn
fuddugoliaethus i'r Nefoedd, ti a fwriaist i lawr

oddi uchod dy bethau gwerthfawr, ti a roddaiſt roddion i ddynion, ti a ddoſparthaiſt amryw wobrau dy Yſpryd. Adnewydda oddiuchod dy hên gymmwynaſgarwch, a dyro'r un peth i'th *Eglwys*, a hi yn awr yn llesgau ac yn gogwyddo i lawr, ac a roddaiſt ti iddi hi pan oedd hi yn blaen-darddu ar ei dechreuad. Dyro râs i *Dywyſogion* a llywiawd-wyr felly i'th ofn di, fal y bo iddynt hwy lywodraethu y Wladwriaeth, megis rhai ſydd raid iddynt ar fyrder roddi cyfrif i ti yr hwn wyt Frenin y Brenhinoedd. Cynnorthwya hwynt yn waſtad a doethineb, fal y bo iddynt ddirnad yn ei meddwl, a dilyn yn ei gweithredoedd y peth ſydd oreu i'w wneuthur. Dyro i'r Eſgobion y dawn o brophwydoliaeth, fal y bo iddynt yſpyſu a deongli'r Scrythur lân, nid o'i ſynwyr ei hunain, ond o'th yſprydoliaeth di. Dyro iddynt y Cariad tairdyblig hwnnw y buoſt ti unwaith yn ei ofyn gan *Petr*, pan oeddit ti yn gorchymyn iddo ymgeledd dy braidd. Dyro i'r *Offeiriaid* garu ſobrwydd a Diweirdeb. Dyro i'th *bobl* ewyllys hylaw i ddilyn dy Orchymynion di, a pharodrwydd i ufuddhau'r cyfryw rai ac a ordeiniaiſt ti troſtynt. Felly y digwydd, os bydd i'th *Dywyſogion* trwy dy Râd ti orchymyn yr hyn yr wyt ti yn ei ofyn, i'th *Fugeiliaid* ddyſcu'r unrhyw, ac i'th bobl ufuddhau pôb un o honynt, y dychwel drachefn hên Urddas, a llonyddwch yr Eglwys mewn trefn ragorol i ogoniant dy Enw. Ti a arbedaiſt y *Ninifeaid* a ordeinwyd i ddiniſtr cyn gynted ac y dychwelaſant attat ti trwy Edifeirwch; ac a ddirmygu di dy Dŷ ſydd yn ſyrthio i lawr wrth dy draed ti, yr hwn yn lle ſach-liain ſydd gantho Ocheneidiau, a dagrau

rau yn lle lludw. Tydi a addewaist faddeuant i'r sawl a ddychwelent attat ti, ond dy Ddawn di yw'r peth hyn, sef dychwelyd o ddŷn a'i holl galon attat ti, er mwyn i'n holl ddaioni ni droi i'th ogoniant di. Tydi yw'r *Creawdr*, atgyweiria'r gwaith a luniaist ti. Tydi yw'r *Gwared-wr*, achub yr hyn a brynaist ti. Tydi yw'r *Iachawdr*, na ád iddynt hwy fod yn golledig y rhai sy'n ymddiried ynot ti. Tydi yw'r *Arglwydd* a'r Perchennog-wr, cleimia dy feddiant. Tydi yw'r *Pen*, cynnorthwya dy aelodau. Tydi yw'r *Brenin*, gwna i ni berchi dy Gyfreithiau di. Tydi yw'r *Tywysog Tangnheddyf*, anadla arnon ni gariad brawdol. Tydy yw y *Duw*, trugarhá wrth dy ciriol-wyr gostyngedic; bydd di yn ól ymadrodd S. *Paul*, bób peth ym mhawb, er mwyn bod i holl Gôr dy Eglwys di ac un meddwl ac ag un lleferydd roddi diolch am y drugaredd a dderbyniasant, i'r Tâd, i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân, y rhai yn ól yr Esampl berffeithiaf o gyfundeb a wahanredir ym mhriodoldeb Personau, ac un mewn natur, i'r hwn y bo'r Moliant a'r gogoniant yn dragywyddol. *AMEN.*

---

# TERFYN.

---

Imprimatur,

April 30th 1670.

Rob. Grove R. P. D^no^ Lond. a sac. Dom.

# *ERRATA.*

PAg. 2. l. 28. *darllen*, y rhai. p. 4. l. 2. at. p. 6. l. 17. tarddu. p. 9. l. 5. ryfyg ffôl. p. 10. l. 31. nuwioled. p. 12. l. 4. gwnawn i yr. p. 13. l. 11. fo ddywed. p. 22. l. 14. ein. p. 46. l. 16. o'n. p. 47. l. 29. yn oesta. p. 50. l. 6. yn ab. p. 61. l. 25. rhai a. p. 65. l. 18. 'r Scrythur. p. 67. l. 6. i'n. 14. barhaus. p. 68. l. 6. a rhyw. p. 70. l. 21. beth fydd. p. 79. l. 9. farwyddyd. p. 81. l. 1. egni hyn. p. 91. l. 1. o fath. l. 4. o bob un. p. 106. l. 5. dirfawr. p. 107. l. 5. i farnu. p. 108. l. 15. o'r un o'r. p. 110. l. 8. teifi. p. 117. l. 5. yn gystal. p. 137. l. 9. a bod. p. 148. l. 30. ydyni. p. 200. l. 33. wir y neb. p. 205. l. 29. ddywedyd. p. 241. l. 8. hyn ei. p. 245. l. 23. felly y. p. 248. l. 17. wneuthur. p. 278. l. 17. *dele* yn. p. 305. l. 34. llaryaidd. p. 320. l. 28. i ryw. p. 359. l. 7. i'n cyfaill. p. 376. l. 2. ac at. p. 398. l. 8, 9. fydd yn rhesymol iawn. p. 408. l. 13. ddaiar.

Pag. 425. l. 30. briodoldeb. p. 461. CAMDYST. p. 463. l. 24. Ymddygiad. p. 477. l. 3. ac i. p. 480. l. 16. yn rhy. p. 490. l. 29, ond.

---

**Sold by *R. Royston.***

***Christian Consolation in times of Affliction.***

***Derived from five heads in Religion,***

| | |
|---|---|
| I. Faith, | IV. Prayer, |
| II. Hope, | V. The Sacraments. |
| III. The Holy Spirit, | |

*Written by the Reverend Father in God,* John Hacket, *late Lord Bishop of* Lichfield *and* Coventry, *Chaplain to King* Charles *the* I. *and* II. *in* 8o. New. Price 1. sh.

LLYFRGELL GENEDLAETHOL CYMRU

Cymmrodorion LIBRARY

61, Chancery Lane W C2